# GWEITHIAU LLENYDDOL

# GOLEUFRYN.

(DETHOLION).

GYDA

## NODIADAU COFFAOL AM DANO.

DAN OLYGIAETH

ALAFON.

CAERNARFON:

CYHOEDDWYD GAN EI BRIOD, CATHERINE JONES.

1904.

# RHAGLITH.

---

GYDA phleser mawr, ond pleser yn cael ei brudd-hau gan y cof nad yw Goleufryn yma'n fyw, y cyflwynir y llyfr hwn i gyrhaedd darllenwyr Cymru. Y weddw hiraethus sydd, wrth gwrs, yn teimlo y dyddordeb mwyaf yn hyn; a hi sydd yn ymgymeryd, o edmygedd a chariad pur, â chyfrifoldeb yr anturiaeth. Yn nesaf ati hi yn ddïau, y mae yn ddyledus crybwyll enw y Parch. David O'Brien Owen, un o gyfeillion pennaf Goleufryn trwy flynyddoedd lawer, yr hwn a wnaeth restr gyflawn o'i ysgrifeniadau lluosog, ac a rwymodd ynghyd y rhan fwyaf o honynt yn ddau lyfr hardd; a'r hwn hefyd sydd wedi cynorthwyo yn helaeth gyda dwyn y llyfr hwn allan.

Anhawsder mwyaf y trefnydd ar gynnwys y llyfr oedd penderfynu pa bethau i'w gadael allan, gan gymaint yw nifer y pethau rhagorol a ysgrifennodd yr awdwr, a chan mor faith ydyw rhai o'r ysgrifau. Yr hyn yr amcanwyd ei wneuthur oedd, dodi i mewn y pethau mwyaf parhaol eu dyddordeb, a mwyaf nodweddiadol o Goleufryn yng ngwahanol dymherau ei feddwl. Fe fwriedid ar y cyntaf dodi i mewn ddwy engraifft neu dair o'i ysgrifeniadau mwyaf boreuol, ond fe gafwyd fod maint y llyfr, a gwerth mwy ysgrifau eraill, yn rhwystro hynny. Ac oherwydd cyfyngiad y terfynau bu raid, er gofid, gadael allan rannau o rai o'r ysgrifau a geir yn y llyfr.

Pwnc lled anhawdd ei benderfynu a fu, Pa un ai dodi i mewn ai gadael allan yr ysgrifau dawnus ar "Philistiaeth yng Nghymru" a fyddai oreu. Fe wyddid mai gwell gan rai yn y wlad—yn eu plith ambell un o brif edmygwyr Goleufryn—a fuasai i ni eu gadael allan; ond fe gesglid mai fel arall y buasai y mwyafrif mawr o'i edmygwyr yn teimlo—pe dim ond oherwydd arddull yr ysgrifau. Y penderfyniad y daethpwyd iddo oedd, dodi i mewn rannau o honynt. Yn awr, gan hynny, dyma ddatguddio ar y ffaith ddyddorol mai Goleufryn oedd y *great unknown* "Siluriad." Ynddynt hwy a'r ysgrif ar "Gymanfa Fawr Antiochia" (nid amgen Caerdydd) fe geir mantais i weled dull o ysgrifennu ag yr ymddigrifai y cyfaill ymadawedig ynddo weithiau, a dull ag yr oedd efe yn feistr nodedig arno.

Yn hytrach na gofyn i neb ysgrifennu cofiant o newydd iddo ar gyfer y llyfr, fe benderfynwyd gwneyd detholiad o'r sylwadau coffaol a ysgrifennwyd gan amryw o'i gydnabyddion yn fuan ar ol ei ymadawiad.

Wrth feddwl am ddawn a gallu Goleufryn fel llenor, am bereidd-dra a gwerth y pethau a ysgrifennodd, am edmygedd darllenwyr Cymreig o hono, ac am chwaeth dda llawer o Gymry sydd eto yn darllen llyfrau, nis ofnir ddim wrth anfon y Detholion Llenyddol hyn allan.

ALAFON.

*Hydref, 1904.*

# CYNNWYSIAD.

---

# Gweithiau Eraill Goleufryn.

---

*Gweddiau Boreu a Hwyr.* Am wythnos.—Gwel "Yr Allor Deuluaidd," T. Gee a'i Fab, 1892.—Gwel "Gweddio a Gweddiau," Davies and Evans, Bala, 1899.

*Dr. John Parry, Bala.* Ysgrif arno.—Gwel "Yn Llefaru eto," Davies and Evans, Bala. Hefyd yn "Y Gwyddoniadur."

*Esboniad ar Lyfr y Barnwyr.*—Dau argraphiad.

*Esboniad ar Esaiah o'r XXIII. Pen. i'r diwedd.*—Gwel "Beibl y Teulu," T. Gee a'i Fab.

*Cibroth Hattaafah.*—Llyfr gyhoeddwyd gan W. Gwenlyn Evans, Caernarfon.

*Daiareg.* Ysgrifau ar.—Gwel "Y Cylchgrawn," 1866. Tudalenau: 196, 234, 261, 306, 338, 381, 411.

*Dylanwad Egwyddorion Anffyddol, &c.*—Gwel "Y Cylchgrawn," 1867, t.d., 95, 303, 375.

*Y Fugeiliaeth Eglwysig.* Traethawd ar.—Gwel "Y Cylchgrawn," Rhagfyr, 1868, t.d. 401.

*Nodweddion Gwahaniaethol Cristionogaeth.*—Gwel "Y Cylchgrawn," 1869.

*Diaconesau.*—Gwel "Y Cylchgrawn," 1869.

*Rhagdraeth i Gofiant y Parch. J. Pritchard, Amlwch.*—Cyhoeddedig gan y Wasg Genedlaethol. 1897.

*Dr. David Saunders.* Ysgrif arno.—Gwel "Y Gwyddoniadur," 1895.

*Pregethau y Parch. Rowland Hughes.* Adolygiad.—Gwel "Yr Eurgrawn."

*Dylanwad Esiampl*—"Yr Herald," Mai 16eg, 1863.

*Cofgolofn y Weddw.*—"Yr Herald," Mehefin 20, 1863.

*Llyfr i ddysgu'r Wyddor neu Egwyddorydd Cyflym i ddysgu darllen Cymraeg.*—Llanrwst, 1876.

*Tystiolaeth Natur i'n Geiriau a'n Gweithredoedd.*—"Yr Athraw a'r Ymwelydd," Mai, 1864.

*Robyn Tecwyn Meirion.*—"Y Geninen."

*Achsah y Ferch Newydd.*—"Y Teulu," Treffynon.

*Angeu ac Angladd y Meddwyn.*—"Y Dyngarwr."

*Pennod a Blwyddyn.*—"Y Drysorfa," Ionawr 1895.

*Disraeli, Iarll Beaconsfield.*—"Y Traethodydd," Hyd. 1879, Ion. 1880.

## Erthyglau Arweiniol i Newyddiaduron.

### *Y Genedl Gymreig.*

Dr. Morgan a Wycliffe. Ebrill, 1878.
Wythnos yr Oraclau. Mai 9fed, 1878.
Yr Iarll a'r Ymerawdwr. Mai 23ain, 1878.
Duc Westminster a'i yni. Mehefin, 1878.
Y Meistr a'r Gweithiwr. Mehefin, 1878.
A ydyw Lleyn felly? Gorphenaf, 1878.
Angau yn rhoddi tocynau. Medi 1af, 1878.
Tancred ac O. Meredith. Medi 1af, 1878.
Robert Law a'i *Imperialism.*
Ein tir a'i bobl.
"Llythyrau." "Llythyrau."
Jack Lantern y Ffermwyr.
Y ddau Dŷ o Senedd. Ionawr, 1879.
Y Cyfwng yn Ffraingc.
Edifeirwch y Crogbren. Chwef. 22ain, 1879.
Pwy ydyw Heddgeidwaid y Byd?
Yr Amaethwyr yn ysgogi.
Cymanfa Caergybi. Ebrill 9fed, 1879.
Y Rhyfel a'r Zuluaid, &c. Mai 1af, 1879.
Dialedd yr Iuddew.
Moses a'r Epäod.
Cyflafan y Beirdd a Chyflafan y Colegau.
Defosiwn mewn Addoli.
Yr olaf o'r Oraclau Toriaidd.
"Priodi a rhoi i briodas."
Pa genedl sydd i'r gair Canrif? At Andronicus.
Yr Ymgyrch Etholiadol yng Nghymru.
Yr Yswain o Hughenden yn y niwl.
Syr Wm. Harcourt yn Lancashire, &c.
Oddiar yr Wylfa.
Araeth Iarll Beaconsfield.
Ar drothwy deng mlynedd arall o'r ganrif
Ruskin a'r Clerigwyr.
Gair at Etholwyr Liverpool.

### *Yr Herald Cymraeg.*

Hanes Seryddiaeth a'i Chewri.—"Galileo," &c.. 1863—4.
Ffeiriau Cymru.—Traethawd buddugol.

*Baner ac Amserau Cymru.*

Undeb ynte Unffurfiaeth?
Y Parch. J. R. Hughes, Môn. Ysgrif arno. Ion. 26, 1894.
Pregethau Islwyn Adolygiad.
Islwyn. 1896.

*Yr Amseroedd.*

Nid Oriel na Chrogbren.
Memrwn yr Esgob Samuel.
Ysgrepan y Curad.
Y prenau yn ymofyn brenhin.
Cwacyddiaeth.
Rhywun o rywle—Pregethu Teithiol.
Tir wedi ei gyssegru. Pa beth ydyw?
Y Deon ar Daith.
Cronfa yn Suddo. Y Methodistiaid a'u dyled.
Anerchiad Dr. Fairbairn.
Safle yn y Cyfundeb, &c.
Boycottio'r Pab.
Y Dathliad yn Birmingham. John Bright.
"Pa le bynag y byddo y gelain yno yr ymgasgl yr eryrod"
Y Pab a'r Weriniaeth Ffrengig.

*Y Goleuad.*

Y Tystebau.
Dadleuon y Terfynau.
Y Wyddfa ac Ysbryd y Tadau.
Adolygiad ar "Peryglon a Gobeithion y Cyfundeb."
Cynghor Rhad.
"Strikes" yn y Cyfundeb.
Y Cerryg a'r Bibl.
Pleserau amheus.
Ieithyddiaeth. 1869—1870.

---

## Darlithiau.

Prydain Fawr yn y ganrif hon—y 19eg.—China.—Yr Aipht a Chanaan.—America.—Affrica.—Armenia.—Taith i'r Eidal.—Vavasor Powell.

# Nodiadau Coffaol.

---

## I.

### Gan MR. EVAN WILLIAMS, LLANFROTHEN.

*(Yntau hefyd bellach wedi myned at y llu mawr tu hwnt i'r llen).*

NID wyf yn honni ond un cymhwysder i ysgrifennu y nodiadau hyn am Goleufryn, sef fy mod wedi fy magu mewn dwy ergyd carreg iddo, ac wedi bod lawer yn ei gymdeithas am y deng mlynedd a'r hugain cyntaf o'i oes.

Ganwyd ef yn Ty Isaf, yn ymyl eglwys blwyfol Llanfrothen, ym Mai, 1840. Enw ei dad oedd Richard Jones, gŵr o alluoedd naturiol cryfion, ond a fu farw pan nad oedd ei unig fachgen ond chwech wythnos oed. Efe fyddai yn dechreu y canu yn Siloam. Yr oedd ei fam, Ann Jones, yn chwaer i Robin Tecwyn Meirion, bardd tlws a phur adnabyddus yn ei amser. Gwelir felly ei fod yn hannu o deulu athrylithgar o'r ddwy ochr.

Yn lled fuan wedi marwolaeth ei phriod, aeth ei fam i gadw ty'r capel, Tanygrisiau, Ffestiniog, gan adael ei bachgen bychan i ofal ei ewythr, brawd ei dad, John Williams, Bryngoleu, blaenor o radd dda a phur adnabyddus yng Ngorllewin Meirionnydd. Ymhen tua phum'

mlynedd y mae ei fam yn ymfudo i'r America gyda'i dwy eneth fechan, hŷn nag ef, ac yn ei adael ef yng ngofal ei ewythr. Diau y gwyddai ei fam yn dda y cawsai pob chwareu teg gan ei ewythr a'i nain,—Sian Jones, coffa da am dani,—cyn y buasai yn meddwl ei adael ar ol; ac felly yn sicr y bu. Cafodd gartref rhagorol gan Sion William a Sian Jones, ac y mae yn bur sicr na fuasai yn dod i'r safle y daeth oni bai am ddylanwad ei gartref. Cafodd ddigon o bethau y byd hwn heb fawr o'i foethau; ond cafodd beth gwell, cafodd esiampl ac addysg grefyddol ragorol. Yr oedd ganddo feddwl uchel iawn o'i ewythr ar hyd ei oes, ac anaml y bu neb yn fwy hoff o'i dad nag ydoedd ef o'i ewythr; a darfu iddo ymddwyn yn anrhydeddus ato wedi iddo fyned i henaint a llesgedd.

Saer coed oedd ei ewythr, a dysgodd yntau yr un alwedigaeth, a chydag ef y bu nes yr oedd tuag ugain oed. Ond clywais ef yn dweyd na roddodd ei fryd ar ddysgu y gwaith, ac na feddyliodd am ddilyn y gwaith ar hyd ei oes. Modd bynnag, bu yn dilyn y gwaith yma nes yr oedd yn bump ar hugain oed, ac yr wyf yn gwybod am lawer o ddodrefn o'i waith mewn gwahanol fannau yn yr ardal. Tua'r flwyddyn 1861 aeth i Borthmadog i weithio at Meistri J. H. Williams a'i feibion, a bu yno am rai blynyddau. Yma y dechreuodd ei duedd lenyddol ymddadblygu. Yr oedd wedi darllen pob llyfr y caffai afael arno cyn gadael cartref. Darllennai yn ddidor bob hamdden a gaffai, a pharhaodd felly ar hyd ei oes. Anaml y gwelid ef yn bwyta pryd o fwyd heb lyfr yn ei law. Tra yn aros ym Mhorthmadog cyfansoddodd amryw draethodau, a byddai yn fuddugol bron bob amser. Un o honynt oedd ar "Ffeiriau Cymru," yr hwn a ymddanghosodd yn benodau yn yr *Herald Cymraeg*. Cyhoeddwyd traethawd arall iddo, nad wyf yn cofio y testyn, yn y *Cylchgrawn*, cyhoeddiad misol yn dod allan yn y Dehau, o dan olygiad Edward Mathews. Clywais ei fod ef a phregethwr arall, sydd yn fyw, yn gydymgeiswyr ar draethawd ym Mhorthmadog, ac mai

John Owen Ty'n Llwyn oedd y beirniad. Cydmarai Mr. Owen y ddau ymgeisydd, neu y ddau gyfansoddiad, i ddwy long yn dod i mewn i'r porthladd, un yn llestr brydferth anghyffredin, ac yn ei llawn hwyliau, a'r llall yn rhyw *smack* bur ddiolwg, ond fod llwyth yr olaf bron mor werthfawr a'r gyntaf. Prin y mae eisieu dweyd pa un o'r ddau oedd Goleufryn. Onid oedd tlysni yn un o nodweddion amlycaf ei feddwl? Yr oedd yn llenor gwych a phur adnabyddus cyn dechreu pregethu, ac yn fwy enwog fel llenor nag fel pregethwr am y rhan gyntaf o'i fywyd cyhoeddus, os nad felly ar hyd ei oes.

Ym Mhorthmadog y dechreuodd bregethu, yn y flwyddyn 1865. Nis gwn paham y bu iddo ddechreu ym Mhorthmadog yn hytrach nag yn Llanfrothen. Mae yn wir mai yn y lle cyntaf y trigiannai yn awr er's ysbaid, ond byddai yn dyfod adref yn lled aml i dreulio y Saboth gyda'i ewythr, a gallasai gael dechreu yn Llanfrothen mor rwydded ag yn y Port. Modd bynnag, ym Mhorthmadog y dechreuodd, ac aelod o Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionnydd fu nes y symudodd i Lanrwst. Ond bu ei gyfeillion yn Llanfrothen yn bur garedig wrtho. Rhoddasant anrheg o yn agos i ddeg punt iddo, pan oedd yn y Bala. Mae hanes yr anrheg yma i'w weled yn *Y Drysorfa* am Tachwedd, 1868, a themtir fi i'w roddi i mewn yma. Dyma'r hanes,—

"SILOAM, LLANFROTHEN,—ANRHEG I BREGETHWR IEUANC.

"Yng nghanol ein trafferth gydag adeiladu addoldai prydferth, y fugeiliaeth, a phethau da ereill, mae yn berygl i ni ollwng dros gof ein dynion ieuainc sydd wedi ymaflyd yn y weinidogaeth, a pheidio darparu ar eu cyfer pan yn ymdrechu cyrraedd gwybodaeth ac addysg trwy lawer o anfanteision. Yr ydym yn credu y dylai eglwysi ein gwlad gymeryd mwy o sylw o hyn. Mae yn ddiameu fod llawer o fechgyn ieuainc talentog wedi dioddef llawer o dlodi tra yn yr athrofa, ac wedi gorfod pryderu llawer, yr hyn oedd yn rhwystr iddynt fyned ymlaen gyda'u haddysg. Ond y mae yn dda gennym weled rhai eglwysi yn cymeryd sylw o hyn, ac yn gweithredu yn sylweddol—fel y gwnaeth eglwys weithgar Llanfrothen y tro hwn. Gwrthrych yr anrheg hon oedd Mr. W. R. Jones *(Goleufryn)*, sydd yn

Athrofa'r Bala bellach er's dwy flynedd; ac, yn ol fel yr ydym yn clywed, yn dyfod ymlaen yn rhagorol yno. Dechreuodd bregethu ym Mhorthmadog, oherwydd mai yno yr oedd yn aros er's rhai blynyddau. Ond yr oedd eglwys Llanfrothen yn teimlo mai un o'i phlant hi ydoedd; ac yr oeddynt yn teimlo mai eu dyledswydd oedd gwneuthur rhyw arwydd sylweddol o'u parch a'u hanwyldeb tuag ato yn ei ymdrech am addysg barotoadol i'r weinidogaeth. Felly penderfynwyd rhoddi cyfleusdra i bob gŵr ewyllysgar ei galon i fwrw yr hyn a allent i'r drysorfa hon; ac y mae yn hyfryd gennym hysbysu fod y cynnyrch tua deg punt. Deallwn i eglwys Porthmadog (Tabernacl) wneuthur anrheg gyffelyb iddo pan oedd yn dechreu pregethu. Nid oes gennym ond dymuno ei lwyddiant."

Ym Mehefin y flwyddyn hon, sef 1865, aeth i ysgol Clynnog, yr hon a gedwid y pryd hynny gan yr anwyl Dewi Arfon, a bu yno am flwyddyn, sef hyd Mehefin, 1866. Wele ran o lythyr a anfonodd yn lled fuan wedi iddo fyned yno.

"Grammar School, Clynnog,

"Gorff. 7, 1866.

"Anwyl Gyfaill,—Wele fi ar ol maith ddistawrwydd yn anfon gair atat, gan obeithio y bydd iddo dy gael yn iach fel y mae yn fy ngadael innau. O'r diwedd dyma fi yng Nghlynnog—dyma yr hyn a fu am gymaint o amser yn ddrychfeddwl o'r diwedd wedi ei sylweddoli mewn ffaith. Yr wyf yn hoffi y lle yn fawr, ac yn neillduol yr ysgol; er nad oes yma ryw lawer o fanteision i ddysgu, oni wna dyn feddwl am ddysgu; ond i'r dyn penderfynol y mae pob lle yn gyffelyb. Nid oes yma le i neb ond a fyddo yn meddwl o ddifrif am ddysgu, ac nid dysgu yn yr ysgol yn unig, ond dysgu fore a hwyr, a dyma yr adegau y mae yn bosibl dysgu mwyaf o lawer. Mae yma gryn lawer o ysgolheigion yn awr, ond y mae yn debyg yr aiff llawer o honynt i ffordd yn fuan. Yr wyf wedi bod yn ymddiddan âg amryw yn yr un amgylchiadau a thithau, a thystiolaeth pob un o honynt oedd fod yma le campus i ddechreu am ryw gyfnod, pe buasit yn meddwl myned i rywle arall wedyn. Ac felly yr wyf yn disgwyl y caf dy gwmpeini yma y gauaf dyfodol, os byddwn byw.

"Bydd yn rhaid i ni gael tipyn o hanes Cymanfa Liverpool gennyt yn dy lythyr nesaf,—pwy oedd y prif ddynion a glywaist, a phwy oedd yn myned oreu, pa fodd yr oeddit yn teimlo yn Liverpool, a brynaist ti lawer o lyfrau. Dyna i ti ddigon o gwestiynau erbyn y tro nesaf. Yr wyf yn disgwyl cael beirn-

iadaeth deg a diduedd ar y traethawd. Paid ti a gadael i'th deimladau cyfeillgar â mi ddallu dim ar dy allu beirniadol. Bydd yn onest.

"Brysia anfon yn ol ataf. Cofia fi at dy dad a'th fam, a'r teulu yna i gyd. Dywed wrth fy modryb Bryngoleu am wneyd i fy ewythr ysgrifennu ataf pan gaiff amser.—Yr eiddot hyd dranc,

W. R. JONES."

Ymroddodd i ddysgu yma, a gwnaeth gynnydd mawr iawn. Nid oedd yn gryf iawn mewn rhif a mesur, ac nid oedd ganddo fawr o flas arnynt. Ond yr oedd yn gryf a chyflym mewn canghennau ereill. Hoffai Glynnog yn fawr, a theimlai yn hollol gartrefol yma. Cafodd le cysurus i aros, sef Cilcoed, gyda John Owen, a'i fam a'i chwaer, pobl hynod garedig, fel y gŵyr ugeiniau fu yn aros yno. Dyma ei gyd-ysgolheigion, mor bell ag y cofiaf hwy—y Parchn. J. Williams, Caergybi; J. J. Roberts (Iolo Carnarvon); Dr. Joseph Roberts, New York; R. Humphreys, Bontnewydd; J. R. Williams, Rhyd Bach; J. Williams, Dwyran; D. Roberts, Abererch; J. Owen, Dublin (Criccieth); Moses Jones, Bala; R. V. Griffith, America; y diweddar R. Roberts, Morfa Nefyn; W. Roberts (Gwyddno); ac Edward Roberts, Llanfairfechan,—coffa da am dano, gyda'i droion digrif a diniwed.

Yn Gorffennaf, 1866, safodd yr arholiad am fynediad i Athrofa'r Bala, ac yr oedd yn bedwerydd ymysg pedwar ar bymtheg.

Aeth i'r Bala ar agoriad y coleg ar ol gwyliau yr haf, a bu yno am dair blynedd. Gweithiodd yn egniol tra y bu yno, a safodd yr arholiadau blynyddol yn anrhydeddus, heb fod yn uchel iawn, nac yn isel. Cwynai yn aml newydd iddo fyned yno, fod y gwaith yn fawr iawn, a'i fod yntau yn ddiffygiol mewn dau beth oedd yn hanfodol i'w lwyddiant colegawl, sef addysg foreuol dda, a chof cryf a gafaelgar. Gwir yw na chafodd addysg foreuol dda, ac y mae yn syn ei fod yn sefyll mor uchel ac ystyried ei fanteision boreuol. Ond am ei gof,

ni ddylasai gwyno, yr oedd ganddo gof gafaelgar iawn. Prawf o hynny yw ei fod yn hanesydd rhagorol, ac yn ddyn o wybodaeth eang iawn. Safodd yn gyntaf yn ei ddosbarth un flwyddyn mewn hanes.

Tra yn y Bala ysgrifennodd amryw erthyglau i'r *Cylchgrawn*. Daeth trwy hyn yn bur adnabyddus yn y Dehau yn bur gynnar ar ei fywyd. Bu am daith fechan yno yn pregethu tua'r adeg yr oedd yn gadael y coleg. Canlyniad hyn oedd iddo gael cymhelliad taer i fyned yn weinidog i Lanelli. Ond trwy ddylanwad amryw gyfelllion, a gogwyddiad ei feddwl ei hun, o bosibl, penderfynodd beidio derbyn yr alwad. Derbyniodd alwad i fugeilio eglwysi Ty Mawr, Bryn Mawr, Pen y Graig, a Rhyd Bach, Lleyn. Ymsefydlodd yno yn Hydref, 1869, a bu yno am yn agos i bedair blynedd. Yn 1873, cafodd alwad i fugeilio eglwysi Seion a Bethel, Llanrwst. Yn y flwyddyn hon hefyd y priododd â Miss Rowlands, Poplar Cottage, Pen Llwyn, Aberystwyth, boneddiges yn meddu llawer o rinweddau, a diameu iddi fod yn gymorth mawr iddo i gyflawni ei waith. Bu yn Llanrwst am saith mlynedd, yn gymeradwy iawn, ac yn ennill tir yn barhaus fel llenor a phregethwr. Tra yn aros yma ysgrifennodd amryw erthyglau i'r *Traethodydd* a chyhoeddiadau ereill. Yr oedd yn un o'r gweinidogion mwyaf llafurus. Gosododd nod uchel i'w fywyd, ac, er iddo gyrraedd yn uchel, mae yn bosibl iddo gael ei gymeryd ymaith cyn cyrraedd y nod hwnnw.

Mae ei hanes oddiyma ymlaen yn lled hysbys, sef ei arhosiad yng Nghaergybi am bedair blynedd ar ddeg, lle yr oedd yn gymeradwy iawn, ac yn parhau i ennill tir; a'i arhosiad diweddaf yng Nghaernarfon, lle y diweddodd ei yrfa yn orfoleddus Gorff. 11, 1898, yn 58 oed.

Mae arnaf awydd gwneyd ychydig sylwadau arno fel llenor a phregethwr cyn diweddu, gan hyderu na wnaf gam ag ef nac â'r gwirionedd. Credaf y cydnabyddir ei fod yn un o lenorion blaenaf y genedl. Yr oedd cylch ei ddarlleniad yn eang anghyffredin. Dar-

llennai y pethau goreu yn Saesneg a Chymraeg. Dywedai un gŵr craff ei fod yn un o'r rhai mwyaf cyfarwydd mewn llenyddiaeth Seisnig hyd yn oed pan yn y Bala. Aeth ymlaen yn y cyfeiriad hwn ar hyd ei oes. Yr oedd ei chwaeth yn hynod bur. Yr oedd ganddo gyflawnder o iaith, a gallasai hyn fod yn elfen o berygl iddo heb wyliadwriaeth. Diau ei fod yn un o'r ysgrifenwyr Cymraeg goreu. Gwn iddo ddarllen llawer ar rai o'r clasuron Cymreig yn gynnar ar ei fywyd. Dywedai Llyfrbryf, yr hwn sydd yn awdurdod uchel ar hyn, fod ei frawddegau "mor ystwyth a gwiail helyg." O bosibl ei fod yn fwy adnabyddus fel llenor nag fel pregethwr. Bu yn hwy nag y disgwyliem yn dyfod i'r *front* fel pregethwr. Ond yr oedd er's blynyddau wedi dyfod yn boblogaidd, a galwad mawr am dano. Ac nid poblogrwydd israddol, ac o fyr barhad, ydoedd, ond y math uchaf ohono, wedi ei ennill yn hollol deg trwy lafur cyson a diflino. Hwyrach na fyddai yn iawn ei alw yn bregethwr mawr, mewn un ystyr o'r gair. Mewn un ystyr nid oedd Mr. Spurgeon yn deilwng i'w gydmaru â John Foster, neu Robertson o Brighton; mewn ystyr arall yr oedd yn fwy. Ofer disgwyl am dalpiau mawrion o feddyliau gan Mr. Spurgeon, neu Dr. Talmage os mynner, ond yr oedd ganddynt rywbeth arall llawn mwy gwerthfawr i gymeryd gafael mewn pob math o ddyn. Gellid dweyd yr un peth am lawer o hen bregethwyr enwog Cymru. Nid deall yw yr oll o ddyn, er mor werthfawr yw y gallu yma. Mae ganddo serchiadau, mae ganddo ddychymyg, ewyllys, a chydwybod; ac y mae yn bwysig i siaradwr allu cynhyrfu y galluoedd hyn. Byddaf yn meddwl fod llawer o ffolineb yn cael ei siarad wrth son am bregethwr mawr. Yn ol rhai, nid oes neb yn bregethwr mawr os na fydd yn gallu dweyd gwirioneddau tywyll ac athronyddol, ac yn ymylu ar fod yn annealladwy. Nid wyf yn tybio fod meddwl Goleufryn o duedd athronyddol. O leiaf nid hyn oedd ei nerth mwyaf, ac ni welid llawer o hyn yn ei ysgrifeniadau na'i bregethau. Ond yr oedd cryn lawer o'r bardd

ynddo, er na chyfansoddodd fawr, os dim, barddoniaeth. Yr oedd ganddo ddychymyg byw iawn. Yr oedd ganddo lygaid i weled y prydferth a'i ddangos i ereill. Medrai bregethu yn ddyddorol, dawn sydd yn brin yn y dyddiau hyn,—nid yn ddifyr a feddyliaf. Credaf fod gwahaniaeth rhwng y ddau ddull. Mae yn bosibl dweyd mân hanesion cynhyrfus a hanner gwir i ddifyrru rhyw fath o bobl. Yr oedd Goleufryn yn bell iawn oddiwrth y dosbarth yma. Yr hyn a olygaf yw gallu i osod y gwirionedd mewn dull byw, swynol, a *fresh* o flaen y gwrandawyr, meddu digon o *illustrations*, &c., i egluro a phrydferthu y gwirionedd. Ac onid dyna nod angen y pregethwr yn yr oes fasnachol a gwyddonol hon,—gallu gosod y gwirionedd mewn dull mor fyw a swynol nes peri i'r gwrandawr anghofio byd yr arian a byd gwirioneddau sychion gwyddoniaeth ac uchfeirniadaeth? Yr oedd Goleufryn yn lled gryf yn y cyfeiriad yma, nid fel y corwynt, yr hwn sydd yn ysgubo pobpeth o'i flaen, ond fel yr awel dyner, falmaidd, ac adfywiol—fel y gwlith tyner a ffrwythlon, fel y blodeuyn prydferth a phersawrus.

*II.*

## Gan y PARCH. RICHARD HUMPHREYS.

YN fuan ar ol dechreu, aeth i ysgol Clynnog, yr hon a gedwid ar y pryd gan Dewi Arfon. Yn yr ysgol hon daeth i gydnabyddiaeth a chyfeillion newydd, a daeth yn bur fuan yn adnabyddus yn mysg Methodistiaid Lleyn ac Arfon fel un o'r rhai mwyaf gobeithiol o "fechgyn Clynnog," ac ni chafodd y rhai a goleddent y gobeithion uchaf am dano eu siomi. Gweithiodd yn egniol tra yng Nghlynnog, a gwnaeth gynydd mawr a chyflym, yn enwedig mewn gwybodaeth o'r iaith Saesoneg. Cyfieithodd holl brif erthyglau Geiriadur Mr. Charles, ac ysgrifenodd hwynt yn ofalus. Yr oedd gan Dewi Arfon, yn gystal a'r myfyrwyr, syniadau uchel am dano fel un ymroddedig i waith, ac o alluoedd disglaer. Yn haf y flwyddyn 1866, llwyddodd ef, ac amryw eraill o fyfyrwyr Clynnog, i basio yr arholiad am fynediad i Athrofa y Bala. Yr arholwyr oeddynt y Parchn. G. Parry, D.D., ac O. Jones, B.A., Llansantffraid. Safai Mr. Jones, fel y gallesid disgwyl, yn uchel ar y rhestr. Aeth i fewn i'r Athrofa tua chanol mis Awst y flwyddyn honno. Bu yn y Bala am dair blynedd, un flwyddyn yn yr hen Goleg, wrth Gapel y Bala, a dwy flynedd yn y Coleg Newydd, yr hwn a agorwyd Medi 5ed a'r 6ed, 1867. Yng ngwhrs ei efrydiaeth yn y Bala astudiodd rai pynciau yn nodedig o drwyadl, a chyfyngodd ei hun bron yn gwbl i'r materion hynny ag yr oedd ganddo, fel un o dueddiadau llenyddol cryfion, hoffder atynt, a bu ar ei enill o wneud hynny mewn blynyddoedd diweddarach. Heblaw darllen ar gyfer y dosbarthiadau yn yr Athrofa, darllenodd lawer o weithiau y prif awduron Seisnig. Yr oedd cylch ei ddarllениad yn eang. Yn marn ysgrifennydd y llinellau hyn, ymadawodd Mr. Jones o'r Bala wedi darllen cymaint o lenyddiaeth gyffredinol Seisnig a'r holl efrydwyr eraill

gyda'u gilydd. Y mae hyn yn ddyweyd llawer, ond nid ydym yn meddwl ei fod yn ddyweyd gormod. Yn y Bala y dechreuodd ddarllen gweithiau T. Carlyle. Yfodd yn helaeth, hwyrach yn llawer rhy helaeth, o'u hysbryd. Darllennodd ei holl weithiau drachefn ar ol gadael y Bala. Wedi gorphen, ysgrifennodd nifer o erthyglau ar Carlyle i'r *Traethodydd*. Yr ydym yn cofio iddo ddyweyd pan yn dechreu eu hysgrifenu, "Ni fuasai yn iawn i mi ysgrifenu ar un fel Carlyle heb ddarllen yn gyntaf bob brawddeg a ysgrifennodd."

Ysgrifennodd Mr. Jones lawer i'r gwahanol gylchgronau Cymreig ac i'r newyddiaduron. Ysgrifennodd hefyd Esboniad ar Lyfr y Barnwyr, yng nghyda rhanau o Feibl y Teulu. Cyhoeddwyd hefyd yn nhymor ei arosiad yng Nghaernarfon lyfr dirwestol o'i eiddo yn dwyn y teitl *Cibbroth Hattaafah.*

Teithiodd hefyd gryn lawer. Ymwelodd â Chanaan, America, ynghydag amryw o wledydd y Cyfandir. Meddai allu rhagorol i wneyd y defnydd goreu o bob peth a welai.

Llanwodd hefyd amryw gylchoedd pwysig yn y Cyfundeb, megis Ysgrifennydd y Gymanfa Gyffredinol, Arholwr Cymdeithasfaol, ac Areithydd ar Natur Eglwys mewn gwasanaeth ordeinio. Ond cadwodd noswyl yn gynar. Ymadawodd â'r fuchedd hon mewn ymostyngiad tangnefeddus i ewyllys ei Dad nefol.

*III.*

## Gan y PARCH. EVAN JONES, CAERNARFON.

YN marwolaeth Goleufryn amddifadwyd ni o gymeriad pur a dyrchafedig; meddyliwr cyfoethog a grymus; ysgrifennydd goleu, miniog, a hynod ddarllenadwy; ac un o'r pregethwyr mwyaf coethedig a derbyniol a fagwyd erioed yng Nghymru.

Daeth allan yn drydydd yn yr Arholiad Cymdeithasfäol; yr oedd wedi cael ei alw yn weinidog ymhen y pum' mlynedd ar ol dechreu pregethu, a'i ordeinio ymhen y saith mlynedd. Nid peth bychan, y pryd hwnnw, oedd i ŵr ieuanc gael ei alw yn fugail o gwbl. Cafodd ef hynny o'r Coleg. A buan iawn y symudodd i eglwys fawr gyfoethog Llanrwst; ac oddiyno drachefn i eglwys fwy Hyfrydle; ac yn ddiweddaf i un o brif eglwysi Gogledd Cymru, sef Engedi, Caernarfon. Yr oedd ei holl galon yn y weinidogaeth. Meddai dueddiadau llenyddol cryfion. Darllennai yn ddiorphwys; ysgrifennai i'r wasg; ond y weindogaeth oedd yn cael ei holl feddylfryd. Ar ol i un Saboth fyned heibio, byddai ar unwaith â'i holl egni yn parotoi ar gyfer Saboth arall. Ac felly y parhaodd ar hyd ei oes yn un o weinidogion cymhwys y Testament Newydd.

Yr oedd hefyd yn llenor gwych. Mor fedrus y desgrifiai y Gymanfa yn Antiochia, neu Ysgrepan y Curad! Yr oedd yn adolygydd llyfrau rhagorol. Gwerthwyd deng mil o'i Esboniad ar Lyfr y Barnwyr. Ac y mae ei lyfryn diweddar ar Ddirwest—*Cibbroth-Hattaafah*—yn deilwng o'r testun ac o'r awdwr. Hyderwn y cesglir ei ysgrifau, ac y cyhoeddir hwy, ynghyd a'i bregethau a'i anerchiadau.

Hydref, 1873, yn Jewin Crescent, Llundain (gan y Parch. D. C. Davies, M.A.), priododd â Miss Kate Rowlands, Penllwyn, Sir Aberteifi, fel, pe buasai wedi

cael byw ond tri mis yn hwy, buasai y pâr dedwydd wedi cael cadw gŵyl eu priodas arianaidd. Ond nid oedd eisieu byw yr un awr yn hŵy i brofi pa mor ryfeddol o gymhwys a fu yr ieuad cymharus hwn. Yr oedd hi yn bobpeth iddo ef, ac yntau yn bobpeth iddi hithau.

Y fath ydoedd ei awyddfryd am wybod pobpeth yn drwyadl fel nad ymfoddlonai ar ddarllen yn unig am danynt, ond, os byddai bosibl, mynai eu gweled â'i lygaid ei hun. O herwydd hynny, yr oedd ei awydd yn fawr am weled y lleoedd hynny y darllenasai gymaint am danynt. Yn 1882 cymerodd daith trwy yr Aipht a Chanaan, ac arferai ddyweyd nad oedd erioed hyd hynny wedi gallu sylweddoli llawer o rannau o'r Beibl fel y gwnai ar ol hynny.

Yn 1887, bu ef a'i briod yn teithio saith mis trwy America, ac yn pregethu tua chant o weithiau i'r Cymry ar wasgar o New York i Galiffornia. Bu yn darlithio ar hanes y daith hon mewn amrywiol fanau, ac yr oedd ei sylwadau yn llawn craffder a newydd-deb. Yn 1896 bu ef a Mrs. Jones ar daith trwy rannau o Itali. A da yr ydwyf yn cofio mor llawn o wrthwynebrwydd ydoedd i Babyddiaeth ar ol dychwelyd. Yr oedd y rhwysg a'r oferedd a welsai wedi ennyn atgasrwydd trwyadl ynddo at y ffug-chwareu, tra y llawenychai yn ei galon wrth feddwl am rai golygfeydd a welsai lle yr oedd gweinidogion syml yn ceisio dysgu egwyddorion y Testament Newydd i dlodion a phlant bach.

Yr oedd Mr. Jones yn ddiamheuol yn un o ddynion blaenaf ei genedl a'i Gyfundeb. Yr hyn a'i hynodai ydoedd y syniadau dyrchafedig gyda pha rai yr edrychai ar bobpeth. Os darllen, darllennai y llyfrau goreu ar bob testun. Nid arbedai na thraul na thrafferth i'w cael; ac, ar ol eu cael, nid ymorphwysai heb wneuthur eu cynnwysiad yn feddiant iddo ei hun. Prynnai lyfrau hyd y diwedd; ac un o'r rhai diweddaf a brynodd oedd *Cofiant Dr. David Brown*, gan Dr. Blaikie. Os ysgrifennai, nid rhywbeth a ysgrifennai. Nid ysgrifennodd ddim erioed

na fyddai raid i'r darllennydd gael myned trwyddo cyn ei ollwng. Os pregethu, pregethai nes mynnu gwrandawiad, ac yr oedd yn myned yn fwy poblogaidd hyd y diwedd. Cafodd le mawr hefyd gan ei gydwladwyr. Bu yn Arholydd Cymdeithasfaol, yn Ysgrifennydd y Gymanfa Gyffredinol, ac yn traddodi yr Araeth ar Natur Eglwys ym Machynlleth. A diau, pe cawsai fyw ond ychydig, y buasai yn cael ei ddyrchafu i'r swyddau uchaf yn y Cyfundeb.

Ond rhaid fu gadael y cwbl, a hynny yn yr oedran cymhariaethol gynnar o 58. Cymerwyd ef yn wael y Sul cyntaf yn Ebrill, 1897. Bu yn beryglus wael y tro hwn; y meddyg yn dyfod i'w weled bob dydd am fis. Cafodd wella, a myned oddi amgylch i bregethu a gweithio—ond nid fel o'r blaen; yr oedd wedi colli ei yni; a baich, i raddau, oedd bywyd. Bu yn Harrogate ddwywaith yr haf hwnnw, ac yn ymgynghori âg un o'r prif feddygon. Yn mis Hydref aeth ef a'i briod i Lundain i ymgynghori âg un o'r prif feddygon drachefn, a theimlai i raddau yn well. Y Nadolig a'r Sul canlynol bu yn y Cemaes, Sir Drefaldwyn, yn cynnal cyfarfod pregethu. Ac yn lle gorphwys, a dyfod adref yn hamddenol, prysurodd oddi yno bore Llun. I gael y *train* cyntaf bu raid ei anfon i Fachynlleth. Daeth adref, ac edrychai yn llawer gwell nag y disgwylid, ar ol y fath lafur caled. Ond yn ystod y noswaith honno, cymerwyd ef yn wael iawn, fel y bu raid galw am y meddyg. Methodd a phregethu y Sul cyntaf yn 1898, ac ni fu fawr o drefn ar ei iechyd ar ol hynny. Erbyn diwedd Mawrth, ar annogaeth y meddyg, penderfynodd roddi ei le fel gweinidog i fyny, ond tybiai y cai fyned oddi amgylch i bregethu wrth ei bwys. Penderfynodd Mrs. Jones ac yntau fyned i Landrindod am fis, yn enwedig gan fod ei Sabothau am y mis hwnnw mewn lleoedd yn y Deheudir, ac y gallai fyned iddynt yn gyfleus oddi yno. Y Saboth cyntaf o honynt, Mai 22, yr oedd i fod yn Llandilo. Pregethodd ddwywaith y Sul a dwywaith y Llun. Teimlai yn llesg, ond pregethai yn rymus, yn

neillduol bore Llun, pryd y cafodd oedfa nad anghofir yn fuan gan neb oedd yn bresennol. Nos Lun pregethai oddiar Num. xxi. 10, 11: "A meibion Israel a gychwynasant oddi yno, ac a wersyllasant yn Oboth. A hwy a aethant o Oboth, ac a wersyllasant yng ngharneddau Abarim, yn yr anialwch, yr hwn oedd ar gyfer Moab tua chodiad haul." Yr oedd ei ddifrifwch yn ofnadwy yn yr oedfa hon. Ac, erbyn hyn, mor darawiadol oedd ei gyfeiriad at y wlad well fel "gwlad codiad haul!" Dyna ei destyn a'i bregeth olaf. Cyrhaeddodd Landrindod ganol ddydd Mawrth, ac yn edrych yn well. Y noswaith honno ymosodwyd arno gan ddiffyg anadl, ac felly y nosweithiau dilynol. Dychwelasant o Landrindod Mehefin 1. Mehefin 22 aethant drachefn i Lanbedr, Sir Feirionydd; ond ar yr ail o Orphenaf da oedd cael troi adref, gan fod cyfnewidiad amlwg ynddo, a'r diwedd fel yn y golwg. Dyma y siwrnai olaf iddo ar y ddaear. Cafodd gystudd poenus, ond nid oedd ef yn ymwybodol o hynny. Yr oedd yn teimlo er's misoedd nad oedd y diwedd ymhell, ac amlygai weithiau nad drwg ganddo hynny. Un noswaith ym mis Ebrill, deffrödd, a chafodd fod ei briod yn wylo. Gofynai iddi paham yr wylai? "Ai poeni yr ydych," meddai, "o'm hachos i? Yr wyf yn synnu atoch; paham na wnewch chwi fel yr wyf fi yn gwneyd? Yr wyf fi yn pwyso ar fy Ngheidwad, pa un bynnag ai i *fyw* ai i *farw*." Ymddiddanai yn bwyllog am y mater mawr, ac, weithiau, tröai yr ymddiddan yn dipyn o nefoedd ar y ddaear. Y nos Sadwrn a'r Saboth olaf y bu fyw ceisiai ganu. Canwyd lliaws o bennillion, a'r olaf o honynt oedd,

"Mi garaf f' Anwylyd o hyd," &c.

Gyda hwn collodd bob ymwybodolrwydd, ymollyngodd i freichiau ei Waredwr, ac felly y bu farw Gorphenaf 11, 1898, am hanner awr wedi chwech yn y bore; a'r dydd Iau canlynol hebryngwyd ei weddillion gan dyrfa fawr i feddrod y prophwydi yng Nghaeathraw, ger llaw Caernarfon, i orphwys hyd fore caniad yr udgorn.

IV.

## Gan MR. J. EVAN ROBERTS, BANGOR.

PAN yr addewais, mewn munyd o fyrbwylldra, anfon ysgrif i'r *Geninen* yn cynnwys rhai o fy adgofion am fy niweddar anwyl gyfaill Goleufryn, nid oeddwn, ar y pryd, yn cofio fod dwy ysgrif alluog a manwl eisioes wedi ymddangos arno,—un yn *Y Drysorfa*, gan ei gymydog a'i gydweithiwr, y Parch. Evan Jones; a'r llall yn *Y Geninen*, gan ei gyfaill Alafon. Eto, fe allai fy mod inau wedi cael manteision neillduol i'w adnabod ag sydd yn rhoddi rhyw gymaint o hawl i mi i ysgrifennu ychydig linellau o'm hadgof am dano; a phe na bai ond o barch cywir at y gwrthrych, ceisiaf osod ger bron eich darllennwyr, yn fyr, rai o nodweddion mwyaf tarawiadol ei gymeriad, ac ambell amgylchiad tra dyddorol yn ei hanes.

Daethum i gydnabyddiaeth ag ef lawn ugain mlynedd yn ol, pan yr ydoedd yn weinidog llwyddiannus yn Llanrwst, ac yn bregethwr poblogaidd trwy Gymru oll; ac o'r adeg honno ymlaen, fel yr oedd cyfleusderau i'w adnabod yn amlhau, uchaf yn y byd yr elai fy syniad am dano, fel dyn cyflawn, cyfaill cywir, ac, yn arbenig, fel Cristion trwyadl. Nid wyf yn meddwl i mi erioed gyfarfod âg un dyn wedi cyrraedd i safle mor uchel yn marn y cyhoedd ac yr un pryd mor ddiymhongar a gwylaidd; yn wir, y fath ydoedd ei ledneisrwydd a'i ostyngeiddrwydd fel ag y celai ei wybodaeth yn fynych rhag peri i neb feddwl ei fod yn ceisio gwneyd arddangosiad o'r hyn a wyddai. Yr oedd yn cashau a chas cyflawn bob gwag-fawredd a rhodres; a hoffai droi min ei wawdiaeth i ollwng y gwynt allan o fodau chwyddedig a rhodresgar y deuai i gyffyrddiad â hwynt.

Yr oedd yn hollol ddidderbyn-wyneb; nid ofnai wg neb: ac ni cheisiai ffafr neb; lle y credai

ef mai ei ddyledswydd ydoedd dweyd ei feddwl yn ddigêl, gwnai hynny yn eglur ac eofn, heb wneuthur cyfrif ohono ei hunan o gwbl yn y mater. Yr oedd ar unwaith yn argraffu ar feddwl pawb a'i hadnabyddai ei fod yn foneddwr yn ystyr oreu y gair, ac yn meddu ar y diwylliant uchaf. Pan yr ystyriom yr anfanteision mawr o dan ba rai y dechreuai ei yrfa gyhoeddus, a'r gwaith caled yr ymgymerodd âg ef yn ei fugeiliaeth gyntaf, y mae yn syndod pa fodd y daeth yn feddiannol ar yr holl adnoddau oedd ganddo, mewn gwybodaeth eang ac addysg drwyadl, a hollol gydfynedol â'i oes. Rhaid ei fod wedi llafurio yn galed, mewn amser ac allan o amser, i gasglu mel i'r cwch meddyliol; oherwydd yr oedd ei feddwl yn ystordy llawn o bethau goreu llenyddiaeth Seisonig a Chymreig. Yr oedd yn ddarllennwr mawr a chofus; a manteisiai ar bob munydyn i ddarllen. Ni ddeuai byth i'n tŷ na byddai ganddo ryw lyfr neu gilydd yn gydymaith, fel y caffai ei ddarllen yn y tren, rhag i ddim amser fyned yn ofer; a dyma, yn ddiddadl, a gyfrifai am y newydd-deb oedd yn hynodi ei bregethau a'i ysgrifeniadau.

Fel cyfaill, cefais ef y mwyaf cywir a phur: gellid rhoddi yr ymddiriedaeth lwyraf ynddo, a byddai pob cyfrinach a ddigwyddai rhwng cyfaill a chyfaill yn berffaith ddiogel yn ei gadwraeth ef. Gellid dibynnu ar ei anrhydedd i'r eithaf: ni wnai dro gwael â neb. Yr oedd yn hynaws a charedig ei ysbryd; a than y gwawdiaeth a ddefnyddiai weithiau yr oedd calon dda a chydymdeimlad gwirioneddol yn gorwedd. Fel Cristion, gadawodd argraff annileadwy ar fy meddwl ei fod yn ddyn o argyhoeddiadau crefyddol cryfion, wedi profi mawrion weithredoedd yr Arglwydd yn ei enaid ei hun; ac, fel y dywed Alafon am dano, yr oedd yn byw gymaint yng nghymdeithas ei Dduw, ac yn ymdroi â phethau ysbrydol, fel y gallai, yn y modd mwyaf naturiol, droi atynt o ganol ymddiddanion cyffredin am bethau y byd a'r bywyd hwn. Byddai ei ymddiddanion bob amser o nodwedd ddyrchafol ac â naws grefyddol arnynt, ac yn

gadael rhyw berarogl dymunol ar eu hol. Yr ydoedd, yn ei flynyddau olaf, yn teimlo yn bryderus ei feddwl am ddyfodol crefydd Cymru, ac am ddyfodol Methodistiaeth. Er ei fod yn bell o fod yn *pessimist*, eto ofnai i ddylanwadau estronol ymwthio i mewn i fywyd crefyddol y genedl a'i throi oddiwrth wir ysbrydolrwydd at rith. Credai fod athrawiaethau amryw a dieithr yn cael eu pregethu o'n pwlpudau, ac fod yr amser heb fod ymhell pryd na oddefant athrawiaeth iachus, a mwy o duedd at glywed rhyw newydd-bethau nag am yr "hen, hen hanes." Gofidiai yn fawr fod lle cryf i gredu fod y ddyledswydd deuluaidd yn colli tir ymysg ein haelodau a'n swyddogion eglwysig, ac ofnai rhag y parai hyn iddynt golli eu dylanwad a'u nerth yn yr eglwys yn ogystal ag ar y byd tu allan iddi. Ei weddi ydoedd ar i Dduw ein Tadau eto ymweled â'n gwlad, ac anfon o'i Ysbryd i ail gyneu y tân Sanctaidd ar aelwydydd Cymru, ac i bureiddio ac adfywio ei heglwysi. Yr oedd un peth arall ag y teimlai yn gryf iawn arno, a hwnnw ydoedd, y teithio ar y Sabboth ag sydd, y mae lle cryf i gredu, yn cynyddu yn ddirfawr yn ein plith, a hynny, ysywaeth, yn ol esiampl gweinidogion yr Efengyl, y rhai a welir yn llu mawr yn myned ac yn dyfod gyda'r cerbydresi ar ddydd yr Arglwydd. Credai ef yn gadarn eu bod trwy y cyfryw ymddygiad nid yn unig yn torri y pedwerydd gorchymyn, ond hefyd yn gorfodi i eraill golli y gorphwysdra dyladwy y mae y seithfed dydd wedi ei ddarparu iddynt.

Fel y dywedais ar y cychwyn, cefais lawer o fanteision i'w adnabod yn dda; ond y benaf oll ydoedd y daith a gymerais yn ei gwmni ef a'r Parchn. John Jones, F.R.G.S., Pwllheli, ac Owen Jones (A.), Mountain Ash, trwy yr Aipht a Chanaan. Nid oes gwell cyfleusdra i ennill adnabyddiaeth o ddyn na phan yn cydfyw a chyd-deithio âg ef am amser; a'r pryd hyn yn fynych y ffurfir undeb a chyfeillgarwch nas datodir gan angeu ei hun. Y mae gennyf lu o adgofion melus am y daith honno; ac erys ei digwyddiadau yn fyw yn fy nghof, ac

y mae y cwbl ohonynt bron yn gylymedig âg enw Goleufryn, mewn rhyw gysylltiad neu gilydd. Y mae yr adgof am y llanerchau cysegredig y cyd-ymwelsom â hwy, a'r teimladau a'n meddiannai y pryd hynny, yn gyfryw na ddilëa amser mohono. Yr wyf yn cofio megis doe, fel yr eisteddem bob yn ddau wrth enau Ffynnon Jacob, gan ddarllen bob yn ail adnod o'n Beiblau Cymraeg y bedwaredd bennod o *Efengyl Ioan;* a bron na theimlem fod yr Hwn a ymddiddanai â'r wraig o Samaria ar y llecyn hwnnw yn ymddiddan yno â ninnau hefyd. Clywsom ein cyfaill hefyd yn cyhoeddi y melldithion oddiar Ebal, ac un arall y bendithion oddiar Gerizim; yr oedd pob gair o'r eiddynt yn dod i'n clustiau ni oeddym yn y dyffryn cydrhyngddynt, yn hollol eglur trwy yr awyr deneu, bur. A diwrnod bythgofiadwy oedd y diwrnod a dreuliasom ar Fôr Galilea, yn edrych ar yr un golygfeydd, yn morio yr un môr, ag y bu y "dyn â'r Duwdod ynddo'n trigo." Cof gennyf am yr olwg gyntaf a gawsom ar Jerusalem, y ddinas Sanctaidd, wrth ddyfod iddi o gyfeiriad Bethel, fore Gwener y Groglith; a'r dyddordeb mawr a gymerem ynddi wrth edrych arni o ben Mynydd yr Olewydd, a'r meddwl yn rhedeg yn ol at yr adeg yr oedd yn "degwch bro a llawenydd yr holl ddaear," a ninnau yn rhifo ei thyrau hi, yn ystyried ei rhagfuriau, ac yn edrych ar ei phalasau, ïe, fel y mynegai rhai ohonom i'r oes a ddêl. Yr oedd ein cyfaill Goleufryn yr astudiwr caletaf ohonom: yr wyf yn sicr y cydsynia fy nghymdeithion â mi yn hyn; yr oedd yn amlwg ei fod wedi darllen llawer am y wlad, am ei daearyddiaeth foreuol o dan yr hen oruchwyliaeth ac yn oes ein Gwaredwr, ac am ei chyflwr presennol; ac yr oedd ei hanes trwy y canol oesoedd yn hollol wybyddus iddo; yr oedd trwy hyn yn gallu dal yr hen wyneb yn wyneb â'r diweddar. Gwnai nodiadau yn ofalus am bob man yr ymwelem âg ef. Ceir llawer o ffrwyth ei sylwadaeth yn y cyfeiriad hwn yn ei esboniad ar *Lyfr y Barnwyr*, yr hwn a barotödd at wasanaeth yr ysgolion Sabothol.

Bûm yn gwrandaw arno fwy nag unwaith yn darlithio ar yr Aipht a Chanaan; ac yr oedd ei ddesgrifiadau o'r fath fwyaf *graphic* a byw, ac yn galw y naill olygfa ar ol y llall yn fyw i'm cof gyd a nerth ac eglürder anarferol; y cyfan yn profi ei fod nid yn unig yn sylwedydd craff ond hefyd yn meddu ar allu nodedig i gyfeirio ei feddyliau i eraill.

Nid gwiw i mi ymhelaethu a son am dano fel pregethwr hyawdl a dylanwadol, nac fel llenor gwych: y mae pregethwr a bardd wedi cyflawni y gwaith hwnnw yn barod: fy ngorchwyl i ydoedd yn unig ysgrifennu ychydig o adgofion am gyfaill cywir a thwymngalon, fel teyrnged fechan o barch i'w goffadwriaeth.

## V.

## Gan y PARCH. J. OWEN, Y WYDDGRUG.

DYN anghyffredin iawn oedd "Goleufryn." Yr oedd ei wanc am wybodaeth yn anniwall. Darllennai yn ddiderfyn, a gofalai am ddarllen y llyfrau goreu ar bob pwnc. Glynodd wrth ei lyfrau bron hyd ei anadl olaf. Cafodd lawer gwledd i'w feddwl yn ei gystudd diweddaf o Gofiant y Dr. David Brown, gan Dr. Blaikie. Yr oedd yn neillduol o hoff o David Brown. "Yr wyf wedi darllen pobpeth ysgrifennodd Brown," meddai wrthym, "ac y mae yn rhyfeddol o dda bob amser." Yr oedd "Goleufryn," hefyd, yn llenor rhagorol,—yn ddiau, yn un o lenorion goreu ei wlad a'i oes. Yr oedd ei arddull yn goeth ac urddasol, ei feddyliau yn loewon a chryfion, a'i ysbryd yn llawn grym a gwres. Fel pregethwr, ni raid dyweyd dim am dano; yr oedd Methodistiaid Cymru yn ei adwaen. Byddai pob pregeth ganddo yn llawn hyd ei hymylon o'r meddyliau cyfoethocaf. Yr oedd ei iaith yn brydferth, yn seml heb fod yn gyffredin, gydag ambell air yma ac acw yn adgoffa un mai "Goleufryn" y llenor oedd yn y pulpud. Pregethai gydag egni mawr. Nid arbedai ei nerth. Teithiodd lawer o bryd i bryd. Yn 1882 bu drwy'r Aifft a Gwlad Canaan. Yn 1887 bu ef a'i briod yn tramwy ar draws yr America, a phregethodd ef tua chant o weithiau i'r Cymry ar wasgar o New York i Galiffornia. Yn 1896 bu'r ddau drwy rannau o'r Ital. Gosododd bob gwybodaeth a phrofiad a gasglodd ar ei deithiau ar allor ei weinidogaeth. Cafodd le mawr gan y Corff. Ond daeth angau yn gynnar i dorri ei fywyd prysur i lawr.

VI.

## Gan ALAFON.

MWYNHEID ei bregethu, a gwerthfawrogid ei wasanaeth amrywiol, i fesur mawr, yn yr holl leoedd y bu yn gweinidogaethu; ac yr oedd ei fywyd, fel ei waith, yn allu er daioni ynddynt. Fe gyrhaeddodd anterth ei nerth yn Llanrwst, ac fe barhaodd mewn nerth a dylanwad helaeth yn ei wahanol gylchoedd o hynny hyd ddiwedd ei oes. Nis gellid bod yn Llanrwst, nac yng Nghaergybi ar ol hynny, yn hir heb glywed son canmoliaethus am dano fel pregethwr, fel athraw rhai ieuanc a rhai mewn oed, fel cynghorwr enillgar rhai anystyriol, fel arweinydd ac ymgeleddwr y saint, fel diddanydd rhai trallodus, ac fel un nodedig o hapus ac effeithiol yn ei wasanaeth mewn angladdau. Yr oedd gwaith eglwys Engedi yn meddwl am dano, ac yn ei ddewis mor ddi-wrthwynebiad fel olynydd i'r diweddar wr enwog Dr. Hughes, yn dweyd yn bur hyglyw mor uchel ydoedd yn ei golwg hi ac yng ngolwg y wlad; ac er fod yr afiechyd blinderus a fwytaodd ei nerth yn prysur wneud ei waith arno tra fu yng Nghaernarfon, fe lafuriodd yn egnïol yn ei wahanol gylchoedd yno.

Mi gefais y fraint o dreulio wythnosau gydag ef, o dro i dro, yn ystod ei arosiad yn Llanrwst ac yng Nghaergybi (fwy, fel y mae yn rhyfedd meddwl, a'r cyfeillgarwch yn parhau, nag wedi iddo ddyfod mor agos ataf a Chaernarfon); ac egwylon o hyfrydwch a budd i mi oedd yr adegau hynny. Yr oedd yn gydymaith o'r mwyaf diddan, rhydd a ffraeth a difyr ei ddawn ymgomio, cyfoethog ei feddwl, nwyfus a llawen,—ond hefyd difrfol a phur ei ysbryd, wrth ei fodd ym mröydd llenyddiaeth, ac wrth ei fodd hefyd ym mhorfeydd gwelltog a cher dyfroedd tawel crefydd. Fe ddywedodd beth am yr anwyl Dr. Saunders (a dorwyd i'r

bedd gan yr un afiechyd ag a'i gorchfygodd yntau) oedd yr un mor wir am dano ef ei hun. "Byddai mor hawdd iddo ef droi at Dduw a phethau ysprydol, o ganol yr ymddiddan mwyaf cyffredin, ag a fyddai i blentyn bach droi at ei dad ar ganol chwareu diniwed, ac edrych mewn cymundeb yn myw ei lygaid." Felly y cefais i Goleufryn yn ei gartref bob amser. Ni theimlid un amser fod ei newidiad cywair yn newidiad annaturiol. A llawer hanner awr dyner, gysegredig, a fwynheais gydag ef a'i anwyl brïod. Pe buaswn yn gallu taro fy llaw ar y llythyr a anfonodd i mi ychydig ddyddiau cyn ei briodas, mi fuaswn yn ei ddodi i mewn yma. Yr wyf yn cofio ei fod yn llythyr tarawiadol a dymunol iawn—yn dangos ei fod yn credu'n dawel ei fod dan arweiniad oddi fry yn y cytuniad, ac yn hyderus ddisgwyl y byddai ar ei fantais yn ei waith o'i blegid; ac ni chafodd ei siomi ddim—ond i'r ochr oreu fwy-fwy o hyd, fel y gŵyr pawb gafodd gyfleusdra i wybod. Ni chyfarwyddwyd neb at ymgeledd a chynorthwyydd fwy cymhwys. Mangre tangnefedd fu eu cartref trwy'r blynyddoedd—lle cysegredig—magwrfa ysbryd gwaith—meithrinfa crefyddolder a daioni.

Un o'r pethau a darawai ddyn gyntaf yng nghwmni Goleufryn, fel neillduolrwydd ynddo, oedd ei awydd-fryd a'i bleser mewn darllen. Ni chyfarfyddid ef un amser na byddai ganddo rhyw lyfr ar dro i son mewn dyddordeb bywiog am dano. Yr oedd yn ddarllennwr awchus a phrysur; ac fe ddarllennodd yn dra helaeth yn ystod ei oes. Fe geid ôl darllen eang ar ei bregethau, ar ei ysgrifeniadau, ar ei draethiadau yng nghyfarfodydd pobl ieuanc ei ofal, ac ar ei ymddiddanion. Wrth ddireidus "blagio" dyn—ac yr oedd yn "blagiwr" mawr ar rai o'i gyfeillion, yn enwedig rhai heb wneud un peth call a wnaeth ef—fe wnai gyfeiriadau clasurol, yn dangos cydnabyddiaeth fawr â hanes a llên. Fe ladratäi amser i ddarllen cryn lawer bob dydd hyd yn nod pan fyddai cyfeillion ar ymweliad âg ef. Ac yr oedd ei chwaeth yn chwaeth a'i tynnai i amrywiol dir-

iogaethau ym myd gwybodaeth. Heblaw llyfrau lu yn dal perthynas â'i waith fel gweinidog yr efengyl, fe ddarllennodd fwy na mwy o lyfrau hanes—hanes yr Eglwys Iuddewig a'r Eglwys Gristionogol, hanes gwledydd, hanes dynion, hanes chwilio a darganfod mewn mannau hanesyddol, ynghyda thoraeth enfawr o lyfrau mwy llenyddol eu nhodwedd. Y llyfrau hanesyddol, desgrifiadol, a llenyddol ag yr ymbleserai fwyaf ynddynt yn ystod blynyddoedd cyntaf fy nghydnabyddiaeth i âg ef oedd gweithiau Gibbon, Layard, Thomson *(The Land and the Book)*, Deon Stanley, Macaulay, Carlyle, Froude, Ruskin, Dr. Johnson, Boswell, Tennyson, Thomas Pennant, Carnhuanawc, Morgan Llwyd o Wynedd, a Goronwy Owen. Yr wyf yn credu iddo ddarllen holl weithiau Carlyle—rai o honynt fwy nag unwaith, a phobpeth cyhoeddedig yn ei gylch. Gwn iddo ddarllen rhai o lyfrau Ruskin amryw weithiau. Fe ymbleserai *lawer* un cyfnod yng nghwmni yr hynod Dr. Johnson, dan arweiniad yr edmygydd Boswell, yn arbennig; ac felly gyda Goronwy Owen hefyd, yn enwedig yn ei lythyrau. Fe fyddai ganddo ryw ddywediad doniol o eiddo Carlyle, neu Johnson, neu Goronwy, y'mhen pob stori bron; a mynych y chwarddai yn galonnog yn eu sŵn. Ond rhyw ddarllen adloniadol—amser gorphwys—oedd y darllen ar lawer o'r pethau hyn ganddo. Mewn tiriogaethau a'u cynyrchion yn fwy penodol gymhwys i'w bwrpas fel pregethwr a bugail yr oedd yn byw a gweithio. Nid esgeulusai lyfrau defosiynol, ond darllennai lawer arnynt beunydd. Anhawdd fuasai cyfarfod gweinidog i Grist wedi ymdrechu mwy i gymhwyso ei hun ar gyfer y gwaith mawr nag a ymdrechodd ef. Ac yr oedd y llafur oll yn llafur ag yr oedd wrth fodd ei galon ynddo.

Yr wyf yn teimlo yn annigonol ac anghymwys iawn i ysgrifennu am dano fel pregethwr, er i mi gael yr hyfrydwch o'i wrando lawer gwaith. Da y cofiaf am hen gyfaill i mi ac yntau—ag yr oedd yn dda gennyf ei weled, ar ol bod trwy flinderau dwys, wedi gallu dyfod

i'w angladd—yn son am dano ar ol bod am ei Saboth cyntaf ym Mhen-y-groes, Llanllyfni, yn lled fuan ar ol ei fyned i Leyn yn weinidog. I'r hen gyfaill yr oedd y pregethwr ieuanc o Leyn yn ddarganfyddiad o ddyddordeb mawr. Fe siaradai mewn brwdfrydedd anghyffredin am dano—fel pregethwr a newydd-deb a disgleirder neillduol yn nodweddu ei bregethau a'i ddull. Er nad oeddwn ond lled ieuanc fe gododd awydd mawr ynnof am ei glywed; a chyn hir mi gefais gyfleusdra i hynny, pryd y dechreuodd cydnabyddiaeth a chyfeillgarwch i fyw rhyngom. Gwledd wirioneddol oedd ei wrando y tro hwnnw; ac nid llai y wledd y troion dilynol. Fe deimlai dyn fod y cyfaill o Ben-y-groes wedi dweyd yn iawn—*fod* pregethwr newydd a disglaer wedi gwneud ei ymddangosiad ynddo. Wrth gwrs, fe aeth ar gynnydd mawr mewn gallu a gwybodaeth ar ol hynny—ac ar gynnydd fel pregethwr yn ddïau; ond yr oedd rhywbeth yn ei nodweddu y cyfnod hwnnw—nas gŵyr dyn yn iawn beth i'w alw—na fu ar ei ennill fel pregethwr drwy adael i bethau eraill ei guddio i raddau. Ar ol hynny, fodd bynnag, y daeth i lawnder llwydd a bri fel pregethwr. Ac yr oedd y galw arno, a'r cyrchu i wrando arno, yn profi'n glir ei fod wedi ennill lle uchel ym marn a theimlad y wlad. Yr oedd yn wr ag yr oedd y bobl feddylgar a'r bobl ddifeddwl yn hoff o'i wrando ac yn hoff o'i ganmol. Yr oedd yn wr hefyd ag y gellir anturio dweyd i gannoedd o bobl gael bendith yn gystal a boddhâd o dan ei weinidogaeth.

Y peth cyntaf yn ddiau a darawai ddyn wrth ddechreu gwrando arno yn pregethu, fel neillduolrwydd amlwg iawn, oedd cyflawnder iaith, ceinder arddull, a rhwyddineb parabl ac ysgogiad. Braidd nad oedd ei olud o Gymraeg yn troi yn brofedigaeth iddo weithiau. Braidd na fyddai cyd-ruthriad geiriau i gymhell eu gwasanaeth yn troi yn beth niwed i'w bregeth ambell dro. Braidd hefyd nad oedd clirder arianaidd ei lais a hoenusrwydd ei gorff yn troi yn beth anffawd iddo ar brydiau. Fe deimlid yn gyffredin y buasai yn

hyfrytach nag ydoedd i wrando arno pe buasai yn gofalu am fwy o amrywiaeth nodau mewn llais wrth lefaru: ond yr oedd ef fel siaradwr yn un o gant, a mwy na hynny, ymhlith ei frodyr. Mewn llais, mewn parabl, mewn dawn, mewn cyfoeth o ymadroddion a meddyliau, yr oedd yn un o areithwyr a phregethwyr mwyaf nodedig ei wlad.

O ran cynnwys, fe fyddai ei bregethau, fel rheol, yn ffres, yn gyfoethog, ac yn bwrpasol iawn,—yn amlygu cydnabyddiaeth dda â gwahanol feusydd ac awduron, a medr mawr i drefnu a chyfleu gwirioneddau. Weithiau —ac nid anfynych—fe ddywedai bethau tra llym, mewn ffordd blaen a digwmpas; ond mewn tynerwch nawsaidd yr oedd efe fwyaf yn ei elfen. Yr oedd yn hoff o'r prydferth a'r tyner—yn hoff neillduol; ac yr oedd yn graff i'w canfod ym mhob man; ac fe roddai le amlwg, gyda deheurwydd mawr, i bethau prydferth a thyner yr efengyl yn ei bregethau. Yr oedd ganddo ddawn i wneud defnydd addas ac effeithiol o hanesion a chymhariaethau; ac fe wnai ddefnydd lled helaeth o honynt, er mantais lawer i'r gwirioneddau fyddai ganddo i wneud eu ffordd i feddwl a chof, ac i deimlad a chydwybod. Fe ddygai bob maes o wybodaeth ag y troai ynddo dan warogaeth i efengyl Crist. Fel Apolos, yr oedd yn "wr ymadroddus;" fel Barnabas, yr oedd yn "fab diddanwch;" ond fel Paul a Phedr, yr oedd hefyd yn aflonyddwr ar gydwybodau pobl. Er mor dueddol ydoedd at arddull brydferth ac at feddyliau prydferth, fe ofalai am i'w bregethau fod yn bregethau i ddeffro pobl, ac i'w symud, ac i'w llesoli.

Yr oedd wedi ennill safle anrhydeddus, er's blynyddoedd, fel gweinidog ac arweinydd, yn y cyfundeb crefyddol y perthynai iddo; ac y mae'n sicr ddiamheu y cawsai ychwaneg drachefn o anrhydedd o'r fath pe ar y ddaear yn hwy. Fe dynnodd sylw ac fe enillodd glod mawr ymhlith Cymry yr America, pan fu ar ymweliad â'r wlad honno, yn y flwyddyn 1887. Yr oedd y bobl wrth eu bodd yn gwrando arno yn pregethu lle bynnag yr

elhi yno, ac wrth eu bodd yn ei gwmni. Cyn gadael y wlad fe gafodd wahoddiad taer i ymgymeryd â gofal eglwys gref y Methodistiaid Calfinaidd yn New York. Yn San Francisco, lle y bu yn treulio dau Saboth, fe'i hanrhegwyd â ffon ysblenydd, fel arwydd o warogaeth a hoffder rhai o'r Cymry yno. Ac wedi clywed am ei roddiad i fyny o'i le yng Nghaernarfon, oherwydd gwaeledd iechyd, fe anfonodd yr eglwys sydd yno (San Francisco) wahoddiad cariadus neillduol iddo i fyned yno i gymeryd ei gofal hi, gan addaw iddo gyflog anrhydeddus, a chan geisio ei berswadio y buasai y symudiad yn debyg o fod yn foddion adferiad iechyd iddo. Gresyn na fuasai wedi cael gweled, neu glywed, y llythyr hwnnw. Ond yr oedd wedi cael galwad arall amgen erbyn iddo gyrhaedd, ac ar ei ffordd tua gwell gwlad.

Waeth crybwyll yma nag eto, gan mai ar draws ac ar hyd y mae pethau yn mynnu do'd, am ei deithiau i gyfeiriad y dwyrain a'r de hefyd. Breuddwyd per iddo, a fwynhaodd efe lawer dengwaith, oedd y syniad o fyned rywbryd yn ystod ei oes i gael golwg ar hen Wlad yr Addewid. Yr oedd ei ddyddordeb ynddi yn fawr er dyddiau mebyd, ac yn myn'd yn fwy o hyd. Darllennodd bron bobpeth y caffai afael arno yn son am dani hi, yn enwedig ar ol gweled gobaith o gael myned i ymweled â hi. Fe deimlai yn debyg gyda golwg ar wlad yr Aipht hefyd, ac fe ddarllennodd lawer o'r pethau ysgrifenedig am dani. Mae yn ddïau nad aeth odid neb o'r wlad hon i ymweled â'r gwledydd dyddorol hynny wedi ymgymhwyso yn well nag ef ar gyfer gwneud y defnydd goreu o ychydig amser ynddynt. O'r diwedd fe ddaeth y cyfle, yn y flwyddyn 1882; ac yng nghwmni dau o'i frodyr yn y weinidogaeth, a chyfaill o flaenor, fe aeth am dro i'w gweled. Ni raid dweyd iddo fwynhau y daith yn ddirfawr, a chael mesur helaeth o ysbrydiaeth newydd drwyddi. Yr oedd gwrando arno yn adrodd yr hanes, a desgrifio y pethau a welodd, yn hyfrydwch gwirioneddol. Yn y flwyddyn 1896 fe fu ef a'i briod (yr hon oedd gydag ef yn yr America hefyd)

yn treulio rhai wythnosau yn yr Eidal, lle y teimlent yn barod i ddweyd, fel Heber am Ceylon (gyda "*where*" am "*though*"),—

> "Where every prospect pleases,
> And only man is vile."

Mor falch oedd yr hen gyfaill o gael gweled Rhufain aml ei chofiannau, ond mor brudd yr olwg ar gymaint o falldod Pabyddiaeth!

Yr oedd mor adnabyddus ac uchel ei glod fel llenor ag ydoedd fel pregethwr, os nad hyd yn nod yn fwy. Nid swm yr hyn a ysgrifennodd a'i gwnaeth yn wr mor enwog yn y byd llenyddol, ond ei ansawdd a'i arddull. Fe gynyrchwyd llawer mwy gan aml un o wŷr llên na chyrhaeddodd ei fri ef. Y pethau trymaf a ysgrifennodd efe ydyw ei erthyglau darllenadwy yn *Y Gwyddoniadur*, ei ran o esboniad *Beibl y Teulu*, a'i esboniad gwych (a gyhoeddwyd yn llyfr gan ei Gyfundeb) ar Lyfr y Barnwyr. Yn Hydref, 1897, cyhoeddodd Mr. W. Gwenlyn Evans lyfryn o ystorïau dirwestol o'i waith, yn dwyn y teitl *Cibbroth-Hattaafak, yn nghydag Ystorïau eraill*. Y mae y pethau hyn oll yn rhagorol o dda; ond ei ysgrifau amrywiol i wahanol bapurau a chylchgronau a dynnodd fwyaf o sylw, ac a'i gwnaeth yn adnabyddus ac enwog iawn fel llenor. Ynddynt hwy y ceir mwyaf o'i ddawn ac o nwyfusrwydd ei feddwl yn dyfod i'r golwg. Ynddynt hwy y gwelir amlycaf ei ystorfa fawr o eiriau ac ymadroddion detholedig, a'i feistrolaeth nodedig ar Gymraeg llenyddol. Fel y dywed *Y Cymro*, "Ysgrifennai mewn arddull ddeniadol; ac yr oedd ei Gymraeg ystwythed a gwïail helyg." Fe ddarllennodd lawer, mewn awchus fwynhad, o'r hyn a elwir yn "*fine writing;*" ac fe ymbleserai lawer mewn rhoi bod ei hunan i *fine writing*. Peth arall a fwynhai yn rhyfedd wrth ddarllen oedd doniolwch fflangellol a chondemniol, yr hyn a roddai gyfrif, i fesur mawr, mi gredaf, am y duedd oedd ynddo i ymollwng cymaint ei hunan weithiau i ysgrifennu doniolwch felly. Y fath hwyl a gafodd

filwaith wrth afonydd ysgubol dawn Dr. Johnson, Carlyle, John Ruskin, Elis Wyn o Lasynys, a Goronwy! Yr oedd yntau, fel rhai o'r enwogion hyn, os nad yr oll, yn casau "*cant*," a "Philistiaeth," a phob math ar dwyll a rhodres, â châs mawr; ac nis gallai ymatal rhag ysgrifennu pethau llym a deifiol o berthynas iddynt. Fe deimlid gan lawer fod ei fflangell yn rhy drom a chylymog wrth drin rhai personau a phethau; a mwy na thebyg y teimlai yntau ymhen amser ei fod wedi rhoi ffordd i'w ddawn i or-wneud ei waith rai prydiau. Ac y mae yn ddiamheu ddigon fod mwy o afiaeth chwarëus nag o ddim arall yn ei gymhell i ysgrifennu llawer o'r pethau llym-ddoniol a ysgrifennodd. Yn erthygl goffadwriaethol *Y Goleuad* ceir dywediadau fel hyn yn ei gylch:—"Darllennodd waith Carlyle gyda dyfalwch mawr yn nechreu ei fywyd cyhoeddus, ac yfodd yn helaeth, feallai yn rhy helaeth, o'i ysbryd ef. Yn rhai o ysgrifeniadau Mr. Jones gwelwyd cryn lawer o'r un ysbryd ag a geir yn '*Reminiscences*' Carlyle, pan yn beirniadu y personau y daw i gyffyrddiad â hwynt. Y mae pob un o'r ddau yn fwy o geryddwr a fflangellwr llenyddol nag o feirniad. Clywsom un yn yn gwneud y sylw mai Mr. Jones oedd y tuchanwr *(satirist)* goreu a feddem fel cenedl; os gellir galw Carlyle felly, rhaid ei gyfrif yntau yr un modd. Yr oedd y ddau yn feistriaid ar watwareg; ond fe dybiai rhai fod honno yn rhy fynych yn rhy lym i gyrhaedd ei hamcan, a'i fod yn rhy bersonol wrth ymosod ar feiau cyffredinol." Wrth gyfeirio at hyn mewn llythyr, dywed y Parch. Owen Evans, Minneapolis (Colwyn Bay gynt):—"Cyffelybid ef yn *Y Goleuad* i Carlyle fel *satirist*. Tybiwn i ei fod mor bell a'r pegynau oddiwrtho mewn tymher. Yr oedd mewn sirioldeb, a'i duedd gymdeithasgar, a'i ddawn ymddiddanol, yn llawer tebycach i Coleridge, er y buasid yn ei osod o'i le pe meddylid am ei roddi yn gyfochrog â'r cyfryw ddynion." Nid oes modd amheu fod llawer o ôl cymdeithasu â'i hoff awdwr Carlyle ar ein hen gyfaill, fel fflangellwr llenyddol; ond fel y dywed Mr.

Evans, yr oedd yn ddyn gwahanol iawn i Carlyle o ran natur; a gellir ychwanegu fod llawer mwy o ddireidi yn ei ddwrdio, gan amlaf, nag yn nwrdio "Tomos." Fe fuasai yn gwneud ysgrifennydd prif-erthyglau gwych i newyddiadur teilwng o hono,—ac fe fuasai yn mwynhau y gwaith.

Ei sel ym mhlaid sobrwydd a phurdeb a barodd i Goleufryn ysgrifennu yr ystorïau crybwylledig. Fe barai y diotta a'r meddwi mawr a welai ymhob lle ofid a thristwch gwirioneddol iddo; ac fe wnaeth ei ran yn egnïol yn erbyn y drwg. Felly yn erbyn pob drwg. Nid yn unig fe gofiai ei ddyledswydd fel cennad Duw a gwas i Grist, ond yr oedd hefyd yn ddyn mor bur o duedd ac o fywyd, fel y sylwai ei olynydd yng Nghaergybi, ddydd ei angladd, nas gallasai lai nag ymdrechu o blaid pob purdeb a rhinwedd. Ac yr oedd ei egni a'i fywyd glân yn elfen gref er daioni ymhob lle y bu yn aros ynddo.

Wedi ei ddyfod i Gaernarfon yr oedd ei nerth a'i ynni yn pallu i'r fath raddau fel nad allai gymeryd rhan mor flaenllaw gyda symudiadau da ag a fu yn gymeryd; ac nid ychydig o ofid distaw a barai hyn iddo.

Fe ymdrechodd yn ddewr yn erbyn yr afiechyd oedd wedi gafael ynddo, ac ymegnïodd fel gwron i wneyd ei waith drwy bobpeth. Y mae meddwl am ei grwydro awyddus o fan i fan i geisio adennill nerth, a'i benderfynolrwydd gyda'i ddyledswyddau, yn ystod ei fisoedd olaf ar y ddaear, yn feddwl sydd yn cyffwrdd teimlad dyn yn effeithiol, ac yn mwyhau edmygedd dyn o hono i fesur tra mawr. Yn Llandeilo y bu yn pregethu y tro olaf —ryw ddeufis cyn ei farw. Gan ei fod wedi addaw myned i'r Deheudir am rai Sabbothau ym Mai a Mehefin, fe aeth i Landrindod, a Mrs. Jones gydag ef, gan ddisgwyl graddau o adferiad. Oddiyno aeth i Landeilo, ar yr 21ain o Fai, i gyfarfod pregethu ag yr oedd wedi addaw cymeryd rhan ynddo. Er ei fod yn llawer rhy wan a llesg i ymgymeryd â'r fath dasg, myn'd a fyn-

nodd; ac fe bregethodd ddwywaith y Sabboth a dwywaith y Llun, gydag effeithiolrwydd cofiadwy. Rhoddaf yma ran o'r hanes tarawiadol a anfonodd y Parch. John Davies, gweinidog Llandeilo, mewn llythyr i Mrs. Jones ar ol marwolaeth ei phriod. Medd Mr. Davies:—

Boreu Llun, pan nad oedd ond cynulleidfa fechan mewn cydmariaeth, cafodd odfa nad anghofir byth mo honi. Yr oedd ef ei hun, wedi d'od i lawr o'i ystafell, yn teimlo lawer yn well, ac fel yn aiddgar iawn i weled yr adeg i fyn'd i'r pwlpud wedi d'od: ac wrth ddweyd wrtho ei fod yn edrych lawer yn well dywedodd Mrs. Davies am iddo ei chymeryd yn weddol dawel—am fod yn debyg na byddai cynulleidfa fawr yn y boreu. "O," meddai, yn llawn bywyd, "mae yn rhaid i mi fod ar fy ngoreu yn pregethu." Ac yr oedd felly: yr oedd pawb yn teimlo fod y Meistr Mawr yn agos iawn ato, a'r odfa yn un o'r rhai hynny y carem eu gweled yn amlach—y naws a'r eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnnw mor amlwg arni, fel nad all'sai neb amheu y presennoldeb Dwyfol—pawb o honom wedi ymgolli yn nylanwad ei weinidogaeth, ac yntau yn pregethu gyda rhyw nerth corph ac ysbryd ag oedd yn ein taro â syndod. Hanes y disgybl Thomas oedd ganddo—ar ei Sul o absenoldeb—ei wythnos o amheuaeth—a'i Sul o adferiad. Odfa wlithog iawn ydoedd, a'r dagrau yn rhedeg yn hidl o lawer llygad, yn neillduol wrth iddo son am y disgybl yn cael ei adfer.

Ond yn ei odfa olaf nos Lun—a'r odfa olaf am byth yma—daeth ei ddifrifwch i'r golwg mewn modd nas gwelwyd ef yn debyg erioed. Pregethu yr oedd oddiar y geiriau hynny yn Numeri xxi. 10, 11—"A meibion Israel a gychwynasant oddi yno, ac a wersyllasant yn Oboth. A hwy a aethant o Oboth, ac a wersyllasant y'ngharneddau Abarim, yn yr anialwch, yr hwn oedd ar gyfer Moab, tua chodiad haul."—Ac erbyn hyn mor darawiadol, onide, oedd ei gyfeiriad at y wlad well fel gwlad codiad haul! Yr oedd yn hynod wan o ran corph, ond mor ddwfn a dylanwadol ydoedd ei ddifrifwch fel nad anghofir byth yr olwg ar y gynulleidfa yn ymestyn fel ag i beidio colli un gair, ac mor ddwys y teimlai ef ei hun fel y gwnaeth sylw na ddilëir byth mo hono oddiar feddwl neb o honom. "Wyddoch chwi, gyfeillion anwyl," meddai, "fel yr ydwyf yn nesu i dragwyddoldeb, yr wyf yn d'od i deimlo yn fwy byw o hyd mai peth difrifol iawn yw pregethu yr efengyl;" a chyda hyn gwelem ei lygaid wedi eu llanw, ac yn disgleirio gan ddagrau, nes yr oedd y gynulleidfa wedi ei gwefreiddio trwyddi; a gadawodd ni yn yr olwg gysurlawn a gogoneddus iawn ar ofal y Gwaredwr yn ein harwain,—er gorfod gwersyllu yn ngharneddau cystudd a phrofedigaethau Abarim, ac yn rhosydd Moab, wrth yr Iorddonen,—eto yn ein harwain yn sicr a diogel tua chodiad haul.

Dychwelodd i Landrindod drannoeth, yn well ei olwg; a bu yno hyd y dydd cyntaf o Fehefin. Yn agos i ddiwedd Mehefin meddyliodd y gallai ychydig ddyddiau yn Llanbedr, Meirionydd, beri lles iddo; ac aeth ef a'i briod yno. Ond buan y bu raid dychwelyd adref—*adref i farw*, fe deimlai yn sicr. O! ïe, *adref* i farw: yr oedd yn rhaid cyrchu yn ol yno, er mor anhawdd, erbyn hyn. Yr oedd yn ymwybodol er's cryn amser fod y diwedd yn prysur nesau; ac ar ambell awr yr oedd yn llawenhau yn yr olwg ar hynny. Yr wyf yn deall—a hawdd yw coelio hynny—fod ei breswylfod yn lle hyfryd, er cymaint ei brudd-der, trwy ystod ei ddyddiau olaf. Er dirdyniadau ei afiechyd gerwin, yr oedd ef yn foddlon a gorfoleddus; ac yr oedd y tŷ yn cael ei lanw gan dawelwch sanctaidd a phêr-aroglau'r wlad ag yr oedd wedi ei ddwyn i'w hymyl. Yr oedd yno fwy o ganu nag o alaru: ac efe ei hun ddechreuai'r gân! Yn swn canu emyn hoff—ag y canai yntau, er yn wan, hyd ei bennill olaf—yr ehedodd ei ysbryd i'r Ganaan bur a aeth a'i fryd. Ar fore yr 11eg o Orphenaf, 1898, y bu hyn, ag efe yn fab 58 mlwydd oed. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus, ym mynwent gysegredig Caeathraw, ger Caernarfon, lle erbyn hyn y mae gweddillion cryn nifer o enwogion y ffydd.

Mae yn chwith meddwl fod Goleufryn wedi myned ymaith; ac y mae Cymru ar ei cholled o'i fyned. Pa ddiffyg bynnag a berthynai iddo, pa gamgymeriadau bynnag a wnaeth,—a phwy sydd heb ei ddiffygion a'i gamgymeriadau?—fe fydd ei goffadwriaeth yn fendigedig ar y ddaear dros amser hir. Ac ni raid i neb ofni na bydd i'r Duw a wasnaethodd ef a hithau mor egniol a ffyddlon, fod yn dirion wrth ei briod, a barchai ac a garai ef mor fawr.

# Braslinelliad.

*(Yn "Y Genedl Gymreig," Gor. 28, 1886).*

---

*VII.*

**Gan ELFYN.**

O RAN ei ddyn oddi allan, nid oes dim yn rhif 8 i dynnu sylw arbennig. Nid yw yn ŵr corphorol a chadarn. Tuedda at fod yn dal. Arweinia y crymiad sydd yn ei war ni i dybied ei fod yn eistedd llawer i ddarllen ac ysgrifennu. Y mae yn llawn deugain mlwydd oed. Y mae yn ŵr prydweddol, o wneuthuriad cymhesur drwyddo. Y mae ganddo lygad cyflym a siriol, ac arwyddocaol o dalent, a phâr i ni gasglu oddi wrtho ei fod yn foneddwr hawdd siarad âg ef. Gwelir ar unwaith oddi wrth doriad ei enau y rhaid ei fod yn siaradwr naturiol a rhwydd. Y mae ei dalcen yn glir a llawn, ei wallt yn wineu a lled deneu wrth natur. Y mae bellach wedi rhoddi heibio eillio unrhyw ran o'i wyneb. Gan fod diffyg yn ei olwg, y mae yn ymofyn cymorth celfyddyd i'w wneud i fyny. Gwisga bob amser yn drwsiadus a glân. Y mae ei gerddediad yn tueddu at fod yn gyflym. Ymddangosa ac ymddyga bob amser fel boneddwr. Nid ydym, er ys tro bellach, wedi digwydd ei weled mewn ffunen wen; yn hytrach, boddlona ar gadach du syml a destlus. Ond, er nad yw y nod gweinidogaethol hwn ganddo, y mae yn lled hawdd casglu oddi wrtho i ba radd a dosbarth y perthyna. Nid oes dim o rodres coeglyd y

dyddiau diweddaf hyn ynddo. Nid yw yr ysgrepan fach ddu boblogaidd ac arwyddocaol honno yn beth hollol angenrheidiol iddo o nos Sadwrn hyd fore Llun. Ni welir ef byth yn cerdded yn bensyn a meudwyaidd at orsaf y rheilffordd, ar ddiwrnod tesog o haf, gyda gwlawlen yn ei law, a chôb uchaf auafaidd ar ei fraich. Os bydd arno eisieu côb, rhydd hi am dano. Y peth tebycaf i fod yn ei law ydyw llyfr.

Y mae yr un amddifadrwydd o rodres yn ei nodweddu yn y pwlpud. Nid oes ganddo dôn hirlaes, difrifwch Puritanaidd, nac arafwch ffugiol. Myned i'r pwlpud i weithio, ac nid i gael ei weled, y mae. Gwedda pob goslef ac ystum iddo. Siarada gyda naturioldeb a hylithredd na chlywir ei gyffelyb ond yn anfynych yn ei enwad. Nis ymdraffertha i gyflwyno ei frawddegau gyda phwyslais diangenrhaid a pheswch ffugiol. Ni ddechreua ei bregeth gyda distawrwydd mursenol, gan ei diweddu gyda bloeddiau brawychus. Siarada yn eglur a rhwydd; ac fel yr ymdwymna gyda'i bwnc, ac y dena ei wrandawyr, bydd ei lais yn uchel a chlir; ond ni fydd un amser yn gwaeddi. Peidiasai a bod yn bregethwr naturiol y foment y dechreuai floeddio. Nid yw o gwbl ymysg y pregethwyr hynny sydd oherwydd tlodi eu meddyliau yn gorfod trethu eu cyrph i geisio gwneyd cochl i'w cuddio. Y mae yn un o siaradwyr cyhoeddus goreu ei enwad. Gall siarad ar unrhyw fater y disgwylid i weinidog o safle bwysig siarad arno, yn hollol ddifyfyr, gyda rhwyddineb a medrusrwydd. Pe yn angenrheidiol gallasai bregethu yn ddifyfyr. Y mae ei lais yn beraidd a dymunol. Nid yw yn nerthol, ond y mae yn eglur. Trinia ei fater gyda deheurwydd arbenig. Nis ymddengys byth yn y pwlpud heb fod yn feistr ar ei bwnc. Efallai na pherthyna i un dosbarth arbenig o bregethwyr, yn ol fel y byddwn ni, y Cymry, yn eu rhestru. Sonia Gilfillan yn ddawnus yn un o'i lyfrau am wahanol ddulliau o bregethu:—yr arddull testynol, yr arddull celfyddydol, yr arddull dadleuol, yr arddull ymarferol, yr arddull trystfawr, yr arddull

blodeuog, &c. Ni pherthyna pregethau ein gwrthrych yn gyfangwbl i'r un o'r arddulliau yna. Y mae ei ddoniau amryfal yn ei gadw rhag i ni allu ei restru mewn rhyw un dosbarth neillduol. Bydd bron ym mhob pregeth yn esboniadol, yn hanesiol, yn farddonol, ac yn gyfeiriadol. Níd yw o dan orfodaeth i ddynwared neb; y mae ei adnoddau yn rhy helaeth i ganiatau iddo ymostwng i hynny. Y mae bob amser yn taro yr hoel adref gyda chydmariaethau. Y mae ganddo chwaeth mor orphenedig fel nad yw byth yn defnyddio yr un gair amhriodol. Y mae ei ddychymyg yn anturiaethus, ond nid yn ddi-lywodraeth. Y mae ganddo allu arbenig i ddesgrifio. Clywsom ef yn darlunio golygfeydd naturiol gyda manylrwydd Wordsworth ac arddunedd Shelley. Gall fod yn farddonol heb fod yn farddonllyd. Gwisga wirioneddau cyffredin ond mawrion yr Efengyl, nes eu gwneud yn ddeniadol a dymunol i'w derbyn. Y mae ganddo ddychymyg iach: nid y chwyddiaeth heintus hwnnw sydd yn anurddo cynifer o bregethwyr a siaradwyr cyhoeddus wrth geisio bod yn farddonol. Nid oes berygl iddo ferwino clust y chwaethus, na brawychu Israel Duw, drwy son am "dragwyddoldebau hudduglyd, brwmstaneiddiwch y bydysawd uffernawl," na son am "Great Eastern y Duwdod yn glanio ei theithwyr yng ngogoniannau perlewygawl y baradwys fry." Y mae yn gallu ystyried pethau o'r fath yn annheilwng, hyd yn nod o ddychymyg crachaidd disgybl yspas wedi ynfydu. Darfelydd yn cael ei reoli gan chwaeth goethedig ydyw eiddo ein hawdwr. Ymddengys ger ein bron mor bur a phe bai yn ymolchi mewn gwlith ac yn anadlu mewn enfys.

Fel duwinydd, y mae yn feddiannol ar olygiadau llydain a rhyddfrydig; ond y mae wedi darllen gormod i gymeryd ei arwain gan bob awel dysgeidiaeth. Nid yw yn gwastraffu ei amser i ddyfeisio athrawiaethau newyddion, nac i ddibrisio yr hen. Nid yw am *wneud* deddfau, gwell ganddo eu *dangos*. Y mae ganddo galon i deimlo yn gystal ag ymennydd i greu. Nid tincera ei

bregeth, ond ei chyfansoddi, a wna. Nid boddhau cywreinrwydd, ond achub enaid, yw'r peth pwysicaf ganddo. Nid trefnu gwledd i gynhyrfu'r meddwl a wna, ond darparu meddyginiaeth i wella'r galon. Y mae am i ddyn gael goleuni, nid yn unig yn y nefoedd, ond ar ei ffordd yno. Fel bugail, y mae ein gwrthddrych wedi profi ei hun yn dra llwyddiannus. Dechreuodd ei yrfa fugeiliol ar eglwysi bychain mewn ardal wledig a dinod. Oddi yno galwyd ef i weinidogaethu ar eglwys fawr y tu allan i'w sir ei hun. Gweithiodd yn dra effeithiol yn y lle hwnnw am saith mlynedd. Byddai ei gapel mawr yn llawn bob amser pan fyddai ef yn llanw ei bwlpud. Deuai cymeriadau mwyaf annuwiol y dref i'w wrando. Pan yn gweinyddu ar gladdedigaethau (i'r hyn orchwyl y gelwid arno yn fynych) deuai pobl o bob enwad i'r fynwent, a chyda hwy feddwon a dyhirwyr, i ddim ond i'w glywed ef yn annerch ac yn gweddïo. Efe oedd y gweinidog mwyaf poblogaidd a fu yn y dref honno erioed. Y mae bellach er's tua chwe' blynedd yn weinidog dylanwadol ar eglwys fawr a phwysig arall. Cafodd alwad yn ddiweddar i fyned i fugeilio eglwys ag y bu un o brif feddylwyr ein cenedl yn weinidog arni. Buasai yn gwneud olynydd teilwng, ond gwrthod yr alwad a wnaeth.

Y mae yn llawn o elfenau poblogrwydd y tu allan i'r pwlpud. Y mae yn ŵr cymdeithasol iawn: yn ddifyrus mewn cwmni. Y mae yn ysgwyd ffug-buritaneiddiwch sancteiddsych ymaith oddiwrtho. Gall siarad am rywbeth heblaw am grefydd. Y mae yr ystôr o wybodaeth sydd ganddo yn ei wneud yn gydymaith dymunol iawn. Y mae yn hollol rydd oddiwrth ragfarn a chenfigen.

Nid yw gwrthrych ein hysgrif, fel rheol, yn rhy awyddus am gymeryd unrhyw ran arbennig yng nghynadleddau ei gyfundeb: y mae i raddau helaeth yn gadael trefniadau a mân-ddadleuon i ddynion llai nag ef ei hun. Nid yw erioed wedi cyflawni yr anffawd o arwain plaid.

Yn ei dŷ y mae yn foneddwr croesawgar a siriol; yn ymgomiwr diddanus ac adeiladol. Y mae ganddo lyfrgell odidog; y mae felly nid yn unig oherwydd ei maint, ond yn neillduol oherwydd ei gwerth. Y mae yn llawn o weithiau duwinyddion, athronwyr, beirdd, a llenorion, pennaf Ewrop ac America. Nid llyfrau i'w dangos ond i'w defnyddio ydynt. Y maent ar waith yn ddibaid. Y mae ein gwrthddrych yn ddarllennwr di-ail. Medda gof rhagorol. Gall gofio sylwedd llyfr cyfan ar ol ei ddarllen unwaith. Y mae yn neillduol o hyddysg mewn hanesiaeth—y mae hon yn gangen o wybodaeth hoff iawn ganddo. Y mae yn drwyadl gydnabyddus yn holl faes eang a dyddorol llenyddiaeth Seisnig. Y mae gweithiau prif feirdd y Saeson wedi eu darllen a'u hyfed ganddo. Y mae yn fardd ei hun—yn fardd rhagorol. Er's blynyddau yn ol cyfansoddai benillion ac englynion yn rhwydd; ac os ydyw wedi rhoddi hynny heibio, nid yw wedi peidio bod yn fardd. Nis gall beidio bod yn fardd: y mae ei farddoniaeth i'w chael yn ei bregethau a'i ysgrifau. Gan ei fod yn hollol rydd oddi wrth drafferthion bydol, y mae yn cael hamdden ddymunol, yn awr ac eilwaith, i lenydda. Y mae yn cymeryd trafferth gyda'i lenyddiaeth. Adwaenom ambell weinidog a chwysa bob dydd wrth drin y byd, tra na chyll ddyferyn o chwys unwaith mewn blwyddyn yn ei lyfrgell na'i bwlpud. Nid un felly yw y llenor y cyfeiriwn ato—y mae am roddi enaid ym mhob peth a wna. Ond er y cymer lawer o drafferth i feddwl a chwilio pan yn cyfansoddi, eto mae ei ysgrifau yn hollol rydd oddi wrth anystwythder yr anghynefin ac aneglurder y palfalydd. Nid oes arogl olew canolnos ar ddim a wna, ac y mae sychder Gilboaidd yn beth annaturiol iddo. Y mae ganddo ddull arbennig iddo ei hun ymhlith ysgrifennwyr Cymru. Byddai yn hawdd adnabod ysgrif o'i eiddo heb iddo roddi ei enw wrthi—cyhuddid ef yn ei arddull. Gall ddefnyddio geiriau a brawddegau Cymreig "hen ffasiwn" gyda deheurwydd y cyfarwydd. Y mae yn sicr iddo ymbleseru llawer gyda llythyrau ardderchog

Goronwy Owain, y Prydydd Hir, &c. Y mae iddynt ran arbenig yn ffurfiad ei arddull. Ni fuasem yn hoffi gweled pawb yn ceisio ysgrifennu yr un fath ag ef, gan y gwyddom mai ychydig a lwyddasent i wneud hynny. Byddai raid iddynt fod yn ddynwaredwyr yn hytrach na meistriaid. Y mae dau brif gyhoeddiad y genedl wedi eu breintio, o dro i dro, âg ysgrifau o'i eiddo; ac y mae gennym obaith cryf y cawn weled llawer eto. Er ei fod fel hyn yn llenor o radd uchel, nid yw yn Eisteddfodwr. Yr Eisteddfod, ac nid efe, a golledir oherwydd hyn. Nid yw o gwbl yn euog o chwenychu clodforedd Eisteddfodol. Y mae yn fwy o lenor a gwladgarwr ddengwaith na llawer un sydd yn anmharu ei beiriannau llafar wrth waeddi, "A oes heddwch?"

Cyn terfynu, gallwn nodi fod gan Rhif 8 gymeriad gloew a dilychwin. Nid crefydd ymddangosiadol a thrystfawr sydd ganddo. Nid yw yn tynnu gwyneb hir, ac yn "pletio gwefl," chwedl Talhaiarn. Y mae ei grefydd yn caniatau hoen a sirioldeb iddo. Nid angel heddyw ac anghenfil yfory mohono: y mae "cuddiedig ddyn y galon" ynddo ef wedi ei addurno â phrydferthwch santeiddrwydd. Y mae miloedd gyda ni yn dymuno iddo oes hir, gyda llawer o ddedwyddwch a llwyddiant ynddi.

# Englynion.

---

**Gan ALAFON.**

HIRAETH ynof sy'n gofyn—a'i rŭ'n daer,
Onid yw Goleufryn?
Roed i'w yrfa wir derfyn?
Heddyw mwy hawdd *amheu* hyn.

Bywiog, ieuangc, bob gewyn—onid doe
Oedd ein teg Oleufryn.
Anghoeliaf, Angau elyn,
Gloi'r ddôr ar fath ddisglaer ddyn.

Ond cofio raid y cyfrodiaw—araf
Hyd erw Caeathraw,
A'r dwyster uwch lle'r distaw
Omerydd, a'r lonydd law.

Do, tawodd, peidiodd y pêr—lais denol
Estynai'r fath bleser:
Yno tŷn yw'r dawn tyner
Lifai'n dwym fel afon dêr,—

Y dawn a ffrydiai ini—mewn ymgom
Yn amged ac yni,—
Y dawn pur geid yn peri
Gweled y nef o'n gwlad ni,—

Y dawn rhwydd fu'n dwyn rhoddion—cariad Iôr,
Mewn cred iach, i dlodion,—
Ddygai newydd egnïon,
Loywai'r bryd, i lawer bron.

Do, prudd son! aeth yn llonydd—y llaw oedd
Er lles ar waith beunydd,—
Y llaw i hoen y llenydd
Mirain roed fel morwyn rydd,—

Llaw gyfoethogodd ein llên—â chynnyrch
O anian ddiamgen,—
Nwyddau hoff newydd a hen
Ystôr hael y gwas trylen.

Hael awdwr uchel ydoedd,—a chennad
Gwych, anwyl y Nefoedd.
Yma'n glir uwch ein tiroedd,
A'i fri'n wych, *goleufryn* oedd.

Tawel huned dy lenor,—hardd fynwent
Urdd-fonedd ein goror!
Gweli Di, is gwawl Duw Iôr,
Ei degwch ddydd dy agor.

# Penillion.

---

**Gan y PARCH. J. T. JOB.**

I.

G*OLEU*-FRYN—oedd ein cyfaill cu:
Ac O! mor chwith rho'i amlen ddu
I'w gerdyn coffa. Treuliodd ef
Ei oes dan weddnewidiad Nef.

II.

Bu llygad Cymru'n syllu'n sŷn
Ar heulwen Duw'n taenellu'r *bryn;*
Ac yn ei lewyrch rhodiai hi
Ym mlaen i'w hetifeddiaeth gu.

III.

O fwyn Oleufryn! genad hedd,
Dy bregeth oedd yn felus wledd;
A'th ddawn fel gorfoleddol win
O windy Duw yn golchi'th fin.

IV.

O lenor hyfedr, coeth, a llawn,
A'th bin fel cledd o blaid yr iawn;
Ti holltaist ben Philistiaeth gwlad
A'i ffolinebau,—pwy a wâd?

V.

Ti dreuliaist oes o lafur llwyr,
A gorffen wnest cyn gweled hwyr;
A phan gyrhaeddaist fin y glyn—
'Roedd *goleu* 'r Nef yn llenwi'r *bryn*.

VI.

Mor hyfryd marw yn y dydd,
Dan ddisglaer weddnewidiad ffydd!
Mor hyfryd esgyn Pisgah oes—
A'r bryn yn wyn dan wawl y Groes!

VII.

Oleufryn fad, mewn Gwlad ddi-glwy'!
Ni weli 'r haul yn machlud mwy;
Dy enw byth gaiff bara'r un—
O dan ganolddydd Duw Ei Hun.

# Gweithiau Llenyddol.

---

## SASSIWN PWLLHELI, 1867.

*(Desgrifiad o'r pregethu).*

AR ol i'r gwasanaeth dechreuol fyned trosodd, y mae dyn lled ieuanc yn wynebu y dorf. Y mae yn rhoddi yr emyn allan gyda llais sych, ond hyglyw. Y mae ei ymddangosiad yn arddangos penderfyniad a gwroldeb; a gallasem yn hawdd ddyfalu wrth edrych arno mai un wedi gorchfygu anhawsderau ydyw, ac wedi dringo i fyny yn nerth ei ddyfalbarhad ei hunan. Y mae ganddo wyneb lluniaidd ac agored; talcen yn cyfleu y drychfeddwl o gyflawnder; ac oni bai ein bod yn gwybod fod ganddo amgen gwaith, gallasem dybio ei fod yn cymeryd peth trafferth gyda chyrion uchaf ei fodolaeth. Yr oedd y bregeth hon yn un o'r rhai mwyaf gafaelgar a glywsom ganddo—yn llawn o fater, a hwnnw y mater oedd yn y testyn, ac nid dim arall. Y mae yn ieithwr da, a chanddo gyflawnder o bob math o eiriau at ei wasanaeth; ac fe grynhoa ei enau weithiau gan wasgu allan ambell i hen air Cymraeg, ac yna fe'i chwyrnella gyda nerth i ganol ei wrandawyr. Y mae yn draddodwr grymus a nerthol; ond y mae ei lais mor oer a phe buasai wedi ei bractisio rhwng ceunentydd o rew yn y pegwn gogleddol. Oni bai hyn, buasai yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd o'i oedran heddyw; ond pe buasai ganddo bob cyfaddasrwydd i fod

yn boblogaidd, y mae yn amheus gennym a fuasai efe hanner mor feddylgar—oherwydd y mae tuedd yn y rhai hynny sydd wedi eu cynnysgaethu â llais, a dull i foddhau y werin, i ymfoddloni ar fod yn ddim amgen na chwibanogl dimai i berori i glust y lluaws. Nid oes neb yr ydym yn ei edmygu yn fwy yn amrywiaeth a chyflawnder ei dalentau. Y mae yn Drefnydd campus —fel wedi ei dorri allan i fod yn *man-of-business* i'r Cyfundeb. Y mae yn llenor cyflawn. Am allu i adolygu rhyw *character* llenyddol enwog, ac ymdeimlo â'i fawredd, nid rhaid iddo roi i fyny i'r un llenor Cymreig; ac ni a wyddom mai nid un na dau o fechgyn Cymru a symbylwyd ym mlaen ganddo yn ei erthyglau galluog ar "John Foster" a'u cyffelyb. Nid ydyw yn fardd ei hunan, ond fel y dywedodd Coleridge am dano ei hunan, felly gall yntau ddywedyd—ei fod yn ymdeimlo â mawredd barddoniaeth. Er nad ydyw yn eryr yn ei ehediadau uchel, eto y mae yn estrys wedi ei gynnysgaethu âg adenydd, ac felly yn meddu teimlad hedfanol. Nid ydyw ef yn ceisio *gwthio* ei farddoniaeth i sylw ei wrandawyr, ond y mae yn dyfod i'r golwg yn ei bregethau yn hollol anymwybodol iddo. Y mae rhai (ond nid gyda'r Methodistiaid, o drugaredd) yn ymdrechu i wthio eu tipyn barddoniaeth i'w pregethau, nes myned yn wrthddrychau tosturi i'r chwaethus. Yn eu hawydd am fod yn farddonol (?), oherwydd methu cael meddyliau barddonol y maent yn ceisio bathu geiriau o ymddangosiad barddonol. Os byddant yn darlunio "afon," rhaid dyweyd ei bod yn "afoni," a "chareg" yn "carega;" ac os daw meirch i rywle yn y bregeth, rhaid dyweyd eu bod yn "farchwyllt, gan dorchi y ddaear dywarchawg"—a hyn oll yn cael ei dywallt am ben pechaduriaid hanner synedig, yn lle efengyl. Gymru! Gymru! ai hyd yma yr wyt eto? Hir y byddo y Cyfundeb Methodistaidd yn amddifad o'r cyfryw.

Ar ei ol dacw un o gewri y weinidogaeth Gymreig yn codi i fyny. Hwyrach ei fod yn cyfuno y meddylgar a'r poblogaidd yn fwy nodedig braidd na neb. Y mae

ei ymddangosiad yntau yn amlygu gwroldeb anghyffredin, ac y mae ei brydweddiad tywyll, ei aeliau mawrion trymaidd, ac yn neillduol ei lygaid tawel a dwfn, yn rhoddi agwedd fyfyrgar iawn iddo. Y mae yn nodedig am goethder ei iaith, a'i ddull pwysleisiol o dorri rhai geiriau, ac o bwyso ar rai llythyrennau; ac ymddengys hen eiriau cryfion y Gymraeg a'i enau yntau wedi eu *suitio* i'w gilydd, ac yn ffrindiau mawr â'u gilydd. Y mae yn darllen ei destyn yn araf, a chyda llais ag sydd yn llawn o felodedd dwfn a soniarus. Y mae ei destyn yn cynnwys mwy nag un adnod, ac yr ydych yn cael eich taraw ar unwaith gan amrywiaeth y testyn, ac yn barod i ofyn i chwi eich hunan, "Pa beth a all efe ei wneud o'r fath destyn eang mewn mor ychydig o amser?" Ond cyn nemawr o fynydau, dacw nodwedd neillduol ei feddwl ef yn d'od i'r golwg, sef y *gallu i unoli*—i weled rhyw un egwyddor yn ddigon mawr i daflu unoliaeth i ganol yr amrywiaeth mwyaf. Er mor fawr oedd ei destyn, ac er mor eang ac amrywiol y gwirioneddau a gynnwysai, eto dacw fe wedi cael yr *un* ymysg y lluaws —wedi taraw ar wirionedd sydd yn ddigon mawr i briodi yr holl wirioneddau ereill mewn undeb, sef "fod mawredd yr iachawdwriaeth yn cael ei brofi oddiwrth y sylw a delid iddi gan y creaduriaid galluocaf yn llywodraeth Duw." Y mae gan y Cyfundeb bregethwyr enwog hollol wahanol yn nodwedd eu meddyliau iddo ef. Y mae arbenigrwydd y rhai hynny yn d'od i'r golwg yn eu manylrwydd, a'u gallu i ddadansoddi gwironedd i'w elfenau cynhenid, ac yna cymeryd mantais i edrych arno felly; ond ei brif nodwedd ef ydyw ei fod yn meddwl ar raddeg eang iawn—yn ymsymud ymlaen gyda mawrhydi, ac yn cael gwarogaeth i'r gwirionedd heb ei elfennu yn fanol. Nid ydym yn cofio ini ei glywed erioed yn fwy nerthol nag ydoedd y tro hwn, ac y mae yn dra thebyg mai hon ydoedd y bregeth fwyaf nerthol yn y Gymanfa.

Am ddeg bore ddydd Gwener, er nad oedd y tywydd mor hynod o gysurus, eto cafwyd moddion cysurus iawn. Ar ol i un o'r rhai mwyaf hynod ac athrylithgar yng

Nghymru ddechreu yn bur afaelgar, cododd i fyny ŵr corfforol a golygus, braidd yn tueddu at fod yn basgedig felly. Y mae ganddo bresennoldeb da, a'i ymddangosiad yn dangos yn eglur ei fod ym mhrydnawngwaith bywyd. Y mae yn darllen ei destyn yn glir a thalgryf, ac yn rhagymadroddi yn sylweddol a lled ddirodres. Y mae ganddo lais da, a thraddodiad hyrwydd. Wrth wrandaw arno, yr ydych yn cael eich codi i ddisgwyl llawer mwy nag a gewch. Y mae yn un o'r rhai mwyaf llwyddiannus am greu disgwyliadau, ond pur anfynych y clywsom ef yn eu llanw. Hwyrach fod ei lais a'i ddull yr engraifft oreu o'r hen gedyrn grymus gynt; ac y mae yn ddiamheu fod hyn yn rhoddi cyfrif lled gyflawn am ei enwogrwydd. Y mae yn athrawiaethwr cadarn, a chlywsom ei fod yn ddarllennwr eang, er na buasem yn meddwl hynny wrth ei wrandaw. Modd bynnag, cafwyd pregeth fer, sylweddol, ganddo y tro hwn, er nad ydym yn hollol sicr na pregethwyd yr *un* bregeth ganddo, yn yr *un* fan ac oddiar yr *un* testyn er's tua chwe blynedd yn ol, yr hyn, os yn wirionedd, sydd yn dangos nad ydyw meddyliau pregethwyr mawr mor gynnyrchiol ag y tybir yn gyffredin eu bod.

Ar ei ol y mae yn codi un ag sydd er's blynyddoedd yn *front* y Gymanfa, ac nid oes amheuaeth gennym os caiff fyw am ychydig flynyddoedd, na bydd ei oedran, ei allu, a'i barch wedi ei gyfleu y blaenaf oll ymysg gweinidogion y Cyfundeb. Y mae ei gyfodiad i fyny yn rhoddi boddlonrwydd i bawb bob amser. Y mae yr olwg arno yn syml, mawreddog, a hollol ddirodres. Y mae wedi cyfarfod â dryc-hin yn ddiweddar, yr hyn sydd wedi gadael ei ôl ar ei gorff, a gresyn oedd gennym ei weled yn heneiddio mor gyflym. Y mae ganddo bâr o lygaid mawrion ac aflonydd; genau llydan a phenderfynol; a'r gwyneb mwyaf *expressive*, weithiau, a welsom erioed. Gellir crynhoi prif nodwedd ei weinidogaeth i ryw dri gair—*yni apeliadol a difrifol.* Nid oes ganddo ond dau berson yn y weinidogaeth, sef efe ei hunan a'r gwrandawr. Nid ydyw byth yn siarad *am* ei wrandawyr, ond

bob amser *wrthynt*. Ceir clywed weithiau ambell un am y llen â'i wrandawyr, yn llefaru am danynt wrth yr awyr; ond y mae ei ddifrifoldeb ef yn rhy danbaid i'w oddef i wneud hynny. Un o'r arwyddion mwyaf mawreddog arno ydyw ei fod yn parhau mor iraidd tra yn heneiddio—fel yr haul, yr hwn y mae ei belydrau yn melynu, ac yn dyfod yn fwy-fwy euraidd pan yn agoshau at y terfyngylch; felly y mae ei hyawdledd yntau yn aeddfedu ac yn difrifoli pan y mae yn neshau at y byd tragwyddol, a phan y mae ambell i awel lem o'r byd hwnnw yn chwythu ar ei amglychiadau.

Erbyn dau o'r gloch yr oedd yr hîn wedi dyfod yn hynod ffafriol, a thorf fawr iawn wedi ymgasglu. Dechreuwyd yn nerthol iawn gan ddyn lled ieuanc, a thybiem ei fod yn cael gafael cryf yn y dorf. Yna gwelem Ddeheuwr tal yn cyfodi—un ag y buom yn darllen llawer o'i waith, ac am dano, ond hyd yn hyn erioed heb ei glywed. Y mae ganddo ymddangosiad boneddigaidd. Prydwedd du, gwyneb yn arddangos cyfoeth o natur dda, llygaid duon, treiddgraff a chwareus. Nid hir y buom heb gael ein hargyhoeddi, nid gan ei iaith yn unig, mai Deheuwr oedd, eithr gan ei ddull o feddwl. Fel rheol gyffredin, y mae gagendor mawr rhwng y Deheuwyr a'r Gogleddwyr yn eu dull o feddwl a phregethu. Meddylwyr araf, pwyllog, a rhesymegol ydyw y rhan fwyaf o bregethwyr y Gogledd; ond pert, ffraethlym, a thlws, ydyw eiddo y Dehau gan mwyaf. Efallai eu bod yn cario y nodweddau gwahanol hyn i lawr o ddyddiau y tadau. Erbyn edrych, yr oedd yr un peth yn ganfyddadwy ynddynt hwythau. Yr oedd hen gewri y Gogledd yn ddifrifol a sylweddol dros ben, pryd yr oedd enwogion y Dehau y pryd hynny yn fywiog a thyner, ac i raddau anghyffredin yn bur nefolaidd o ran eu hysbryd. Pa fodd bynnag, y mae yr un dan sylw yn perthyn i'r *caste* uchaf o'r meddwl Deheuol. Dyma un o'r pregethau mwyaf difyrus ac adeiladol a wrandawsom erioed. Dyma ddysgawdwr syml, tlws, a dirodres. Yr oeddym yn teimlo yn hapus wrth wrandaw y bregeth

hon, am ei bod yn ffurfio amrywiaeth blasus, ac yn rhywbeth ar ei phen ei hun ymysg holl bregethau y Gymanfa. Y mae nerth mawr y pregethwr hwn yn ei ddesgrifiadau tlysion a gwir farddonol. Os ydyw darnodiad Carlyle yn gywir o wir fardd, y mae hwn yn ddios yn un ohonynt. Dyma, meddai ef, ydyw y bardd—un yn gweled y *music* sydd mewn pethau—un yn gallu treiddio i fewn i hanfod pethau, a chanfod y cydgordiad sydd yno, ac yn gallu ymdeimlo â'r melodedd sydd o'u mhewn. Ni chlywsom erioed ddarfod i'r pregethwr dan sylw gyfansoddi llinell o farddoniaeth, ond gan nad pa un am hynny y mae ei bregethau yn drylawn o farddoniaeth syml. Ac nid ymgais at rywbeth oedd yma, ond dyma fardd anymwybodol iddo ei hunan. Yr oedd rhai o'i *expressions* yn werth cadair Eisteddfod Genedlaethol. Elfen arall amlwg ynddo ydyw ymgais at fod yn ddefnyddiol. Nid ryw ehediadau gwagsaw a dibwynt, fel un yn ceisio darlunio prydferthion gwastadeddau Jupiter, neu yn ceisio brasgamu y llwybr llaethog; ond un yn sefyll yn ein hymyl, gan gasglu perlau o gwmpas ein traed, nes yr oeddym yn teimlo yn ddigofus wrthym ein hunain na buasem ninnau wedi eu canfod o'r blaen. Hir oes iddo, a'n dymuniad ydyw ar iddo beidio cadw yn ddieithr i'r Gogledd.

Ar ei ol y mae Deheuwr arall yn cyfodi, yr hwn, er yn ieuanc, sydd yn dra adnabyddus ar draeth Pwllheli. Y mae ei ymddangosiad yn cyfleu y syniad o foneddigeiddrwydd. Y mae ganddo gorff lluniaidd, a gwynebpryd llyfn ac agored. Ei lygaid ydynt fawrion a thryloew, ac fel am ymwthio allan am y cyntaf. Y mae ganddo lais uchel, clir, a soniarus; a thraddodiad hynod o fywiog. Y mae ei arddull o bregethu yn tueddu yn fwy at y tlws na dim arall, a'i feirniadaeth i raddau yn goeg-ddysgedig. Y mae cyfansoddiad ei bregeth yn hytrach yn dywyll a chymysglyd, a rhai sylwadau yn bur *far-fetched*. Mewn gair, nis gwaeth ganddo pa un ai myned *at* ei destyn, ynte myned *oddiwrth* ei destyn, ynte aros *ar* ei destyn a wna; y mae fel dyn wedi penderfynu

cael gwrandawiad gan, os nad graddau o afael ar deimlad, y dyrfa fyddo o'i flaen. Ymddengys fel un yn teimlo pryder am i'w ymddangosiad o flaen torf fod yn *success*, graddau gormodol o ba un, hwyrach, sydd yn rhwystr i hynny gymeryd lle. Pa fodd bynnag, y mae ei safle fel ysgolhaig, a'i ieuenctid, yn creu disgwyliadau mawrion ynom am ei lwyddiant mewn blynyddoedd addfetach o'i oedran.

Yma yr ydym yn gadael un o'r cymanfaoedd goreu a dreuliasom erioed, a gobeithio y bydd i'w hysbryd a'i hysbrydoliaeth lynu yn ein mynwes am amser maith.

# CYMANFA GYFFREDINOL ANTIOCHIA YN SYRIA.

**A gynhaliwyd ar y 13eg, 14eg, 15fed, 16eg, a'r 17eg o fis Tammuz, O.C. 80.**

*Darganfyddiad newydd mewn Hanesiaeth Eglwysig.*

MEWN hen amgueddfa *(museum)* yn Alexandria, ymysg hen gyfrolau llychlyd eraill, daeth hynafiaethydd eglwysig ymchwilgar o hyd i hen gyflyfr anolygus, yn cynnwys amryw flynyddoedd wedi eu cydrwymo o newyddiadur o'r enw *Y Llusern*, a gyhoeddid yn Antiochia ddeunaw can' mlynedd yn ol; ac yn hwnnw ceir adroddiad dyddorol o hanes y Gymanfa uchod. Y mae yr adroddiad wedi ei ysgrifennu yn dra desgrifiadol a chwaethus, gan ddisgybl ieuanc a gyfenwa ei hun yn "Ioan o Antiochia;" ac fe genfydd ein darllennwyr fod amseriad y Gymanfa yn y cyfnod ar ol penderfynu y cwerylon anhapus ynghylch derbyniad y cenhedloedd, ar ol y Cyngor yn Jerusalem, a phan yr ydoedd yr eglwys mewn cyflwr o heddwch oddifewn, ac heb ymosodiadau mawrion oddiallan. Y prif faterion a gawsant sylw y Gymanfa ydoedd ymweithiad yr iaith Roeg i fewn i diriogaethau yr eglwys, bwrw trem ar y gweithrediadau cenhadol, ynghyd â derbyn dirprwyaethau oddiwrth yr Esseniaid a chyfundebau eraill, ac oddiwrth frodyr tlodion oeddynt, weithian, wedi anturio i'r gorllewin,—y tuhwnt i golofnau Erclwff. Er mwyn i'n darllenwyr allu mwynhau yn fwy yr adroddiad canlynol, feallai mai teg eu hysbysu

fod yn amlwg fod y gohebydd "Ioan o Antiochia" yn meddu trwydded i gyfrinachau pwyllgorau yr eglwys foreuol,—ei fod yn aelod o'r blaid ieuangaf yn yr eglwys, ac â themtasiwn gref iddo, yn herwydd ei fedr llenyddol, i fraslunio personau yn gystal a desgrifio amgylchiadau. Gyda hynyna o ragarweiniad, dodwn gerbron ein darllenwyr grynodeb o'i adroddiad:—

*At Olygydd "Y Llusern,"—annerch.*

Syr,—Yn gymaint ag i Gymanfa o ddilynwyr Iesu, a lysenwir yn Gristionogion, gydgyfarfod yn nhref Antiochia, o fewn corff yr wythnos ddiweddaf, feallai, er mwyn darllenwyr lliosog eich papyr clodwiw o'r tuallan i gylch talaeth Syria, nad anhymig fyddai adroddiad cryno o'i gweithrediadau. Nis gallesid cael odid i ddinas fwy manteisiol i'w chynnal na thref Antiochia. Dinas fawr borthladdol ydyw, ar enau yr afon Orontes, gyda phorthladd Selucia yn gyfleus i ddyfod iddi ar hyd y môr, a ffyrdd hygyrch a hylaw i ddyfod iddi ar hyd y tir o braidd bob cyfeiriad. Gan ei bod mewn maintioli y drydedd ddinas yn yr ymerodraeth,—ei phreswylwyr uwchlaw can' mil mewn rhifedi, gellir meddwl ei bod yn fan cyfarfod gwahanol ddynion o bob cenedl dan y nef; a diameu i'r Gymanfa glywed, ar ei dyfodiad i'r dref, acenion yr Hebraeg, Lladin, a'r Syriaeg yn disgyn ar ei chlustiau; ond prif dafodiaith y dref, erbyn hyn, ydyw yr iaith Roeg. Cafodd y brodyr a ddaethant ynghyd i'r Gymanfa brawf hefyd pa mor ffrwythlawn ydyw talaeth Syria, oblegid, heblaw angenrheidiau cyffredin ymborth, diwallwyd y frawdoliaeth â digon o winrawn a ffigys addfed o lethrau Libanus a Hermon. Daeth y gynrychiolaeth ynghyd yn hynod o ddifwlch o wahanol barthau y wlad. Yr ydoedd yn bresennol gynrychiolwyr o Jerusalem a Damascus, o Joppa a Cesarea, ac o holl eglwysi pentrefi Samaria, ac o'r holl eglwysi hyd Gaza; ïe, yr oedd rhai yn bresennol hyd yn nod o Phenice, a Cyprus, ac o Antiochia yn Pisidia.

Yr oedd yr Apostolion canlynol yn bresennol:—Simon Pedr, Ioan y Difeinydd, Paul, ac Iago, &c. Yr oedd yr efengylwyr canlynol yn bresennol, ac yn eu mysg amryw o'r deg-a-thriugain:—Barnabas, Silas, Ananias o Damascus, ynghyd â Judas, yr hwn a breswyliai yn yr heol a elwir Uniawn, yn yr un dref, ac yn nhŷ yr hwn yr arhöai Saul o Tarsus, pan ar ymweliad â'r dref honno; Phylip ac Apolos, ynghyd âg Agabus o Jerusalem, a Justus, gŵr ieuanc tra addawol, a charennydd agos i Ioan y Difeinydd.

Yr oedd y diaconiaid canlynol yn bresennol:—Nicanor a Phrochorus, Timon a Pharmenas, ynghyd â Nicolas, proselyt o Antiochia, Simon, yr hwn a elwir Niger, Lucius o Cyrene, a Manaen, ynghyd â llawer eraill sydd yn diaconeiddio, y rhai, pe cyfrifid hwynt bob yn un ac un, ni chynwysai eich gofod yr enwau a ysgrifennid.

Canolfan y gweithrediadau ydoedd y tŷ cyfarfod, lle yr ymgynulla y gynulleidfa Gristionogol sydd dan ofal Ignatius, esgob ieuanc Antiochia. Wrth fyned heibio, fe haeddai y gŵr ieuanc hwn air o sylw oddiar ein llaw. Ymddengys mai efe ydoedd enaid ac ysgogydd y rhan fwyaf o'r trefniadau allanol ynglŷn â'r Gymanfa hon. Dyn ieuanc barfog ydyw, heb fod yn dal nac yn deneu, tywyll ei arweddiad, gyda cherddediad penderfynol, braidd yn gwargrymu. Ar gyfrif mwy nag un peth, y mae wedi ennill safle barchus yn synagogau Deheuol y dalaeth, ac yn addaw gwneud trefnydd eglwysig cymeradwy. Dywed un o ddysgawdwyr llenyddol Alexandria fod eisiau *sweetness and light* i wneud cymeriad perffaith. Y mae gan Ignatius fesur gweddol o oleuni, ond ychydig, os dim, pereidd-dra. Dewiswyd ef i fod yn Gofnodydd y Gymanfa nesaf, a thâl digon prin ydyw y tamaid hwn o anrhydedd iddo am ei holl drafferth gyda threfniadau y Gymanfa hon.

Cymedrolwr y Gymanfa ydoedd yr Apostol Paul; ac fel y gallesid disgwyl, aeth drwy ei waith gyda deheurwydd mawr. Aethai y gadair, y tro o'r blaen, yn ei

rhawd i frawd iraidd ac eneiniedig ei ysbryd o'r tuallan i gylch y deuddeg apostol,—i un, yn wir, na pherthynai ond i'r pum' can' brodyr a fuant ar y mynydd yn Galilea. Bellach y mae y llywyddiaeth wedi dychwelyd yn ol i gylch yr apostoliaeth, a llenwir hi gydag urddas ym mherson Paul. Digwyddai y Cymedrolwr fod y tro hwn mewn tymer neillduol o rywiog tuag at bawb a phob-peth; a'r fath ydoedd y gras a dywelltid ar ei wefusau, fel y cynyrchai ei eiriau wên ddieithriad ar wyneb y Gymanfa. Prin y teimlem, er hynny, ei fod yn deilwng o urddas y Cymedrolwr i dorri blwch enaint ei arabedd ar ben pob mater dibwys a ddeuai gerbron.

Bu amryw eisteddiadau gan y Gymanfa yn ystod dyddiau ei hymgynulliad, yn y rhai yr ymgymysgai yr apostolion a ddigwyddent fod yn bresennol gyda'u brodyr llai enwog o fysg y Deg a thriugain. Gyda gras ac ymostyngiad mawr hefyd yr ymgymysgai y prif ddi-aconiaid o Jerusalem ac Antiochia gyda'u brodyr llai o'r cymoedd a'r ardaloedd gwledig. Er hyn ymddengys fod yr apostolion pennaf, a'r diaconiaid a ystyrrid yn flaenaf, fel wedi cwbl feddiannu y siarad braidd oll iddynt eu hunain. Ac am y cynnyg a'r cefnogi, ym-ddangosai fod dealltwriaeth nad ydoedd neb bron ond nifer penodol i gael cynnyg ar y breintiau hynny. Gwir yr anturiai ambell i frawd hyf o fysg y Deg a thriugain, neu, yn wir, weithiau o blith y pum' cant brodyr, gefnogi ambell i benderfyniad, ac felly sicrheid i enw y cyfryw gael ymddangos yn yr epistol-fynag a anfonid i'r gwa-hanol eglwysi, yn cynnwys hanes y Gymanfa a'i gweith-rediadau. Cynygiwr a chefnogwr gwych yw Simon Pedr. Yn gymaint ag mai efe a dderbyniodd yr agor-iadau, nid ystyrir unrhyw benderfyniad wedi ei gadarn-hau yn briodol oni bydd efe yn gynnygydd neu gefnog-ydd o hono. Edrychir hefyd ar yr Apostol Ioan yn un o ddylanwad mawr gyda phenderfyniadau. Y mae efe wedi bod yn lled esgeulus o ddyfod i'r Cymanfaoedd hyd y rhai diweddaraf oll. Baich mawr ei apostoliaeth ef y blynyddoedd diweddaf hyn ydyw ceisio argyhoeddi yr

eglwys o'r perygl o golli ei dylanwad wrth lynu yn ormodol wrth yr hen iaith Aramaeg, yn hytrach nag addoli a phregethu yn yr iaith Roeg. Yn hyn y mae wedi cythruddo rhai o'i frodyr yn ddirfawr; a gwneir ymosodiadau gerwin arno mewn newyddiadur o'r enw "Lluman Syria," a gyhoeddir yn rhan ogleddol y dalaeth. Digrif i ni ydoedd ei weled ef a Nicodemus—gwr boneddig o ddiacon pwyllog, ac aelod o'r Sanhedrim Iuddewig yn Jerusalem—pan yn trafod y mater o barhad y genhadaeth ar benrhyn eithaf Macedonia, y ddau yn llefaru yn hollol wahanol i'w gilydd, ond yn y diwedd yn cytuno ar yr un penderfyniad. Tybiem ni yn ddiameu y dylasai fod yno ddau benderfyniad i gynrychioli syniadau gwahanol y ddau siaradwr.

Cyfarfod difyrus ac adeiladol a gafwyd i dderbyn y dirprwyaethau oddiwrth yr Esseniaid, &c.; ond amlwg ddigon mai syniadau mwyafrif aelodau y Gymanfa ydoedd fod digon o'r ymgyfathrach hwn wedi bod, a bod atalfeydd diadlam ar ffordd undeb canlynwyr yr Iesu a'r cyfundebau hyn. Ond pan y cyflwynwyd i'r Gymanfa ddau frawd o'r Gorllewin pell—y tuhwnt i golofnau Hercules—hynod mor wahanol y teimlad. Er i amryw o fawrion yr eglwys fyned allan pan yr aeth yr ymwelwyr oddiwrth yr Esseniaid allan, eto teimlai corff y Gymanfa,—y rhai oeddynt wedi aros yno i wrando, at y ddau frawd o'r Gorllewin fel at eu cig a'u gwaed eu hunain.

Terfynwyd y Gymanfa gyda chyfres o bregethau, yn cael eu traddodi yn bennaf gan yr apostolion, ynghyd â chan rai o wŷr blaenaf y cylch. Er mai cynhadledd i drafod materion eglwysig ydoedd y Gymanfa hon i fod, eto ystyriai y werin, yn ac o amgylch Antiochia, fod yma gyfleusdra rhagorol i wrando amryw o genhadon yr Oen yn pregethu. Yr ydoedd cryn ddisgwyliad am i'r cenhadau gael eu gwasgar i wahanol synagogau y dref, ac yn neillduol i'r ardaloedd o amgylch y ddinas. Dyma ddyffryn mawr yr Orontes, gyda'i filoedd trigolion, y gallesid yn hawdd ei lanw âg efengyl Crist. Yr oedd

ffyrdd da a chamelod buain yn tramwy i amryw gymydogaethau cyfagos i'r dref, lle y gallesid yn hawdd anfon efengylydd neu ddau am y noswaith, a'u dwyn yn ol yn brydlon erbyn gwaith y Gymanfa drannoeth. Gresyn mawr i'r hen Ananias o Damascus fyned adref heb i neb o drigolion Antiochia, na'r parthau hyn o Syria, ei glywed yn dweyd dim, namyn gair neu ddau yn y Cyfarfod Cenhadol. Yr oedd ei wallt gwyn patriarchaidd, ei symudiadau sydyn, a'i ddywediadau pert pwrpasol, yn peri i lawer ymofyn pwy ydoedd; ond aeth adref yr holl ffordd i Damascus heb i neb gael y *treat* o'i glywed yn pregethu. Dichon na chaniata amser nac ewyllys iddo ddyfod byth mwyach i Antiochia. Teimlid hefyd fod ei gydymaith Judas, o'r un wlad ag yntau,—llefarwr pwysig a difrifol, yn myned yn ol heb wneud dim ond cynnyg a chefnogi, a llywyddu pwyllgor! Yr hyn a wnelai yr amryfusedd hwn yn fwy gwaradwyddus ydoedd, y syniad ddarfod ei gyfrif ef yn deilwng, flynyddoedd yn ol, gan y frawdoliaeth yn y rhanbarth ogleddol o'r dalaeth, i eistedd yng nghadair eu Cyngor hwy gartref, ond nad ystyrrid ef yn werth congl llefarwr yn y Gymanfa hon. Ond pa ryfedd pan yr ydoedd brawd zelog a brwdfrydig arall o ynys Cyprus, sydd yn llenwi y gadair honno ar hyn o bryd, yn gorfod cefnu o Antiochia heb gymaint ag agor ei enau yn y ffordd o bregethu! Yr oedd yn bresennol amryw frodyr eraill, —cyn-gadeirwyr a chyn-gynghorwyr, rai o honynt o Gaza yn eithaf y dehau, eraill o Mesopotamia yn eithaf y Gogledd, y rhai y buasai yn amheuthyn mawr i Gristionogion Antiochia eu clywed yn pregethu, eithr y rhai ni ofynnwyd iddynt gymaint a rhoddi pennill i'w ganu yn y Gymanfa hon! Clywsom fod sî ar led am gael Cymanfa eto, heb fod yn hir, ac heb neb i bregethu ynddi ond rhywrai o'r Deg a thriugain, neu o'r pum' can' brodyr, yn unig. Os ydynt yn eiddilach a mwy anghyhoedd, dywedid y gwnaent i fyny mewn newydd-deb yr hyn y maent yn ei golli mewn mawredd. Y mae rhai o'r Deuddeg gyda ni bob amser; ond nid ydys nemawr

byth yn cael pregeth mewn Cymanfa gan neb o'r Deg a thriugain. Pa sawl gwaith yr ydym bellach wedi clywed pregeth y Pentecost, a phregeth tŷ Cornelius, gan Simon Pedr? Y mae efe yma gyda ni yng nghwmpasoedd Antiochia yn amlach na phob newydd-loer.

Modd bynnag, ni fynnid i neb braidd oddieithr yr apostolion i bregethu yn y Gymanfa hon. Haerai Nicolas, diacon a breswyliai yn Selucia, porthladd Antiochia, ynghyd â brodyr eraill o gyffelyb feddwl, fod eisiau gwneud arddangosiad o ddoniau yr eglwys, er mwyn gwneud argraff ddofn ar feddyliau paganiaid Antiochia,—fod yn rhaid gwneud yr apostolion yn ddrych i'r byd, i angylion, ac i ddynion. Felly fe hur-iwyd y Pantheon,—hen deml baganaidd fawr yng nghanol y dref, i bregethu ynddi; a chafwyd doniau blaenaf yr eglwys yno i broffwydo, a daeth cynulleidfa-oedd lliosog ynghyd, o ddyffryn yr Orontes, llethrau Libanus, ac o'r holl wlad o amgylch Antiochia. Teg ydyw hysbysu y dygid ymlaen holl foddion rheolaidd y Gymanfa yn yr iaith Aramaeg, eithr fe daflwyd rhai briwsion breision, megis dros y bwrdd, i'r Groegiaid yn eu hiaith eu hunain. Fel y canlyn ydoedd trefn y modd-ion :—Am 6, yn y Pantheon, y nos ymlaen, pregethodd Paul a Silas.

Diangenrhaid dweyd dim am Paul; y mae ei glod fel duweinydd craff, ymresymydd cadarn, a phregethwr gwych, wedi ymdaenu drwy yr holl eglwysi. Silas yntau sydd bregethwr nodedig. Yr oedd ei wallt yn wyn, a'i gam yn llesgâu, cyn i neb ddeall y gallai bre-gethu mewn Cymanfa! Y mae efe yn neillduol gyf-arwydd yn y gyfraith, y prophwydi, a'r Salmau. Ystyrir ef yn un o'r efengylwyr mwyaf dyddorus a fedd yr eglwys.

Am 10, bore dranoeth, yn yr un lle, pregethodd Simon Pedr ac Ioan y Difeinydd. Y cyntaf ydyw *pre-gethwr* yr eglwys, a'r olaf ydyw *duweinydd* yr eglwys.

Am 2, Barnabas ac Iago.

Y mae y cyntaf yn ateb i ystyr ei enw—mab diddanwch, yn Lefiad, a Chypriad o genedl. Er heb fod yn un o'r Deuddeg, nac ychwaith yn un o'r rhai blaenaf ymysg y Deg-a-thriugain, eto, oherwydd y rheswm hwn a'r rheswm acw, y mae wedi cyrraedd yr hyn a chwenychir gan lawer, ond a gyrhaeddir gan lai, sef safle ymhlith ei frodyr.

Iago sydd bregethwr melus odiaeth ar adegau. Medr ef lefaru yn grâs a chwrtais, mae'n wir, ond fel y mae yn tynnu tua'r bedd, y mae ei ysbryd yn aeddfedu, a'i dôn yn tyneru.

Am 6, Justus ac Apolos. Gŵr gweddol ieuanc ydyw y cyntaf, wedi cael holl ddiwylliant a manteision Alexandria, ac yn barod i offrwm y cyfan ar drostan y groes. Pregethai efe hefyd ar un o'r nosweithiau blaenorol, i gynulleidfa o Roegiaid, yn yr iaith Roeg.

Apolos sydd ŵr ymadroddus, cadarn yn yr Ysgrythyrau; ac er ei fod yn esgob Sidon, ar yr arfordir, heb fod nepell o Antiochia, eto rhaid oedd gwneud lle iddo i bregethu yn y Gymanfa.

Y mae y Gymanfa nesaf i fod yn Jerusalem, oddeutu gŵyl y Pentecost y flwyddyn nesaf.

# THOMAS CARLYLE.

LLAWER gwaith, cyn hyn, y bu arnom flŷs ysgrifennu rhywbeth ar Thomas Carlyle. Cyfodai hynny, nid oddiar unrhyw ymdeimlad neillduol o gymhwysder, ond yn hytrach oddiar deimlad o resyni fod un sydd yn allu mor fawr mewn llênyddiaeth Seisonig, ïe, llênyddiaeth Ewropëaidd, o ran hynny, heb ddim braidd ond ei enw yn hysbys mewn llênyddiaeth Gymreig. I lawer, rhaid ei fod i raddau yn hysbys, canys digywilydd-dra fyddai i neb broffesu cydnabyddiaeth â llênyddiaeth yr oes heb fod wedi darllen rhyw gymaint o weithiau Carlyle; ond i gorff llïosog ein darllenwyr, y tebyg ydyw fod hanes y dyn a'i ysgrifeniadau yn ddieithr, ac amcan yr erthyglau a fwriadwn ysgrifennu fydd rhoddi rhyw frâsolwg arnynt. Am roddi eglurhâd cyflawn, y mae hynny allan o gwestiwn,—y mae y dyn a'i weithiau, i fesur mawr, yn ddameg anneongledig i bawb, a diamheu ei fod, fel amryw o'r awduron goreu, yn un y rhaid myned ymhellach oddiwrtho mewn trefn i'w adnabod a'i ddirnad yn well. Ond am ei ddylanwad nid oes dadl; y mae y foment hon yn un o'r dylanwadau cryfaf er rhoddi ffurf a chyfeiriad i feddylgarwch yr oes hon; a pha beth a fydd i'r oesoedd dyfodol, amser yn unig a ddengys. Gelwir ef weithiau yn un o dri chedyrn cyntaf Prydain Fawr; a daeth i'n llaw yn ddiweddar gyfrol ar y testun,—"Y tri dysgawdwr, Carlyle, Tennyson, a Ruskin." Ceisiai yr awdwr brofi yr hyn, hwyrach, nad ydoedd brofadwy, sef mai hwynthwy oeddynt y tri awdwr mwyaf dylanwadol yn fyw; ond, pa fodd bynnag, gellir cymhwyso at bob un o'r tri y geiriau a ddywedwyd gyda phrïodoldeb mawr am un o honynt, ei fod "wedi tori ffenestr ym mûr ei ganrif," a gollwng i mewn ffrŵd ddisglaer o

oleuni ar lawer o bethau. Am Carlyle hefyd, gellir dywedyd mai dysgawdwr i ddysgawdwyr ydyw mewn modd neillduol, a sicr mai drwy gyfryngau y dylanwada gryfaf. Y mae rhyw fath o dywyllwch yn gorwedd o gwmpas llawer o'i ysgrifeniadau, nes peri eu bod yn aneglur i lawer; ond y mae ynddynt y swyn hwnnw i ymaflyd yn y meddwl, a'r difrifwch a'r nerth hwnnw i roddi cyfeiriad iddo, fel nad oes yr un awdwr braidd a deimla fod ganddo rywbeth i'w ddywedyd wrth ei genedlaeth, pa un bynnag ai yn y ffurf o farddoniaeth, hanesiaeth, neu fywgraffiaeth, nad ydyw wedi derbyn graddau o'i ysbrydoliaeth oddiwrtho ef. Addefa Dickens a Kingsley iddynt gael hadau rhai o'u cyfansoddiadau grymusaf o'i feusydd ef; ac nid ydyw moeswersi campus Thackeray yn fynych ond ymhelaethiad ar rai o frawddegau "y cyfaill Thomas," fel ei geilw ef. Y mae Froude a Ruskin yn ddisgyblion addefedig iddo; a dywedai Robertson o Brighton, un o brif bregethwyr yr Eglwys Sefydledig, mai darllen gweithiau Carlyle a roddodd gyfeiriad i'w fywyd ef. Sicrhëir hefyd nad ydyw amryw o brif erthyglau galluocaf newyddiaduron Lloegr y dyddiau hyn namyn gweithiad allan ar ryw egwyddorion a geir yn ysgrifeniadau Thomas Carlyle.

Ganwyd Carlyle y 4ydd dydd o Ragfyr, 1795, ym mhlwyf Ecclefechan, yn agos i bentref bychan o'r un enw yn Ysgotland; felly y mae wedi cyrhaedd, er diwedd y flwyddyn hon—1875—yr oedran patriarchaidd o bedwar ugain. Dilynai ei dad y gelfyddyd o saer maen ar y cyntaf; ond yn fuan daeth gymaint ymlaen yn y byd fel ag i allu ardrethu tyddyn gweddol o faintioli; a delir yr unrhyw gan un o'i feibion hyd y dydd heddyw. Ymddengys fod ei rïeni o gymeriad dilychwin, ac o feddyliau cryfach na chyffredin, a pherthynent i'r *Secession Church*, a gweinyddai ei dad y swydd o henuriad yn yr eglwys honno. Preswylia nifer o'r teulu yn yr ardal hyd yn awr, i gyd mewn amgylchiadau cysurus, a chan mwyaf yn aelodau gyda'r Presbyteriaid Unedig. Yn ol pob hanes, gellir cymhwyso at dad Thomas Car-

lyle y geiriau a gymhwysa efe at dad Robert Burns, y bardd: "Yr oedd ei dad, fel y rhan fwyaf o'n gwladwyr, yn ddyn o gymeriad meddylgar, angerddol, a difrifol; yn gwerthfawrogi gwybodaeth, ac yn meddu ychydig o honi, a'r hyn sydd lawer gwell a mwy amheuthyn, o feddwl agored i dderbyn ychwaneg; mewn gair, yn ddyn cyflawn a chwbl-ddadblygedig, er nad oedd ond gwladwr caled-ddwylaw. Anfynych, mewn unrhyw haen o gymdeithas, y ceir y fath riant, a gwerth ydyw disgyn yn lled isel i chwilio am dano."

Ar ol rhyw gymaint o addysg yn ysgol ei blwyf genedigol, anfonwyd Thomas ieuanc, pan yn 14 oed, i Brifysgol Edinburgh, lle yr arosodd am tua saith mlynedd, yn efrydu o dan y Proffeswyr Dr. Thomas Brown, Playfair, a Leslie. Ymddengys ei fod yn lled afreolaidd yn ei efrydiau, ac yn ddarllennwr gwancus ar bob llyfr a ddelai i'w afael; ac nid annhebyg ei fod, y pryd hynny, yn credu y syniad a bregethwyd ganddo lawer gwaith ar ol hynny, sef mai llyfrgell dda ydyw yr athrofa oreu. Ond dyma un o'i syniadau eithafol,—gwirionedd wedi ei weithio yn rhy bell, nes ymylu ar fod yn gyfeiliornad. Beth allasai efe wneud o'r llyfrgelloedd mawrion, oni bae am y ddysgeidiaeth a dderbyniasai yn y Brifysgol? Yr efrydiaeth yr ymroddodd efe fwyaf iddi ydoedd Rhifyddiaeth yn ei changenau uchaf; a chyfieithodd lyfr ar Feintonaeth, gan atodi ato ragymadrodd mor alluog o'i eiddo ei hun, fel y priodolid ef ar y pryd i rai o brif awdwyr y dydd yn y gangen honno. Gyda'r eithriad yma, nid ymddengys iddo ddilyn cwrs efrydiaeth reolaidd y Brifysgol; ond darllennai yn ddiderfyn, a thrwy hynny bu iddo roddi i lawr sylfeini y bywyd llênyddol ëang ac amrywiol a ddilynwyd ganddo wedi hynny. Hyn a barodd iddo ymadael â'r Brifysgol heb ei raddio; a byth wed'yn methodd amryw o'r prif-athroföydd, cartrefol a thramor, ei berswadio i ddygymod â theitl o fath yn y byd. Yn un o'r llyfrau hynotaf a ysgrifennodd, *Sartor Resartus*, ceir arwr y llyfr hwnnw, yr hwn a ystyrir yn

gyffredin yr un â'r awdwr, yn desgrifio ei hunan mewn prifysgol; a thybir fod prïodoldeb neillduol yn y darlun iddo ef ei hunan pan yn Edinburgh:—"Dysgais cystal a'r rhan fwyaf gymaint o wâg-ffregod o Arddansoddiaeth ddadleuol, Geirdarddiaeth, a Gallofyddiaeth beiriannol, ag a ddysgid yno. Ymhlith un cant ar ddeg o ieuenctyd Cristionogol, odid na cheid unarddeg yn awyddus i ddysgu; trwy gyffyrddiad â'r cyfryw, derbynid graddau o wrês a diwylliad. Trwy reddf a damwain hapus cymerais yn fwy at feddwl nag at loddesta, ac at ddarllen, yr hyn hefyd yr oeddwn yn rhydd i'w wneuthur. Yn wir, llwyddais i bysgota i fyny o dryblith y llyfrgell honno fwy o lyfrau, fe allai, nag oedd adnabyddus i'r llyfrgellwyr eu hunain. Dodwyd i lawr fel hyn sylfeini Bywyd Llênyddol; dysgais yn fy nerth fy hunan ddarllen yn rhugl, ar bron bob pwnc a gwyddor, yn y rhan fwyaf o'r ieithoedd coleddedig." Tybier mai am Brifysgol Edinburgh, driugain mlynedd yn ol, y darllennir, ac mai Thomas Carlyle sydd yn llefaru am dano ei hunan, ac ni fyddis, dybygid, ymhell a fod yn gywir.

Tra yn y Brifysgol y daeth i gyffyrddiad âg Edward Irving, oedd y pryd hynny yn llencyn ieuanc ychydig hŷn nag ef, ac a fu wedi hynny am flynyddau yn un o brif oleuadau pulpud y brifddinas, ond a fachludodd o dan y fath gwmwl pruddglwyfus. Fel y gallesid meddwl, cyfarfyddiad lled anghyffredin ydoedd hwn—dau o feibion glewaf yr Alban yn ymarfogi i frwydr bywyd, a'r ddau yn teimlo fod ganddynt apostolaeth neillduol at y byd, ac wedi eu cynnysgaethu â gormod o gydwybod i fwyta bara seguryd. Fel y mae goreu y ffawd, y mae dau lythyr ar gael,—un yn cynnwys syniadau Irving am Carlyle pan oeddynt gyda'u gilydd yn yr athrofa, a'r llall yn cynnwys syniadau Carlyle am Irving pan oedd y ddau wedi rhedeg rhan led fawr o yrfa bywyd. Teimlwn y gwnaem gymwynas â darllenwyr ieuainc *Y Traethodydd* wrth gofnodi cynnwys y ddau lythyr. Dyma yr eiddo Irving—ran o honno:—

Ymedy Carlyle yfory, a Brown y dydd canlynol, felly gadewir fi yma unwaith eto ar fy adnoddau fy hunan, oddigerth cwmni Dixon, yr hwn sydd lawer cymhwysach i fwynhau digrifwch awr lawen nag i lonni unigedd awr dawel. Nid adwaen i neb cymhwysach i hynny na Carlyle. Ymddengys yn hynod fod raid iddo ef fyned i'r wlad o ddiffyg gwaith. Fel pob dyn o dalent, casglodd, wrth gwrs, o amgylch y Patmos yma, aml i amcan ardderchog i gael ei gwblhau, ac aml i wellhad i gael ei gario allan. [Yna dyry Irving eiriau Carlyle ei hunan.] "Y mae gennyf i gasglu at eu gilydd ddibenion fy meddyliau, peth nas gall neb ei wneyd yn y lle difeddwl hwn. Y mae gennyf fy ngolygiadau am fywyd i'w diwygio, a holl gynlluniau fy oes i'w hadgynllunio, ac yn bennaf dim fy iechyd i'w adferyd. Ac yna anturiaf unwaith yn ychwaneg fy llestr fechan ar ddyfroedd y wlad eang hon, ac os na all hi eu morio, hwyliaf i'r gorllewin i wneyd prawf ar ddyfroedd y byd newydd." Felly, ebe Irving, yr ymresyma ac y penderfyna efe; ond y mae tynged deilyngach yn sicr yn ei aros na bod yn alltud gwirfoddol. Am danaf fy hunan, arosaf yma nes y daw gorchymynion pellach, os o'r dwyrain, yr wyf yn barod, os o'r gorllewin, yr wyf yn barod, ac os oddiwrth bobl Fyfe yr wyf yn lawn mor barod a hynny.

Dyna eiriau Edward Irving am ei gyfaill ieuanc, Thomas Carlyle. Oddiwrthynt yr ydym yn casglu amryw bethau tra dyddorol am yr ieuengaf o'r cyfeillion. Yn un peth, ei fod yn wael ei iechyd pan yn ieuanc; a pheth arall, y bu ar fedr ymfudo i'r America. Y fath wahaniaeth a wnaethai hynny, yn neillduol yn ei syniadau am y ffurfiau goreu o lywodraeth! Wele yn canlyn eto eiriau Carlyle am Irving:—

Oni bae am Irving ni wybuaswn i byth beth a olygai cymundeb dyn gyda dyn. O bob enaid dynol y daeth yr eiddo fi ar ei draws efe oedd y mwyaf rhydd, brawdol, a gwrol. Ar ol prawf digonol, ystyriwyf ef, ar y cyfan, y dyn goreu a welais i erioed yn y byd hwn, neu a ddisgwyliaf ei weled eto. Y tro cyntaf y gwelais i Irving ydoedd chwe mlynedd ar hugain yn ol, yn ei dref enedigol, Annan. Y pryd hynny yr ydoedd newydd ddychwelyd o Edinburgh, gyda gwobrwyon athrofaol, cymeriad uchel, a gobeithion disglaer. Daethai i ymweled â'n hysgolfeistr, a fuasai hefyd yn athraw iddo yntau. Cawsom glywed am broffeswyr enwog, uchel-bethau clasurol a rhifyddol, a dieithr-fyd cyfan o wybodaeth. Ni phelydrai dim ond llawenydd, iechyd, a gobaith diderfyn, oddiwrth y dyn ieuanc nwyfus. Y tro diweddaf y gwelsom ef ydoedd yn Llundain, dri mis yn ol. Tywynai cyfeillgarwch o hyd yn ei lygaid; ond yn awr allan o

ganol tân cythryblus. Edrychai ei wyneb yn wyw, nychlyd, ac afiach, yn llwydaidd megis gan henaint; crynai ar fin y bedd. Ffarwel i ti, gyfaill cyntaf, ffarwel, tra pery y Gwyll hwn o Fodolaeth; a gawn ni gyfarfod lle bydd y Gwyll wedi troi yn Ddydd?

Tuag amser ei ymadawiad â'r Brifysgol y llwyr benderfynodd Carlyle ymwrthod â myned i'r weinidogaeth; canys i hynny, mae yn ymddangos, y bwriedid ef gan ei rieni. Adroddir hanesyn am ei dad, mewn cymysgedd o alar a myfyrdod, yn eistedd ar garreg fedd ym mynwent Ecclefechan, pan newydd dderbyn llythyr oddiwrth ei fab yn cynnwys y penderfyniad. Buasai dyfod o hyd i'r llythyr hwnnw yn ddarganfyddiad,—pa fodd yr ydoedd yr hysbysiad wedi ei eirio,—ond yr ydoedd y penderfyniad yn eithaf cydfynedol â'i fywyd ef; nis gallai gan ei gydwybodolrwydd ymgymeryd â gwaith y teimlai nad ydoedd wedi ei alw iddo. Er ei fod mewn rhyw ystyr, fel y dywed yn un o'i weithiau am bob llênor, yn bregethwr mwyaf dylanwadol ei oes, eto, yn yr ystyr swyddogol o'r gair, tarawai yn rhyfedd ar ein meddwl i Thomas Carlyle fod yn bregethwr! Ar ol ei ymadawiad â'r athrofa, ymddengys iddo am dymor wasanaethu y swydd o athraw cyfrinachol a chyhoeddus; a thua'r un adeg, dywedir iddo ymgeisio am gadair Seryddiaeth ym Mhrifysgol Glasgow. Ond ymarfogai at waith ei oes, sef bod, yn ol ei eirau ei hun, yn "ysgrifennydd llyfrau;" a thebyg ei fod ar ei ben ei hunan ymysg llênorion Prydain, mewn ystyried cysegredigrwydd yr alwedigaeth o fod yn llênor. Fel y beirdd goreu, a ystyriant eu hawen yn ddawn ac ymddiriedaeth nid i'w llychwino gyda phob peth, felly ystyria yntau ei hunan yn gysegredig fel apostol llênyddiaeth. Dyma yn ddiamheu a esyd y fath argraff o ddifrifwch ar bob peth a wna, a dyma hefyd un o ffynnonellau y dylanwad sydd ganddo ar ei oes. Os ydyw George Stephenson y gallu *materol* cryfaf heddyw yn Lloegr, nid llai y mae Thomas Carlyle y gallu *moesol* cryfaf; a hynny, nid am ei fod wedi dyfod yma i ysgrifennu am arian, ond am ei

fod yn credu fod ganddo genadwri,—mewn gair, ei fod i ryw raddau yn anfonedig, megis "dysgawdwr wedi dyfod oddiwrth Dduw." Dan ddylanwad syniad felly y dywed,—"O bob offeiriadaeth, pendefigaeth, a dosbarthiadau llywodraethol a fodolant yn y byd ar hyn o bryd, nid oes yr un i'w gymharu mewn pwysigrwydd i offeiriadaeth ysgrifennwyr llyfrau." Dichon nad oes nemawr o berygl i lênorion Cymru ysgrifennu llawer er mwyn arian, gan nad oes ond ychydig o'r melynion prinion i'w cael y ffordd honno yma; ond llenwir marchnad ein cymydogion tros y clawdd (Offa) â golygyddion, rhyddieithwyr, ffûghaneswyr, ac â beirdd ydynt gymdeithion addas i'r rhai a alwai yr hen Gymry gynt, yn dra phrïodol, yn "fon-y-gler." Ond ni pherthyn Thomas Carlyle mewn modd yn y byd i'r âch hon; eithr blaenora efe dylwyth parchus a llïosog arall sydd wedi ymddiofrydu i sefyll o blaid gwirionedd, gonestrwydd, a rhinwedd, gan gredu mai "nid ar fara yn unig y bydd byw dyn." Carem weled y dosbarth hwn yn amlhâu yr ochr hon i'r clawdd hefyd; ond ofnwn mai nid gwobrwyon eisteddfodol, er cystal ydynt, a wna hynny; eithr dynion yn teimlo fod ganddynt genadwri at eu hoes, a bod y duwiau yn llefaru wrth ddynion drwyddynt, heb betruso pa un a delir yn anrhydeddus iddynt am hynny ai peidio. Dychymyger am Thomas Carlyle yn cyfansoddi ei *Sartor Resartus*, neu ei lyfr ar y "Chwyldroad Ffrengig," erbyn eisteddfod! O fel y buasai y mânfeirniaid yn ei dorfynyglu!

Dechreuodd Carlyle ar ei waith o ysgrifennu yn fuan ar ol gadael yr athrofa; ac o'r flwyddyn 1820 hyd 1823, ysgrifennodd nifer o erthyglau bywgraffyddol i "Wyddoniadur Edinburgh" a olygid gan Brewster, a ddaeth yn enwog wedi hynny fel Syr David Brewster. Cymerai yr erthyglau hyn i mewn yr enwau mwyaf amrywiol mewn hanesyddiaeth, megis Nelson, Necker, Montaigne, Mungo Park, Arglwydd Chatham, Pitt, &c., ac ymddengys nad oes nemawr o nodweddion gwahaniaethol

yr awdwr mewn arddull na meddwl yn ganfyddadwy ynddynt.

Gan nad ydym yn bwriadu yn yr erthygl hon ond rhoddi yn unig hanes yr awdwr a'i weithiau, brysiwn ymlaen i nodi ei ysgrifeniadau yn ol amser eu hymddangosiad, gyda threm ar amgylchiadau eu dygiad allan. Rhaid ei fod wedi ffurfio cyfathrach â llenyddiaeth Germany er yn fore; o herwydd cawn iddo fod yn y wlad honno yn ymgydnabyddu â'r iaith; ac yn 1824, cyfieithodd *Wilhelm Meister*, un o brif ffûg-hanesion Goethe, i'r iaith Saesoneg, a'r flwyddyn ganlynol cyhoeddodd "Hanes bywyd Schiller" yn yr un iaith. Dengys hyn mai tua'r adeg hon y dechreuodd ei edmygedd o Goethe, edmygedd sydd wedi parhâu hyd y dydd heddyw, ac i'r rhai sydd yn hysbys o'r ddau awdwr, sydd yn berffaith anesboniadwy. Cafodd y gweithiau uchod adolygiadau lled ffafriol gan rai o'r prif gyfnodolion ar y pryd; ond ymosodwyd yn erwin ar ei gyfieithiad o *Wilhelm Meister* gan De Quincey yn y *London Magazine;* a gwnaed y llyfr yn destun erthygl fflangellog ar Goethe a Llênyddiaeth Germany yn gyffredinol gan Arglwydd Jeffrey yn yr *Edinburgh Review*. Beth bynnag a ddywedir am duedd foesol ysgrifeniadau Goethe, addefa pawb ei fod yn berchen athrylith uwchraddol, a'i fod yn grefftwr llênyddol o'r dosbarth cyntaf; a phery yr erthygl yn brawf i Jeffrey, er anffaelediced ydoedd, wneud camgymeriad dychrynllyd. Baich adolygiad Jeffrey, dybygid, ydoedd ceisio profi fod llênorion Germany yn ddiffygiol mewn chwaeth am eu bod yn *dlodion*, ac yn cyfansoddi ar gyfer dosbarth felly; a bod eu hysgrifeniadau, yn ol geiriau yr adolygydd, yn sawru yn gryf "o chwegeithion *(groceries)* a phapurau llwydion yn llawn o gacenau seimlyd, a golwythion cîg moch, a ffriadau mewn parlyrau cefn." Llenwid yr ysgrif o eiriau difrïol o'r fath yma, wedi eu dodi wrth eu gilydd yn arddull ddoniol, ond llipa, ysgrifennwyr y cyhoeddiad hwnnw ar y pryd. Ymddengys fod llênorion yr *Edinburgh Review*, yr adeg honno, wedi eu

penfeddwi gan gynnulliadau gorwych *Holland House*, a'r cylchoedd pendefigaidd y derbynid hwy iddynt, a'r canlyniad ydoedd iddynt lyncu damcaniaeth "y llwy arian" yn ei chrynswth. Cyn pen hir, pa fodd bynnag, mewn erthygl ar *Jean Paul Richter*, ac mewn erthygl arall, fwy grymus fyth, yn fuan ar ol hynny, ar "Lênyddiaeth Germany," dychwela Carlyle i'r ornest, a hynny ar faes yr un cyhoeddiad ag y gwnaed yr ymosodiad, a chyda nerth a deheurwydd mawr gwna ben buan ar y ddamcaniaeth fechan fod awdwyr tlodion yn rhwym, o herwydd eu *bod yn dlodion*, o fod yn ddiffygiol mewn chwaeth. Carem ddodi ychydig o'r syniadau gerbron ein darllennwyr, nid yn unig fel engraifft o gewri llênyddol yn ymornestu â'u gilydd, ond am y tybiwn nad ydyw y sylwadau yn hollol anmherthynasol i Gymru—

A ydyw yn beth sicr, ynte, fod chwaeth a chyfoeth mor anwahanol?—y rhaid i bwysau pwrs bob amser flaenori gwirionedd a theimlad, a bod y llygaid yn ddall i brydferthwch cyffredinol a thragywyddol hyd nes y bônt wedi hir syllu ar furiau goreuredig a dodrefn costfawr? Yn wir, byddai hynny yn newyddion torcalonus i'r rhan fwyaf o ddynolryw, canys o'r braidd y mae un o fil yn gyfoethog, nac yn perthyn i'r cyfoethog; y mae naw cant a phedwar ar bymtheg a phedwar ugain wedi bod bob amser yn dlodion, a rhaid iddynt bob amser fod felly. Cymerwn ein rhyddid ynte i amheu gwirionedd yr holl osodiad. Ystyriwn nad ydyw cyfoeth ac ymgymysgu gyda'r mawrion ond yr anhebgorion lleiaf eu pwys er cyrraedd gwir chwaeth lenyddol; mewn gwirionedd, nad oes a fynont ond ychydig, neu ddim, â'r pwnc o gwbl. Yn awr, ymdrechwn brofi hynny.

Rhaid i chwaeth, os ydyw yn rhywbeth heblaw coeg-feirniadaeth salw, olygu tuedd i dderbyn argraff oddiwrth wirionedd a mawredd; gallu i ganfod a chalon i garu a mawrygu pob prydferthwch, trefn, a daioni, gan nad ymha le, nac ymha ffurfiau, na chyda pha gymdeithion y gwelir hwynt. Awgryma hyn, fel ei amod pwysicaf, nid unrhyw radd neu sefyllfa allanol, ond meddwl gwir athrylithgar wedi ei ddwyn i gynghanedd âg ef ei hunan, a'i ddisgyblu i graffder ac uniondeb canfyddiad; ac yn bennaf dim, wedi ei ennyn i gariad ac edmygedd haelfrydig. Ai yn y cylchoedd uchaf yn unig y canfyddir diwylliant o'r fath yma? Credwn ei fod, ymhob cylch, yn tarddu yn fwy o'r mewnol nag o'r allanol. Nid oddiwrth lygad y tlawd y mae swynion natur, ardderchogrwydd dyn, a hawddgarwch anmherfynol Rhinwedd a Gwirionedd, yn guddiedig, eithr oddiwrth

lygad y gwagsaw, y llygredig, a'r hunangeisiol, bydded ef dlawd neu gyfoethog.

Dyna ein syniad ni:—Pa fodd y saif hyn yn wyneb ffeithiau? Pa le y ceir hyd i rent-lyfr Shakespeare? a pha bendefig urddasol a ymaflodd yn ei law ef, gan ddadguddio iddo "gyfrinach agored" y bydysawd, a'i ddysgu pa beth ydoedd dlws a pha beth nad oedd felly? * * * Ymddengys mai y gwirionedd ar y mater ydyw, nad oes a fynno dylanwad gradd, yn gyffredinol na neillduol, â diwylliant y gwir fardd, meddyliwr, neu unrhyw lenor arall. A ydyw efe yn dlawd? Felly hefyd yr ydoedd Homer a Socrates; felly yr ydoedd Samuel Johnson, ac felly yr ydoedd John Milton. A edliwiwn ni iddo ei dlodi, a chasglu oherwydd ei fod yn dlawd y rhaid ei fod yn ddiwerth hefyd? Na ato Duw i'r amser byth ddyfod pryd yr edrych *yntau hefyd* ar gyfoeth yn gyfystyr â daioni. Gwir fod gan ysbryd Mammon ymerodraeth dra eang; ond nis gellir, ac ni ddylid, ei addoli yn y sancteiddiolaf.

Yn 1825, prïododd Carlyle âg unig ferch Dr. John Welsh, o Haddington, meddyg enwog yn y dref honno, a disgynnydd o linach John Knox. Buasai ei gyfaill Edward Irving yn athraw cyfrinachol i'r ferch ieuanc, a thybir fod ganddo law yn nygiad y ddeuddyn hyn i gyffyrddiad â'u gilydd; a phrofodd Miss Welsh ymhob modd yn deilwng gymhar i'w phrïod talentog, un yn ateb yn llawn, gellid meddwl, i'w eiriau hiraethlawn ef ar ol ei marw,—"yn oleuni ei fywyd." Ar ol prïodi, buont byw am ysbaid bŷr yn Edinburgh; ond symudasant cyn hir i fyw ar etifeddiaeth fechan a ddisgynnodd i'w ran ef drwy ei brïodas, o'r enw Craigenputtoch, tua 15 milldir o Dumfries. Yma y bu am flynyddau yn porthi ei feddyliau mewn math o unigrwydd, ac yn ennyn y tân a ddaeth allan wedi hynny mor nerthol yn ei weithiau. Dywedir fod math o ddistawrwydd *poenus* braidd yng nghymydogaethau Vesuvius ac Etna cyn eu toriad allan; ond ar ol hynny gwyliwch atoch! Pa ddyn, o ddim nôd, o ddyddiau y llanc Hebreaidd yn nhir Midian, hyd y diweddaf fu yn porthi ei dân mewn distawrwydd mewn rhyw gongl anghysbell o olwg y byd, gan chwennych cael ei esgusodi gan y byd hyd nes y deuai ei amser, a wnaeth ddim o'i ôl ar ei genedlaeth heb gasglu nerth mewn unigrwydd i wneud hynny?

Am ei ddull o fyw a'i efrydiau yn y fan hon, nid oes fodd cael gwell desgrifiad na'r un a geir mewn llythyr o'i eiddo ef at Goethe; dodwn rydd-gyfieithiad lled gryno o hono, gan hynny, ger bron. Y dyddiad ydyw Medi 25ain, 1828:—

Yr ydych yn ymholi gyda'r fath ddyddordeb gwresog am ein trigfa a'n gorchwylion presennol fel yr ydwyf yn rhwymedig, tra y mae eto le, i ddweyd gair neu ddau o barth i'r naill a'r llall. Dumfries sydd dreflan hyfryd, yn cynnwys tua 15,000 o drigolion, a gellir ei hystyried yn ganol-fan masnach a chyfundrefn gyfreithiol rhanbarth eang o gryn bwysigrwydd yn nhiriogaeth gweithgarwch Ysgotaidd. Nid ydyw ein preswyl ni yn hollol yn y dref, eithr tua 15 milldir i'r gogledd-orllewin, ymysg bryniau ithfaen a chorsydd duon, a ymestynant drwy Galloway i'r gorllewin, bron hyd fôr y Werddon. Er yn amgylchynedig gan wylanod a defaid crych-wlanog, saif ein hetifeddiaeth fechan allan, ynghanol yr anialdir hwn o graig a rhôs, fel llanerch fechan werdd-las, mewn rhan yn gauedig a phlanedig, lle y tŷf grawn, ac y dyry y coedydd eu cysgod. Yma, trwy gryn drafferth, yr adeilasom ac y dodrefnasom i ni ein hunain drigfod destlus a chadarn; ac yma, yn niffyg unrhyw swydd broffeswrol nac arall, yr ydym yn preswylio, gan goledd llenyddiaeth yn ol ein nerth ac yn ein ffordd neillduol ein hunain. Dymunwn dyfiant dedwydd i rosynau a blodau ein gardd; gobeithiwn am iechyd a meddyliau heddychlawn i gyflawni ein penderfyniadau. Mae yn wir fod y rhosynau mewn rhan i gael eu plannu, ond blodeuant eisoes mewn disgwyliad. Y feddyginiaeth oreu i ewynnau gweinion ydyw awyr y mynydddir, a dau ferlyn bychan a'n cariant i'r man y mynom. Fy unig adloniant ydyw yr ymarferiad beunyddiol hwn, i ba un yr ydwyf yn dra ymroddedig; canys y gongl fechan hon o'r eiddom ydyw y fwyaf unig ym Mhrydain,—chwe milldir oddiwrth neb tebyg i ymweled â mi. Buasai Rousseau mor ddedwydd yma ag ar ynys Sant Pierre; yn wir, priodola fy nghyfeillion trefol fy ymdaith yma i'r un tueddfryd, a daroganant i mi ganlyniadau drwg. Ond daethum yma gyda'r unig amcan o symleiddio gyrfa fy mywyd, ac o sicrhau yr annibyniaeth y galluogir fi drwyddo i fod yn ffyddlon i mi fy hun. Eiddom ni ydyw y dernyn tir hwn; yma ni gawn fyw, ysgrifennu, a meddwl fel y mynom, hyd yn oed pe coronid Zoilus* ei hunan yn benadur llenyddiaeth. Ond nid yw yr unigedd o gymaint pwys, canys fe'n cymer cerbyd ni yn fuan i Edinburgh, yr hon a ystyriwn ein Weimar Brydeinig. Ac onid oes gennyf, y foment hon,

* Zoilus ydoedd un o reithegwyr Groeg a feirniadodd yr Iliad mor ffyrnig fel y daeth ei enw i gael ei gymhwyso at bob beirniad brathog.

wedi eu pentyru ar fwrdd fy llyfrgell fechan, lawn llwyth trol o lyfrau a chyfnodolion Ffrengig, Germanaidd, Americanaidd, a Seisonig,—beth bynnag a all fod eu gwerth? Nid oes prinder o efrydiau henafiaethol ychwaith; oddiar rai o'n huchel-fanau, daith diwrnod i'r gorllewin, gallaf ganfod y bryn lle y gadawodd Agricola a'i Rufeinwyr wersyll ar eu holau. Wrth ei droed y'm ganed, ac y mae yno dad a mam yn byw eto i'm caru. Felly rhaid i ddyn adael i amser weithio. Ond i ba le yr ydwyf yn crwydro? Goddefwch i mi gyfaddef wrthych fy mod yn berffaith ansicr o barth i'm gweithgarwch llenyddol yn y dyfodol, a byddai yn dda gennyf gael eich opiniwn o berthynas iddo;—yr unig ddernyn o ddim pwysigrwydd a ysgrifennais er pan wyf yma ydoedd *Traethawd ar Burns*.

Heblaw y traethawd uchod ar Burns, ymddengys iddo anfon allan i'r byd amryw ddarnau tua'r adeg hon; ac nid y lleiaf ei hynodrwydd o honynt yn ddïau ydoedd ei *Sartor Resartus*,—un o'r cyfansoddiadau rhyfeddaf ymysg rhai rhyfedd. Nid gormod ydyw dyweyd, fe ddichon, nad oes neb eto wedi proffesu ei lawn ddeall,—os ydyw, fel yr awgryma rhai beirniaid, yn ddealladwy i'r awdwr ei hunan. Gan y bwriadwn ddychwelyd at ei gynnwys eto yn y dyfodol, ni wnawn yma ond yn unig nodi amgylchiadau ei gyhoeddiad. Fel llawer cyfansoddiad enwog o'i flaen, bu y llyfr hwn mewn llawysgrifen yn cardota am ysbaid o ddrŵs i ddrŵs am rywun i'w gyhoeddi. Dychwelai un o'r cyhoeddwyr enwocaf y llawysgrif yn ol gyda'r geiriau difrifol a ganlyn:—"Nad oedd ar yr ysgrifennydd eisieu ond ychydig ychwaneg o fedr mewn trefn i gynnyrchu gwaith galluog a phoblogaidd." Dychymyger am yr anffaeledigion llênyddol hyn yn sôn am i Thomas Carlyle feddu ychydig mwy o fedr i gynnyrchu gwaith galluog a phoblogaidd! O'r diwedd, fe'i cyhoeddwyd o ddarn i ddarn yn *Fraser's Magazine;* ond nid hir y buwyd cyn canfod ei deilyngdod,—galwyd am argraffiad o hono ar ei ben ei hunan; ac erbyn hyn, yn yr argraffiad poblogaidd o'i weithiau, y llyfr hynod hwnnw sydd yn cael y lle o anrhydedd ar drothwy y gyfres, ynghyda darlun o'r awdwr yn wyneb-ddalen iddo.

Tra yr ydoedd Carlyle yn cartrefu yn y parth unig hwn o'r Alban, daeth Americanwr ieuanc, anenwog y pryd hwnnw, o'r enw Ralph Waldo Emerson, un diwrnod i dalu ymweliad âg ef; a chan fod y ddau erbyn hyn wedi dyfod mor enwog, a bod yr ymddiddan mor nodweddiadol o honynt ill dau, temtir ni i ddodi crynodeb o hono ger bron ein darllennwyr, er mor anghyfieithiadwy ydyw:—

Daethum o Glasgow i Dumfries, ac oherwydd fod fy mryd ar gyflwyno llythyr a ddygaswn gyda mi o Rufain, ymholais am Craigenputtoch. Ffarm ydoedd yn Nithdale, ym mhlwyf Dunscore, tua 15 milldir o bellder. Gan nad oedd yr un cerbyd cyhoeddus yn rhedeg heibio, huriais un yn y gwesty lle y lletywn. Deuais o hyd i'r ty yng nghanol bryniau llymion, lle y meithrinai y llenor unig ei galon fawr. Yr oedd Carlyle yn ddyn o'i ieuenctid, yn awdwr nad oedd raid iddo ymguddio o ŵydd ei ddarllenwyr; yn ddyn y byd, er yn anadnabyddus, mor wirioneddol ar y bryn-dyddyn hwnnw a phe buasai yn dal yn ei law bethau goreu Llundain. Yr ydoedd yn dal, teneu, gyda thalcen uchel, hunanfeddiannol; ac yn cadw ei alluoedd ymddiddanol ysplenydd o dan reolaeth berffaith. Glynai gyda boddhad amlwg wrth ei acen ogleddol; yn llawn o hanesynau bywiog, a ffrwd o arabedd a yrai bob peth o'i blaen.

* * * *

Prin ydoedd y gwrthddrychau, ac unig ydoedd y dyn,—heb neb ganddo i gymdeithasu âg ef o fewn 15 milldir, oddigerth gweinidog Dunscore; o ganlyniad, ffurfiai llyfrau o angenrheidrwydd brif destynau ei fyfyrdod. Meddai enwau o'i eiddo ei hunan ar bob mater perthynol i'r ymddiddan. Gelwid y *Blackwood Magazine* ganddo y "Cylchgrawn tywod," a'r *Fraser*, am ei fod yn dynesu mwy at fywyd, y "Cylchgrawn pridd:" galwai ddernyn o ffordd gerllaw, a ddynodai weddillion rhyw anturiaeth fethiantus, yn "fedd y chwe cheiniog diweddaf." Pan y blinid ef drwy ganmawl gormod ar unrhyw athrylith adnabyddus, proffesai edmygedd anarferol o dalent ei fochyn. Treuliasid llawer o amser a medr ganddo i geisio cyfyngu yr anifail tlawd i un gongl o'r ffald; ond, trwy gallineb mawr, canfu y mochyn pa fodd i dynu i lawr ddernyn o bren, a thrwy hynny orchfygu ei feistr. Tybiai, er hynny, mai dyn oedd y creadur bach mwyaf addysgadwy ar wyneb y blaned; a hoffai hanes marwolaeth Nero—*Qualis artifex pereo*—yn well na'r rhan fwyaf o hanesiaeth. Braidd nad allai addoli y dyn a ddadguddiai iddo unrhyw wirionedd newydd.

Siarardem am lyfrau. Nid ydoedd yn darllen Plato, a dibrisiai Socrates; a phan bwysid arno, mynai wneyd arwr o Mirabeau. Galwai Gibbon yn bont ysplenydd o'r hen fyd i'r

newydd. Buasai ei ddarlleniad ym moreu ei oes yn dra amrywiol. *Tristram Shandy* ydoedd un o'i lyfrau cyntaf ar ol *Robinson Crusoe*, a bu hanes America gan Robertson yn hofflyfr boreu ei oes. Rhoddodd *Confessions* Rousseau ar ddeall iddo nad ydoedd yn hurtyn; ac yr ydoedd bellach ddeng mlynedd er pan y dysgasai y Germanaeg, ar awgrym cyfaill a'i hysbysodd y caffai yn yr iaith honno yr hyn a geisiai. Cymerai olwg anobeithiol a gwawdlyd ar lenyddiaeth y dydd, gan adrodd y symiau anhygoel a delid mewn un flwyddyn gan y llyfrwerthwyr mawrion am bwffio eu nwyddau. O ganlyniad ni chredir yr un newyddiadur ar hyn o bryd, ni phrynir dim llyfrau, ac y mae y llyfrwerthwyr ar fin methdaliad.

Dychwelai yn barhaus at dlodi Lloegr—y wlad orboblogedig, ac esgeulusdra hunangar dynion cyhoeddus o wneyd yr hyn y dylai dynion cyhoeddus ei wneyd. "Dylai y llywodraeth," meddai, "gyfarwyddo dynion tlodion pa beth i'w wneyd. Daw Gwyddelod tlodion ar grwydr ar draws y corsydd hyn, a gwna fy meistres hi yn rheol i roi i bob un o blant Adda fara i'w fwyta, a chyflenwi ei anghenion nes y cyrhaeddo y ty nesaf. Ond wele yma filoedd o gyfeiriau o dir a allai roddi cynhaliaeth iddynt oll, a neb i ddyweyd wrth y Gwyddelod truain hyn am fyned i'r rhosdir a'i fraenaru. Canfuasant ffordd i orfodi y mawrion i gymeryd sylw o honynt drwy losgi yr ystaciau."

Aethom allan i gerdded dros y bryniau, i gael golwg ar fynydd Criffel, y pryd hynny heb ei benwisg, ac i lawr i wlad Wordsworth. Yna eisteddasom i lawr i ymddiddan am anfarwoldeb yr enaid. Nid bai Carlyle ydoedd i ni fyned i siarad ar y testyn hwn; canys yn gyffelyb i bob ysbryd bywiog, meddai annhueddrwydd naturiol i anafu ei hunan yn erbyn muriau mawrion, nac i rodio lle nis gallesid rhoddi cam yn ol nac ymlaen. Ond yr ydoedd yn onest a chywir, ac yn ymwybodol o'r gadwen ddirgelaidd sydd yn rhwymo oesau ynghyd, a gwelai fod amgylchiad yn effeithio ar yr oll o'r dyfodol; "Crist wedi marw ar y pren; dyna adeiladodd eglwys Dunscore yn y fan acw," meddai, "a dyna a ddaeth â chwi a minnau at ein gilydd. Ni fedd amser ond bodolaeth berthynasol yn unig."

Gydag edmygedd ysgolhaig, troai eisoes ei lygaid tua Llundain. "Llundain ydyw calon y byd," ebai, "a'i hunig ryfeddod hithau ydyw y swm enfawr o fodau dynol sydd ynddi." Hoffai y peiriant aanferth.

Yn fuan ar ol yr ymweliad a gofnodir uchod, ymadawodd i fyw i Lundain, gan wneud ei gartref yn Chelsea, mewn tŷ, i raddau, hen ffasiwn, wedi ei adeiladu yn nyddiau y frenines Ann, lle y triga hyd yn awr. Pan yn fyw, preswyliai Maclise yr arlunydd enwog yn agos ato, a bu Leigh Hunt ac yntau am beth amser yn

gymydogion agos, ac yn gyfeillion mynwesol tra y bu Hunt fyw. Ceir tamaid o lythyr o eiddo Carlyle at Syr W. Hamilton, yn hysbysu yn ei ddull swta nodweddiadol ef ei hunan, am ei symudiad i Lundain:—

Torasom i fyny ein hen sefydliad, ac ar ol digon o derfysg llwyddasom i ffurfio un newydd yma o dan yr amodau mwyaf gwahanol. Nid oes ond megis cam o greigiau llwydion bythddistaw Nithsdale i balmant trystfawr a phydewlyd Piccadily. Yr ydwyf yn ei deimlo y cyfnewidiad dieithriaf, ond cynefina dyn â phob peth braidd. O'r diwedd ysgubwyd tros y drws ein dodrefnwyr gyda'u hysbwrial a'u hysglodion. Cefais fy nghwpwrdd llyfrau bychan i fyny, a'm bwrdd yn ei le, a dyma lle yr ydwyf yn eistedd gan ddisgwyl pa beth a all amser a minnau, yn ein hymdrech amheus rhyngom â'n gilydd, ei gynnyrchu.

O adeg ei ddyfodiad i Lundain hyd y flwyddyn 1840, ymgymerodd â thraddodi amryw gyfresau o ddarlithoedd ar ei hoff destynau, sef "Llênyddiaeth Germanaidd," "Hanes Llênyddiaeth," "Chwyldroadau diweddar Ewrop," ac "Arwyr ac Arwr-addoliaeth." Y gyfres olaf yn unig a gyhoeddwyd, a chyda dosbarth helaeth o'i edmygwyr daeth yn fuan yn un o'i gyfansoddiadau mwyaf poblogaidd; ac nid heb reswm, ychwaith, am ei fod ar y cyfan, gyda'r eithriad o rai o'i weithiau hanesyddol, y mwyaf dealladwy o honynt oll. Tra yn anghytuno yn hollol â llawer o'i olygiadau, rhaid i bawb addef uniondeb ei feirniadaeth ar y bardd Burns, y diwygwyr Luther a Knox, ac amryw eraill. Nis gallwn mewn un modd gydweled â'r priodoldeb o roddi Mahomet, Rousseau, Burns, a Napoleon, ochr yn ochr â Luther a Knox; eto, cydnebydd pawb hyawdledd, grymusder, ac angerddoldeb y darlithiau hyn.

Ar y gyfres ar "Chwyldroadau diweddar Ewrop" y sylfaenwyd y llyfr rhyfedd hwnnw o'i eiddo ar y *Chwyldroad Ffrengig*. Er ei fod ef yn ei deitlo yn "hanes," dylid cofio mai hanes yn ystyr Carlyle o hanes ydyw; galwai pawb eraill ef yn *ddrama* ryddieithol, neu, hwyrach, yn arwrgerdd gyda mwy nag un arwr iddi. Camgymera llawer drwy fyned ato ef am ffeith-

iau yr hanes; ond dylid darllen Alison, neu ryw hanesydd anfarddonol arall, lle y ceir dim ond adroddiad syml o'r ffeithiau, yna dychweler at Carlyle am y *darlun;* y mae efe yn eich trosi drosodd i fyw yn y dyddiau ystormus hynny. Gallwn yn ddibetrus ei ystyried yn un o'r darnau mwyaf celfyddgar a desgrifiadol yn yr iaith Saesoneg. Dywedir i Syr W. Hamilton, yr hwn oedd mor hoff o dynnu perfeddion pob llyfr, ys dywedai yntau, gael hyd iddo tua 3 o'r gloch un prydnawngwaith, a methu gollwng ei afael o hono hyd 4 o'r gloch boreu drannoeth. Adroddir hanesyn arall tra dyddorol ynglŷn â'r llyfr hwn. Benthyciodd Carlyle y gyfrol gyntaf o hono, pan mewn llawysgrifen, i John Stuart Mill, a chariodd Mill ef i'r foneddiges a fu wedi hynny yn wraig iddo. Tra y bu o dan ofal y foneddiges hon digwyddodd i'r llawysgrif syrthio un diwrnod oddiar fwrdd ei llyfrgell ar lawr, a'r forwyn, gan dybied nad ydoedd ond swm o bapyr hollol ddiwerth, a'i taflodd i'r tân. Dywedir na pharodd dim braidd gymaint o brofedigaeth i Mill a'r ddamwain hon; ac nid hawdd oedd ei dawelu nes i Carlyle ei sicrhau y gallai adysgrifennu yr oll o nodiadau oedd ganddo.

Gan i ni grybwyll am y darlithiau, nid annyddorol, hwyrach, fyddai cael gair am dano fel darlithydd. Am hyn, fel pob peth arall a berthyn i Carlyle, y mae opiniwn ymhob pen, a hwnnw yn gwahaniaethu yn ol rhifedi y pennau. Beth fyddai i ni geisio anrhegu ein darllennwyr â chrynodeb o rai o'r beirniadaethau hyn? Os gwrandawn ar Leigh Hunt, ac amryw o'i edmygwyr pennaf, nid oedd dim cyffelyb i'r darlithiau hyn,—yr oedd eu gwrandaw fel cyfranogi o wleddoedd y duwiau. "Yr ydoedd," ebe Hunt, "fel pe buasai un o'r Puritaniaid, wedi ehangu ei ysbryd gan athroniaeth Germany, a'i fyfyrdodau a'i brofiad angerddol ei hunan, wedi adgyfodi." O berthynas i'r elfen Buritanaidd hon ynddo, ysgrifenna un arall o'i feirniaid,—Mr. James Hannay—fel y canlyn:—"Y mae y difrifwch, yr arabedd miniog, a'r ffraethineb hynod hanner-gwawdus,

hanner-cydymdeimladol, yn hollol Ysgotaidd; ymddengys yn Knox a Buchannan, a cheir arwyddion o hono hefyd yn Burns. Pe gofynid i mi roddi cyfrif am y gwreiddioldeb hwn, dywedwn mai un o'r Cyfamodwyr ydyw wedi ymddangos yn neffroad y ddeunawfed ganrif a'i hathroniaeth uchanianol. Aeth ef i'r mynydddir yn erbyn 'rhithiau' fel yr aethant hwythau yn erbyn Esgobyddiaeth ac Erastiaeth. Ond blodeua efe mewn adeg dawelach a sefyllfa lênyddol; felly gall efe chwareu â'r arabedd a fodolai ynddynt hwythau yn ogystal; a llifa efe drosodd hefyd gan ehangder darlleniad a damcaniad ag ydoedd o angenrheidrwydd yn gwbl ddieithr iddynt hwy."

Dyma fel yr ysgrifennai un arall o'i feirniaid yn y *Spectator* ar y pryd:—"Traddododd Mr. Carlyle y gyntaf o gyfres o ddarlithoedd ar 'Lênyddiaeth Germany' i gynnulleidfa fawr, ond dewisedig, o'r ddau ryw. Gall Mr. Carlyle fod yn ddiffygiol ym mheirianwaith cyffredin areithyddiaeth, ond mwy na gorbwysir hynny gan ei feistrolaeth drylwyr o'i fater, gwreiddiolrwydd ei ddull, ei hyawdledd syml ond didwyll, a'i ymafliad egnïol mewn pwnc dyrys ac anhawdd. Nis gallasai yr un dyn o chwaeth a barn ei wrandaw heb deimlo fod y darlithydd yn ŵr o athrylith, ac wedi ei drwytho yn dda yn ysbryd ei destun."

Fel yna y dywedai ei edmygwyr am dano; ond ni ddylem ar un cyfrif basio heibio i feirniadaeth arall—beirniadaeth o eiddo y rhai a eilw Carlyle yn gefnogwyr *flunkeydom*, y beirniaid hynny sydd yn gofalu mwy am blygiad y ffunen a thoriad yr hugan nag am yr ysbryd a orwedd dan yr ymddangosiadau hyn. A ganlyn ydoedd syniad y sect hon am dano fel darlithydd:—

Disgwylir i mi yma ddyweyd rhywbeth am arddull Mr. Carlyle fel darlithydd. Mor belled ag y mae ei ddull yn y cwestiwn, o'r braidd y gallaf ddyweyd yr un gair yn gymeradwyol iddo. I gynulleidfaoedd o'r dosbarth parchusaf yn Llundain, ydynt yn gyfarwydd â'r ymddanghosiadau mwyaf caboledig a ddangosir yn ystafelloedd-Willis neu Hanover, rhaid

yr ymddengys rhywbeth yn ei ddull yn dra thrwsgl. Yn ol yr arferiad cyffredin mewn amgylchiadau o'r fath, derbynir ef gyda chymeradwyaeth pan y daw i mewn i'r ystafell, ac yr esgyna i fyny i fath o areithfa y traddoda ei ddarlithiau oddiarni; ond anfynych y cymer efe unrhyw sylw o'r gymeradwyaeth a roddir fel hyn iddo mwy na phe buasai yn hollol anymwybodol o hono. Ar ddechreu ei araeth hefyd y mae yr un diffyg parch i'w gynulleidfa, neu o'r hyn lleiaf yr un dibrisdod o'r hyn, dybygid, a ystyria efe yn ffurfiau trafferthus o foneddigeiddrwydd, yn dra amlwg. Ar ol esgyn at ei *ddesk*, rhwbia ei ddwylaw yn galonog, ac ymsudda ar unwaith i'w destun. Ceidw yn lled fanwl at ddarllen, fel y gallesid disgwyl oddiwrth natur y pynciau yr ymgymer â thraethu arnynt. Nid ydyw mewn un modd yn wastraffus o ystumiau gyda'i gorff a'i freichiau; ond y mae rhywbeth yn ei lygaid a'i wynebpryd a arddengys ddifrifwch amcan anghyffredin, a'r dyddordeb mwyaf angerddol yn ei destun. Ar rai o'i funydau mwyaf brwdanol ac egniol, gallech ddychymygu gweled dyfnderoedd ei enaid yn ei wynebpryd. Ar adegau, ac yn lled fynych yn wir, efe a anffurfia ei wyneb i'r fath raddau, nes rhoddi ymddangosiad hynod o anhapus i'w brydweddiad. Gallech dybio ar y cyfryw amgylchiadau ei fod wedi cael ymosodiadau dirdynol o boen. Y mae yn un o'r siaradwyr mwyaf bwngleraidd a glywais i erioed yn annerch cynulleidfa gyhoeddus o bobl. Heblaw trwsgleiddiwch cyffredin ei ddull, gwna ystumiau, a fuasent o honynt eu hunain yn ddigon i ddinystrio hapusrwydd ei draddodiad. Mwyhëir lledchwithdod ei ddull o lefaru a'i ystum gan ei acen Ysgotaidd gref. Hyd yn oed i'r rhan fwyaf o'r Ysgotiaid eu hunain, y mae ei gynaniad yn glogyrnaidd y tu hwnt i bob peth; beth a raid ei fod ynte pan yn disgyn ar glust Seisonig?

O'r adeg hon i waered hyd yn bresennol, ymranna ei ysgrifeniadau braidd oll, er mor lïosog ydynt, i ddau ddosbarth mawr, sef, y rhai ar *ddiwygiad cymdeithasol* a'r rhai *hanesyddol*. Gan eu bod mor aml, ni chawn ond prin eu henwi. Yn y dosbarth cyntaf a grybwyllwyd ceir "Siartiaeth;" "Y Gorphenol a'r Dyfodol;" "Pamphledau y Dyddiau Diweddaf." Yn y rhai hyn, fe dŷr dir newydd hollol iddo ei hunan ar rai o'r cwestiynau mwyaf "llosgedig" o berthynas i Loegr yn wladol a chymdeithasol. Ar eu hymddangosiad cyntaf fe'u condemnid braidd yn ddiarbed gan bob plaid; ond y mae y "gweledydd o Chelsea" wedi cael byw i weled bron yr oll o'i ragfynegiadau wedi eu cyflawni. I'n bryd ni, dyma un o'r rhannau gwerthfawrocaf o'i lafur. Y

mae yr hyn a gondemniwyd gan y newyddiaduron bymtheg mlynedd ar hugain yn ol, yn ei lyfr ar "Siartiaeth," yn llawn o'r ddoethineb addfetaf erbyn heddyw. Tybier am y prophwyd a ddadganai y pryd hynny, mai dau beth mawr ydoedd "nôd angen" Prydain ar y pryd, sef Addysg Gyffredinol, ac Ymfudiaeth Gyffredinol; ac adseinia enwau Mr. Forster a Mr. Joseph Arch erbyn hyn wirionedd y brophwydoliaeth. Y mae un dargoniad o'r fath hyn yn werth swrn o brophwydoliaethau Dr. Cumming am y mil blynyddoedd; ni a ymdarwn yn weddol gyda golwg ar y milflwyddiant pan y daw: ond byddwn yn dra diolchgar am bob cyfarwyddyd ar ein ffordd tuag ato. Rhagfynegodd bron i berffeithrwydd ansawdd y farchnad lafur a thalent, ac mai yr unig feddyginiaeth ydoedd ymfudiaeth gyffredinol a rheolaidd i'r trefedigaethau, yr hyn mewn gwirionedd sydd wedi ac yn cymeryd lle; ond nid yn y dull rheolaidd a awgrymai efe. Ymosoda yn ddiarbed ar ein gwladweinwyr am adael y "rhyfel-longau i fraenu yn ddioglyd yn y porthladdoedd, yn lle croesi y cefnforoedd i ryw amcan defnyddiol; am adael dynion diwylliedig, cyfarwydd âg ysgrifell ac ymarferiad, cyfreithwyr diorchwyl, offeiriaid diofal, i lenwi y dadleudai ac ymlechu yn y goruwchystafelloedd; a'r unig beth oedd yn eisieu iddynt ydoedd *gwaith*, GWAITH." Ac am y dosbarth gweithiol drachefn, addysg gyffredinol ydoedd yr un angenrhaid mawr ar eu cyfer hwy,—eisieu "rhyw berson swyddogol a ofalai am i bob dyn gael ei ddysgu i ddarllen ac ysgrifennu; ac na chymerai unrhyw amod, esgusawd, na gohiriad, yn lle hynny." Dyma brophwydoliaeth am y Byrddau Ysgol, onidê, bymtheg mlynedd ar hugain cyn eu sefydlu?

Am y dosbarth arall—ei weithiau *hanesyddol*—ffurfiant gyfres helaeth, a dangosant lafur dyfal blynyddoedd goreu ei fywyd mewn casglu ffeithiau, a'r celfyddgarwch mwyaf mewn dodi y rhai hynny wrth eu gilydd. Ymysg y rhai hyn ceir "Bywgraffiad John Sterling;" ac yn bennaf y ddau waith mawr, un ar

"Oliver Cromwell," a'r llall ar "Ffrederic Fawr," heblaw lliaws mawr o erthyglau a gyhoeddwyd o bryd i bryd yn y gwahanol gylchgronau; a'r fath ydyw ei yni llênyddol fel y cyhoeddodd ychydig o fisoedd yn ol gyfrol ar "Frenhinoedd Boreuol Norway." Yn yr holl weithiau hyn, ceir ei syniad ef am *hanesiaeth* yn rhedeg drwyddynt, sef mai dyna ydyw,—*crynodeb o nifer diderfyn o fywgraffiadau:* nid ydyw hanes gwlad neu gyfnod, yn ei opiniwn ef, ond hanes eu dynion mawrion sydd wrth eu gwaith yn creu hanes. Felly wrth eu galw yn llyfrau hanesyddol, nid ydym i ddeall mai adroddiad syml o ffeithiau ydynt, a dim arall; ond yn hytrach darluniadau byw, tanllyd, o olygfeydd ac amgylchiadau, a *phersonau* yn brif ysgogwyr ynddynt, ac yn achosion pennaf o honynt. Tra y try rhai fywgraffiadau yn hanésiaeth, gogwydda efe at wneud hanesiaeth yn fywgraffiad. Er cymaint a ogenir arno am ei waith yn edmygu gallu, dylid cofio y rhaid i hwnnw fod bob amser yn allu *personol* cyn yr enilla ei gymeradwyaeth ef; a thybiwn fod hyn lawn mor iached ei ddylanwad, a dyweyd y lleiaf, a'r duedd gref sydd ar led y dyddiau hyn i edmygu galluoedd materol ar wahân i gysylltiadau personol. Nid ydyw y Niagara, yn y diwedd, ond pistyll o ddwfr, tra y mae y dynyn gwledig a ddichon fod yn syllu arno yn fôd galluog i gychwyn ysgogiadau diddiwedd, ac i greu hanes y rhaid cael tragwyddoldeb i'w ddarllen; ac o'r duedd hon i edrych ar bob peth o safle dyn, megis, y tardd yr olwg bersonol a gymer Carlyle ar hanesiaeth. Digon hyn yn y fan hon, gan y cawn ddychwelyd eto i geisio rhoddi crynodeb o rai o'i weithiau hanesyddol. Hyd hynny, na feddylied neb o'n darllennwyr ein bod yn cymeradwyo pob un o'r arwyr, nac yn credu mewn un modd bob peth a ysgrifennodd efe am danynt.

Cyn terfynnu yr ysgrif hon, dymunem eto droi am ychydig oddiwrth ei weithiau at y *dyn* yn neillduaeth ei fywyd yn Chelsea. Ein hunig amcan yn cymysgu cymaint o hanes yr awdwr gyda hanes ei weithiau ydoedd

i wasanaethu fel math o ragarweiniad i ysgrifau dyfodol, lle y bwriadwn sefyll gyda'i syniadau, a dim arall. I ni nid ydyw y dyn "ond llef un yn llefain yn y diffeithwch:" nis gwelsom ef erioed; ond yr ydym er ys blynyddau bellach wedi gwylio y wasg yn fanwl, a chadw pob hysbysrwydd am dano gyda gwanc edmygedd ei hunan. Nid oes yr un bywgraffiad cyflawn nac awdurdodedig o hono, gan y byddai yn rhyw fath o drosedd ar chwaeth i neb ysgrifennu llawer o hanes bywyd awdwr ac yntau yn fyw; ond sibrydir ei fod ef ei hun wedi cyfansoddi "Hunanfywgraffiad," ac wedi penodi Froude, yr hanesydd enwog, yn gymunweinyddwr llênyddol. Pa fath lyfr fydd hwnnw, amser a ddengys.

Ond ni chaiff lonydd yn nhawelwch Chelsea; ac afrifed ydyw y mân-hanesynau a draethir am dano, a'r troion digrif, os nad trwstan hefyd, a brïodolir iddo. Er mor neillduedig ydyw, dywedir fod pobl Chelsea yn dra chyfarwydd â'i ffurf dal, deneu, wedi ymwisgo mewn hugan lwyd, ac am ei ben het fawr, gyda bargod llydan anferth. Cerdda allan, yn gyffredin, yn y nos, gan gario yn ei law ffon anferth o faintioli; a phan, flynyddau yn ol, y gwneid cynifer o ymosodiadau ar bersonau ar yr heolydd, mynnai fyned, gan ddibynnu llawer, dybygid, ar ei law-ffon, er yr ofnai rhai o'i gyfeillion i'w fywgraffiad o Ffrederic Fawr gael ei ddwyn i derfyniad lled swta o'r herwydd. Sonir am dano fel un hoff o lonyddwch i efrydu; a chyn i fesur Mr. Bass o berthynas i offerynnau cerdd ar hyd yr heolydd ddyfod i sylw, dywedir iddo fyned allan i'r heol aml waith a chynnyg swm mawr o arian i berchen aml i law-organ am fyned ymaith; ac os na chymerai y cerddor ei lwgrwobrwyo, yr ymaflai yntau ynddo, offeryn a chwbl, gan ei osod yn daclus wrth ddrŵs cymydog o lênor a wnaethai ei hun yn hysbys fel amddiffynydd y cerddorion teithiol. Adnabyddir ef hefyd gan ei gymydogion fel casäwr y dofednod trystfawr hynny a elwir ieir; a chwynai unwaith fod dâ plüog cymydog iddo wedi ei alltudio i'r nenlofft, "o herwydd," meddai, "na fynant ddëor eu

hunain, ac na adawant lonydd i neb arall wneud hynny ychwaith." Adroddir hefyd mai nid mor felusber iddo ef ydyw caniad y ceiliog; ac iddo anfon achwyniad at foneddiges a drigai gerllaw a berchenogai amryw o'r creaduriaid soniarus hyn. Ond, fel y gallesid disgwyl, yr ydoedd y foneddiges yn gyndyn: "Pa fodd y gall Mr. Carlyle gael ei rwystro?" ebe hi, "nid ydyw y ceiliogod yn cânu ond pedair gwaith yn y dydd." Yr ateb tra nodweddiadol ydoedd, "Ië, ond anghofia y foneddiges gymaint wyf fi yn ei ddioddef i *ddisgwyl* am y pedair gwaith hynny."

Am ei ddull o fyw, yr awdurdod uchaf ydyw ef ei hunan. O ran ei arferion y mae yn hollol gymedrol. Pan anfonwyd ato unwaith i ofyn a oedd efe yn *Ban-theist*, atebai, "Na, ni fûm i erioed, nac yn *Bot-theist* chwaith." Yn fuan ar ol gorphen o hono ei lyfr ar Ffrederic Fawr, gwahoddwyd ef gan gyfaill i dreulio peth amser gydag ef a'i wraig yn eu cartref yn Ysgotland; ac awgrymai y cyfaill y gwnaent eu goreu, gyda'r croesaw oedd ganddynt, i'w wneud yn gysurus. Yn ateb ceir a ganlyn:—"O berthynas i'm harferion teuluaidd, yr ydwyf dros symledd a thawelwch (*simplex munditiis* ydyw fy arwyddair ymhob peth). Byddaf yn hoffi byw, lle y gellir, ar gynnyrch tyddyn gwledig—llaeth a blawd, ŵyau ednod, mollt-gig y mynydd-dir, pysgod. Gwaherddir i mi eogiaid, oen-gig, a llô-gig. Ystyriaf bwdin bara diniwed yn nôd uchaf y gelfyddyd gogyddawl. Byddaf yn arfer gofyn, A all yr holl nwyau sydd mewn natur, gyda holl gyllid y trysorlys i'w helpio, wneuthur unrhyw beth cystled a *llefrith da?* a chredaf mai y fuwch ydyw cyfaill goreu dyn, a'r *French cook* ei elyn pennaf. Nid ydwyf un dydd o ddeg yn yfed dim y tu hwnt i un glasiad o wîn. Digon ar y pen yna. O berthynas i gwmni, ni bydd arnaf eisieu ond chwi eich dau. Bydd cân fawr y môr diderfyn, a distawrwydd nefoedd a daear, yn well cydymddiddan i mi na dim a gefais er ys amser maith."

Er nad ydyw mewn un modd yn gybyddlyd, eto pell ydyw oddiwrth bob math o ymddangosiad moethus; a gwneir ei dylwyth i fyny yn bresennol o nai sydd mewn masnach, a nith sydd yn gweithredu rhan ysgrifennydd iddo, a morwyn o ymddiried sydd wedi bod yn y teulu er ys amser maith. Gallasem ychwanegu llïaws o bethau oni bae ofn i'n hysgrif fyned yn swp o chwedlau, a hefyd am fod mor anhawdd dethol y gwir oddiwrth y gau yn yr hanesynnau hyn am dano. Cynnwys rhai ystorïau am dano brofion mewnol o'u dilysrwydd, megis honno am dano yn gwrthod y grâdd o LL.D. o herwydd fod ganddo frawd yn ddoctor mewn meddyginiaeth, ac y gallasai camgymeriad ddigwydd pe byddai i ddau Ddoctor Carlyle guro rywbryd wrth borth paradwys.

Ei ymddangosiad cyhoeddus diweddaf ydoedd yn y flwyddyn 1865, pan yr etholwyd ef yn Arglwydd Rag-law Prifysgol Edinburgh; ac ar yr 2il o Ebrill dilynol traddododd ei anerchiad i'r efrydwyr; a diamheu, ar lawer cyfrif, na thraddodwyd erioed well anerchiad, nac, yn ddibetrus, i gynnulleidfa fwy brwdfrydig. Cyhoeddwyd yr anerchiad o dan y teitl o "Ddewisiad Llyfrau;" ond fe gynnwys, mewn gwirionedd, braidd bob awgrym prïodol i efrydwyr mewn athrofa. Y mae rhai o'i frawddegau yn emau gwirioneddol, megis, pan yn annog yr efrydwyr i beidio a bod yn uchelgeisiol. "Na fyddwch mewn un modd yn rhy chwannog i lwyddo, byddwch deyrngarol a llednais. Torwch i lawr y meddyliau uchel-falch fyddo ynoch, neu edrychwch ar eu bod yn bur yn gystal ag uchel. Y mae uchelgais ardderchocach yn bod nag a fyddai ennill California i gyd, neu gael yr holl bleidleisiau sydd ar hyn o bryd ar wyneb y blaned."

Tra yr ydoedd efe ar y neges hon yn Ysgotland, daeth newyddion pruddaidd iddo oddicartref, fod ei brïod, hoff gydymaith ei fywyd, wedi marw! Bu farw yn sydyn ac annisgwyliadwy, o afiechyd y galon, tra yn rhoddi tro allan yn ei cherbyd. Dychwelodd Carlyle ar unwaith i Lundain, ac ymhen ychydig ddyddiau daeth i

Ysgotland eilwaith i roddi gweddillion marwol ei brïod i orwedd ym meddrod ei thad, yng nghôr hen eglwys gadeiriol Haddington. Fel y mae yr arfer Ysgotaidd ar gladdu, ni ddarllennwyd unrhyw wasanaeth uwchben y bedd; ond wedi dodi yr arch yn y gwaelod, taflodd Carlyle ddyrnaid fechan o bridd arno; a dywedir ei fod yn ymweled â'r bedd unwaith yn y flwyddyn yn gyson er dydd ei chladdedigaeth.

Ar derfyniad ei swydd fel Arglwydd Lywydd y Brifathrofa, ceisiai yr efrydwyr anerchiad drachefn ganddo; ond yr oedd hynny allan o gwestiwn. Pa fodd bynnag, anfonodd lythyr bŷr, ond anarferol o gynnwysfawr, atynt; a chyda lled-gyfieithiad o hwnnw y terfynwn ein sylwadau presennol ar Thomas Carlyle:—

Byddwch cystal a hysbysu y boneddigion ieuainc a fuont mor garedig tuag ataf fi, fy mod eisoes, mewn distawrwydd, ond gyda theimladau dyfnion ddigon, fe allai rhy ddyfnion, wedi anfon atynt fy ffarwel cyfeillgar, ac nad ydyw ammharch nac anniolchgarwch mewn un modd ymysg achosion fy absenoldeb, Gyda brwdfrydedd ieuengaidd gwych a phrydferth i edrych arno, cynysgaethasant fi â'r tamaid yna o anrhydedd,—yn deyrngarol yr oll a feddent; ac oherwydd y rheswm hwn ac arall, y mae wedi dyfod yn darawiadol gofiadwy i mi am y gweddill o'm hoes, ie, hyd yn oed yn fawreddus a phruddglwyfus gofiadwy i mi. Erchwch iddynt yn fy enw i, os ydynt yn parhau i'm caru, i ymladd y frwydr dda, fel rhai ymrestredig a chysegredig, a bod yn wŷr pybyr yn y filwriaeth sydd o'u blaen. Dywedwch wrthynt am ymgynghori â'r oraclau tragywyddol (sydd eto heb gwbl ddistewi, ac na wnant tra yr ymofynir â hwy yn deilwng), ac i ddibrisio braidd yn hollol, mewn cymhariaeth, y llefau, y bygythion, a'r pensyfrdandod amserol sydd o'u deutu. Bydded iddynt garu doethineb fel y rhaid i ddoethineb, cyn y rhydd i fyny ei thrysorau, gael ei charu, yn dduwiolfrydig, gwrolfrydig, a gostyngedig, â'r holl galon, ac â'r holl enaid, y tu hwnt i fywyd ei hunan, neu holl wobrwyon bywyd. Os gwnant felly, ac nid unrhyw fel arall, dywedaf eto, bydd yn dda arnynt.

Ffarwel, fy nghyfeillion ieuainc, hir ffarwel.

Yr eiddoch yn dra didwyll,

T. CARLYLE.

II.

Y mae yr awdwyr sydd yn dylanwadu fwyaf ar yr oes yn dyfod, mewn amser, i feddu ar fath o bersonoliaeth o'r eiddynt eu hunain, ar wahân i unrhyw syniadau neu ddamcaniaethau a gynnyrchir ganddynt. Cynnyrchu y rhai hynny, mae yn wir, a'u hanfon allan i'r byd, a roddes fôd i'r dylanwad hwn o'u heiddo mewn llênyddiaeth; ond wedi hynny teimlir eu presennoldeb yn distaw lefeinio cymdeithas heb raid iddynt gyhoeddi unrhyw lyfr newydd, neu synnu cenedlaeth trwy gynnyrchu unrhyw ddamcaniaeth newydd. Efelycha dynion hwy yn ddiarwybod. Er anghofio eu geiriau a'u meddyliau, ceir dynion yn meddwl ac yn ysgrifennu yn ol eu dulliau hwynt. Dyma nôd y dosbarth a elwir gennym yn ysgrifennwyr grymus. Ychydig ydyw eu nifer mewn cenedlaeth; a gwrandewir arnynt fel oraclau. Gall awdwr gynnyrchu cyfrol yn awr a phryd arall, a pheri cryn gynhwrf, ac ychwanegu, yn wir, at swm y meddyliau a fyddont, fel *postage stamps*, yn cylchdroi drwy fyd llênyddiaeth; ond yr argraff fwyaf arosol a edy fydd awydd am gyfrol wed'yn. Y mae y dosbarth y soniwn am dano yn wahanol: erys hwn yn un o ddylanwadau parhäus llênyddiaeth. Ceir oes gyfan o lênorion yn eu dilyn yn anymwybodol iddynt eu hunain; canfyddir ôl eu dulliau o feddwl ac ymadroddi ar braidd bob gwaith llênyddol, o'r gwaith mawr safonol i waered hyd at lênyddiaeth un-dydd-un-nos y newyddiadur. O'r nifer hwn, heblaw amryw eraill, ceir Macaulay, Mill, a Carlyle.

Mewn rhifyn blaenorol, cawsom gyfleusdra i alw sylw darllennwyr *Y Traethodydd* at amlinellau hanes bywyd Thomas Carlyle; yn awr bwriadwn roddi trem ar gynnwys rhai o'i ysgrifeniadau. Y mae y maes hwn mor amrywiol ac ëang, fel y byddwn o dan fwy o anfantais hyd yn nôd na'r dyn hwnnw a aeth i'r farchnad i werthu ei dŷ â dernyn o briddfaen yn ei logell yn sampl o hono. Gyda llaw hefyd, ni fynnem, ar un cyf-

rif, haeru mai palas o fynor digymysg ydyw yr adeilad a gyfodwyd gan Carlyle. Na, nid oes neb parotach na ni i addef fod ei waith yntau, *fel* y rhan fwyaf o ddynion, ac yn *fwy nag* amryw, yn cynnwys "coed, gwair, a sofl;" ond haerwn fod yma "aur, arian, a meini gwerthfawr" hefyd. Medda yr awdwr hwn, yn anad yr un awdwr arall, yr anrhydedd o fod yn wrthrych y syniadau mwyaf eithafol. Clywsom rai yn ei foli fel oracl anffaeledig, heb ganfod ynddo ddim brychau; eraill yn myned i hwyl wallgof wrth ei gondemnio, a hynny heb ddarllen ond ychydig dudalennau, yma a thraw, o rai o'i lyfrau. Clywsom ei alw yn *Pantheist*, ac enwau bryntion eraill, gan ddynion ag oeddynt yn adsain syniadau pobl eraill heb erioed ei ddarllen drostynt eu hunain. Yn wir, ar ol i ni ysgrifennu ein hysgrif flaenorol, sylwasom ar rai o neiniau adolygyddol Cymru yn ysgwyd eu pennau nes oedd llinynau eu capiau nos yn cyhwfan yn y gwynt, wrth feddwl fod *Y Traethodydd* yn cymeryd i fyny y fath un a Thomas Carlyle. Gofidus i ni ydyw cythryblu dim ar yr hen wragedd diniwed. Dichon, er hynny, nad ydyw *pob* gwirionedd yn llechu o dan y cap nos, a bod Carlyle a hwythau yn fynych yn edrych ar yr un gwirionedd, ond yn edrych ar ei wahanol ochrau. Pa fodd bynnag, nid oes dim a foddhâ rai heb i chwi ei alw yn angel, na dim a foddhâ eraill heb i chwi ei alw yn ddiafol; ond nid ydyw ym mryd ysgrifennydd y llinellau hyn wneuthur na'r naill na'r llall; namyn cyflwyno ychydig o'r argraffiadau hynny y mae darlleniad blynyddoedd, yn awr a phryd arall, o weithiau Carlyle wedi ei adael ar ei feddwl. Nid ei feirniadu yr ydym, dealler; golygai hynny ein bod yn dwyn ei holl weithiau ymlaen, ac yn eu profi yn ol canonau pennodol beirniadaeth. Nid ydym yn cofio i ni weled hynny erioed yn cael ei wneud yn llwyddiannus â gweithiau yr awdwr hwn, ac nid ydyw yn ein bwriad ninnau ymgeisio at y fath beth. Ond yr ydym yn honni i ni ein hunain y clod neu yr anghlod o fod wedi ei ddarllen i gyd; ac nid gorchwyl

bychan ydyw hynny? Er cymaint y mae Carlyle wedi ei ganmol ar ddistawrwydd—"Distawrwydd, ymherodraeth fawr Distawrwydd; uwch ydyw na'r sêr, dyfnach na theyrnas Marwolaeth,—hi yn unig sydd fawr; bychan ydyw pob peth arall:" eto, y mae efe ei hunan wedi dysgu i ni rinweddau distawrwydd mewn deg cyfrol ar hugain!

Yn gymaint ag mai dyma ein hamcan, na theimled y darllennydd yn siomedig os rhoddwn ddarnau lled helaeth o hono fel engreifftiau. Felly gallwn gyrhaedd dau beth sydd yn ein bryd er ys tro;—gwneud ymdrech, ar raddeg fechan, i gyfieithu rhai darnau o'i weithiau, er mwyn gweled pa fodd yr edrychant mewn diwyg Gymreig; a chyflwyno hefyd, i'r Cymro uniaith, os oes rhai o ddarllennwyr *Y Traethodydd* felly, ryw wybodaeth am dano fel awdwr.

Buasai gallu gwneud rhyw drefn a dosbarth ar ei weithiau yn dra chyfleus; ond y mae y dyn a'i ysgrifeniadau yn herio pob dosbarthiad. Tuedd y dydd ydyw dosranu, a rhoddi pob llyfr ac awdwr mewn rhyw ddosbarth neillduol; ond yr hyn sydd hynod ydyw, fod braidd bob dosbarth o feddylwyr, a phob ysgol o athronwyr, yn hawlio Carlyle fel yn perthyn i'w *class* hwy, ac nad ydyw yntau yn cymeryd ei le yn dda mewn unrhyw ddosbarth. Nid ydyw wedi ysgrifennu ar unrhyw ganghenau neillduol o wybodaeth, a chyfyngu ei hunan yn hollol at y rheiny; eithr wedi ysgrifennu ar rywbeth, a braidd ar bobpeth, a ddeuai ger ei fron. Ac eto, i'w edmygwyr, y mae unoliaeth amcan yn rhedeg drwy ei holl ysgrifeniadau. Ceir ei weithiau yn llawn o egwyddorion Barddoniaeth, Beirniadaeth, Llywodddysg, &c., er nad ysgrifennodd yr un gwaith neillduol ar y canghenau uchod. Yn hytrach y maent yn lefeinio ei holl weithiau, a rhaid darllen y cyfan drwyddynt er mwyn dyfod o hyd iddynt. Hwyrach, er hynny, y gellir, ond peidio a chadw yn gaeth iawn at unrhyw ddosbarthiad, ddwyn ei holl ysgrifeniadau o dan ddau ben, sef, y rhai *hanesyddol*, a'r rhai ar *ddiwygiadau*

*cymdeithasol.* Yn yr ysgrif hon cymerwn frâs-olwg ar rai o'r prif weithiau yn y dosbarth cyntaf yn unig.

Cyn myned ymhellach, dylem wneud crybwylliad am ei arddull,—y mae honno yn un o'r pethau rhyfeddaf a berthyn iddo. Fel y mae y dyn a'r awdwr ar ei ben ei hunan, felly y mae ei arddull hefyd; perthyna iddi gymeriad neillduol, ac adnabyddir ei weithiau ar unwaith yn hollol annibynol ar fod ei enw wrthynt. Y mae tlysni a dillynder iaith yn bethau hollol anadnabyddus iddo. Cyfyd hyn, nid oddiar ddiffyg meistrolaeth ar iaith, ond yn hytrach oddiar ardymheredd meddwl y dyn ei hunan:—y mae angerddoldeb ei ysbryd gyda'i destun fel pe byddai yn ei lesteirio i gaboli ei ieithwedd. Er yn gref, eto y mae ei arddull yn glogyrnog, sydyn, a llawn o fath o laciau. Nid felly yr ydoedd ar y cyntaf. Fel rhai o fforestydd mawrion natur yn y gwanwyn: ceir gweled y prenau i gyd o un lliw,—eu holl amryliwiau yn ymdoddi i un lliw; ond erbyn yr hydref, bydd pob brenhin-bren wedi mabwysiadu ei liw neillduol ei hunan,—ni fydd perygl camgymeryd y naill am y llall. Felly yntau, pan yn ysgrifennu cyfres o erthyglau i *Wyddoniadur Edinburgh*, yn ddyn ieuanc, nid oedd dim neillduolrwydd yn ei arddull o ysgrifennu; ond erbyn hyn, saif ar ei ben ei hun, ffurfia ddosbarth iddo ei hunan, heb neb yn gallu ysgrifennu yr un fath ag ef, ond lleng o fân edmygwyr yn ceisio ei efelychu, ac wrth geisio gwneyd hynny yn difetha eu hunain, ac yn difetha yr iaith Saesoneg hefyd.

Y mae ei arddull yn un o'i elfenau mwyaf amlwg fel hanesydd. Gelwir ef weithiau yn fardd hanesiaeth; ac os ystyrir hanesiaeth yn ei gwedd *artistic*, ac nid *scientific*, diamheu ei fod yn un o'r ysgrifennwyr hanesyddol goreu. Yr hyn ydyw lliwiau i'r arlunydd, dyna ydyw geiriau iddo yntau; ac nid oes ei hefelydd am eu dodi wrth eu gilydd i ffurfio darluniadau bywiog a manwl o bersonau ac amgylchiadau. Ond, os ystyrir hanesiaeth fel gwyddor, y mae yn dra diffygiol fel hanesydd. Fel

nas gellir cael syniad am wlad oddiwrth ddarluniadau o'i golygfëydd mwyaf rhamantus yn unig, felly ni cheir syniad cyflawn ganddo yntau o hanesiaeth unrhyw gyfnod. Rhaid tramwy diffaeth-leoedd anfarddonol gwlad, a chymeryd i fewn ei gwastadeddau unffurf, er cael syniad cyflawn am dani; felly rhaid darllen rhyw hanesydd rhyddieithol cyffredin, er mwyn cael yr holl ffeithiau, yn ymyl darluniadau mawreddog Carlyle; canys nid ar ddarluniau yn unig y bydd byw dyn. Nid ydyw ei ddawn yn ddawn i adrodd ffeithiau hanesiaeth yn ddifyrus ychwaith. Yn hyn y mae yn syrthio lawer islaw i hanesydd enwog arall—Macaulay; y mae gan Macaulay ddawn penigamp at yr hyn a elwir *direct narration*, a dyma un o brif elfenau ei boblogrwydd. Am y rheswm hwn nis gall Carlyle byth ddyfod mor boblogaidd ag ef, nac yn boblogaidd o gwbl gyda'r un dosbarth o ddarllennwyr. Y mae Carlyle, ar y cyfan, yn ddiogelach hanesydd i ddibynnu arno, ond nid ydyw hanner mor flasus i'w ddarllen. Y mae arddull Carlyle fel afon fawr yn rhuthro mewn rhaiadrau mawrion, dros ddibynau serth, yna yn llonyddu am foment yn y pantle islaw, ond y foment nesaf yn cymeryd ei chodwm eilwaith i aphwys mwy certh fyth, nes swnio a throchioni drwy y ceunant i gyd; ond y mae arddull Macaulay yn debycach i'r un afon, pan wedi cyrhaedd y dyffryn, lle yr ymdreigla yn rheolaidd, er yn droellog, ar hyd y gwastadedd islaw, heb na rhaiadr na cheunant i dori ar ei hunffurfiaeth. Ni welsom ac ni chlywsom erioed ddarnodiad mwy boddhaus i ni o arddull Carlyle o ysgrifennu, na chan gyfaill o Gymro, ac edmygydd mawr o'r ddau, sef, ei fod yn debyg i William Roberts, Amlwch, yn pregethu! Y tolciau, y bwrlymiadau, y llaciau, y rhuthrgyrchoedd hynny o hyawdledd i gymeryd yr anadl braidd ymaith, ydynt yn dra nodweddiadol o'r ddau. O hyn y tardd un gwahaniaeth arall hefyd rhwng Carlyle a Macaulay; y mae y diweddaf yn adrodd pob peth gyda'r un pwysigrwydd, tra y ceir gan y cyntaf ei baragraphau neillduol. Y mae

gan Carlyle ddarluniau o ambell i frwydr ac ambell i gymeriad nad anghofir byth mo honynt; ond edrydd Macaulay yr ystori ddibwys gyda'r un pwysigrwydd â'r ffaith fawr; yr ymryson rhwng gwrachod fel y frwydr genedlaethol.

Bwriadwn, os gallwn, roddi rhai engreifftiau o allu desgrifiadol Carlyle fel hanesydd; ond y mae cryn anhawsder ar y ffordd i hynny. Y mae yn anmhosibl trosglwyddo arddull ei ddarnau mwyaf ysblenydd i unrhyw iaith, ond yr hon yr ysgrifennwyd hwy ynddi; gan hynny, rhaid i ni ymfoddloni ar fath o aralleiriadau iadol mewn barddoniaeth Gymreig, neu fel pe ceisid cyfieithu i'r Saesonaeg rai o'r darnau mwyaf desgrifiadol mewn barddoniaeth Gymreig, neu, fel pe ceisid cyfieithu rhai o'r darnau mwyaf cynhyrfiol a *nervous* yn rhyddiaith Elis Wynn o Lasynys, neu Theophilus Evans. Perthyn i gynnyrchion gwir athrylith ryw fath o gynghanedd mewn geiriau,—y math uchaf o gynghanedd,—cynghanedd a bair i'r anwybodus, neu y rhagfarnllyd, dybied nad ydyw *ond yn y geiriau yn unig;* fel, erbyn eu trosglwyddo i iaith estronol, er cadw ei holl feddyliau, bydd y *rhythm* i gyd wedi ei golli. Y mae hyn yn neillduol wir am Carlyle; felly erfyniwn amynedd y rhai hynny o'n darllenwyr sydd yn gallu ei ddarllen yn y gwreiddiol, gan na fwriadwyd y darnau hynny yn gymaint er eu mwyn hwy; a sicrhäwn eraill, nad ydynt eto wedi ei ddarllen felly, nad ydyw y rhai hyn ond esiamplau tlodion o'r darluniadau yn iaith yr awdwr ei hunan.

Un o'i brif weithiau hanesyddol ydyw ei lyfr ar y *Chwyldröad Ffrengig,*—y chwyldröad mawr yn niwedd y ganrif o'r blaen. Dywedid y cythryblid yr esgob Butler, awdwr yr *Analogy,* weithiau, gan y syniad y gallai cenhedloedd, fel personau, gael eu meddiannu gan wallgofrwydd, ac nad oedd dim yn egluro rhai cyfnodau mewn hanesiaeth ond yr ystyriaeth fod pobloedd cyfain wedi myned o'u côf! Os bu cenedl erioed yn haeddu y cymeriad hwn, yr ydoedd y genedl Ffrengig

felly; ac os bu adeg erioed yn hanes y Ffrancod ag yr oeddynt wedi cyrhaedd eithaf-bwynt yn hyn, dyna yr adeg, yn amser y Chwyldröad mawr. Felly eu desgrifir gan Carlyle, a dylem ninnau gofio, wrth ddarllen ei lyfr, mai dyma ei syniad am danynt. Nid oedd Paris ar y pryd ond math o wallgofdŷ cenedlaethol, neu, yn ol ei eiriau ef, "*world-bedlam.*" Yma cawn Carlyle ar ei oreu, a'r gwaith ac yntau yn dra chyfaddas i'w gilydd. Ei anffawd ef, weithiau, ydyw cymeryd at destynau heb ynddynt ond rhyw *un* linell gydnaws â'i athrylith, ac heb ynddynt gymhwysder i dynnu allan ei *holl* alluoedd. Felly y bu iddo gyda *Bywgraffiad Ffrederic Fawr*, un o'r llyfrau mwyaf anffortunus, i'w glod fel hanesydd, o'r holl lyfrau a ysgrifennodd. Ond yma y mae gyda thestun wrth ei fodd, ac heb ganddo ei farnau na'i ragfarnau i'w gamarwain. Nid ydyw yn werinwr tanbaid ar un llaw, nac yn frenin-addolwr gwasaidd ar y llaw arall; eithr sylla ar yr amgylchiad anferth fel darn o frwydr fawr y byd rhwng rhyddid a gormes, a rhwng ffydd ac anffyddiaeth. Y syndod ydyw ei fod, er heb gymeryd ei gamarwain gan na barn nac opiniwn, yn meddu teimladau mor gryfion, ac yn gallu myned i mewn i angerddoldeb yr ymgyrch mor llwyr! Olrheinia elfenau cyntaf y Chwyldröad ymhell, bell, yn ol yn hanes Ffrainc; anffyddiaeth wedi lefeinio calon y genedl, a'i chrefydd i gyd wedi ei gwthio i'r wyneb, ac yn hanfodi yn unig mewn swrn o ffurfiau difywyd. Yr elfen werinol,—Carpiogaeth, *Sancullottism*, fel ei gelwir ganddo ef, wrth gael ei mygu a'i mathru yn casglu nerth, ac yn darllaw ystorm, ac o'r diwedd yn ymweithio i'r golwg, o ganol tryblith y Chwyldröad, gan ddyweyd, "Yr ydwyf finnau hefyd yma." Yn nechreu y llyfr, gyda chyffyrddiadau meistrolgar, cawn ddarluniad o wely marw Lewis XV.—"Yr Anghofiedig,"—Lewis, oedd wedi ofni marw gymaint, oedd fel estrys yn cuddio ei ben yn y twmpath gan feddwl ei fod yn berffaith ddïogel;—Lewis, na fynnai i neb o wŷr ei lŷs gymaint a son am angeu yn ei bresennoldeb;—Lewis, a yspardyn-

odd ei farch, pwy ddydd, mewn dychryn pan y cyfarfyddwyd ef, yn sydyn, yn nhröad y ffordd, gan ddyn yn cario arch;—o'r diwedd dacw frenin y dychryniadau yn myned i *mewn* i'r palas, ac yn troi yr holl buteiniaid brenhinol, fel hen adar y nos, i'r tywyllwch, ac yn tynnu i lawr ysgaffaldiau amser o amgylch Lewis XV., ac yntau, yn ysbryd noeth *an*frenhinol, yn gorfod ymddangos o flaen y frawdle, a'r dwlyn di-ddrwg-di-dda gan Lewis XVI. yn esgyn gorsedd nad ydoedd namyn copa llosg-fynydd, ond fod y *lava* heb ddechreu tori allan. Yna cawn ddesgrifiad o'r nŵyon a'r tânau yn ymgasglu yng nghrombil y llosg-fynydd, ac o'r diwedd yn ymffrwydro, nes taflu Lewis XVI. a'i frenhines oddiar yr orsedd, nid yn unig i'r bedd, ond a'u pennau ar flocyn gwaradwyddus y *guillotine*, oedd yn llawer îs na hynny. Yna aiff y prif gymeriadau, fuont yn cymeryd rhan yn yr ystorm ofnadwy hon, heibio o flaen ein hwyneb, a cheir darlun trwyadl gywir o bob un o honynt:—"Marat yn crawcian,"—"Mirabeau yn mathru ffurfiau,"—"y diofn Danton,"—"y pert Orleans, fel brân ben-grachog,"—"y ffroen-uchel Lafayette,"—"y môr-lliw Robespierre," a gyfenwid gan ei gyfeillion, "yr anllygradwy;"—oll fel oriel o anferth-luniau mawrion, wedi eu tynnu mewn lliwiau tanbaid, ond gan law feistrolgar, ac i drwch y blewyn mewn cywirdeb. Yna cawn ddarluniadau manwl o'r genedl Ffrengig wedi cyrhaedd anterth ei gorphwylledd, a'r hafog a wnaed gan y gyllell enwog a fu yn offeryn ei gorphwylledd, sef y *guillotine*. Y mae yn llyfr hynod mewn gwirionedd. Rhaid fod y dyn a all roddi heibio ei ddarllen cyn ei orphen un ai yn ddwl neu yn anwybodus; a rhaid fod y neb a'i darllenno i gyd, heb deimlo ei ewynau yn llacach a mwy crynedig ar ol gorphen, wedi ei fendithio â chyfansoddiad gwynfydedig o gryf.

Bwriadwn anrhegu ein darllennwyr â lled-gyfieithiad o un dernyn o hono—y rhan sydd yn desgrifio gwarchaead y *Bastille;* nid am ei fod y goreu, eithr am ei fod y mwyaf pwrpasol i osod allan y nodwedd sydd

ger ein bron yn awr, sef ei *allu desgrifiadol.* Eiddo Carlyle ydyw pob brawddeg sydd yn y dernyn canlynol; ond cymerasom ein rhyddid i grynhoi i un dyfyniad, gynnwys amryw bennodau.

Dylem gadw golwg, hwyrach, ar y syniad a gysylltai y Ffrancwr wrth y *Bastille,*—iddo ef yr ydoedd y lle yn gorfforiad o ormes a thrais. Enw ydoedd hwn a ddefnyddid ar amddiffynfa a fyddai hefyd yn garchar-dŷ. Gelwid amryw fannau yn Ffrainc ar yr enw hwn; ond ennillodd un o honynt, ydoedd mewn rhan o Paris, enwogrwydd gwaradwyddus iddo ei hunan fel *y Bastille,* am mai yno, mewn adegau o dra-arglwyddiaeth, y teflid pawb ydoedd, neu a dybid eu bod, yn elynion i'r brenin neu rai o'i garedigion. Ofer fyddai disgwyl neb oddi-yno,—yr ydoedd fel marwolaeth fyw! Gan hynny, pan gynhyrfwyd trigolion Paris, yn 1879, i wrthryfel, yn gyntaf man tröai eu llygaid yn naturiol tua'r *Bastille;* stormiwyd y lle mewn ychydig o oriau, a darluniad o hynny yw y canlynol:—

*(Nos Sul, Gorphenaf 12fed, 1789).* Y fath Baris wedi i'r nos ddyfod! Prifddinas Ewropeaidd wedi ei hyrddio yn sydyn oddiar ei hen seiliau, a'i hen drefniadau, i chwilfrio yn derfysglyd, gyda'i gilydd, gan geisio rhai newyddion. Mwyach ni weithreda yr un dyn yn ol defod ac arfer; rhaid i bob dyn, gyda hynny o wroldeb a fedd, ddechreu meddwl, neu ddilyn y rhai sydd yn meddwl. Cenfydd saith gan mil o ddynion eu holl hen lwybrau, eu hen ffyrdd o weithredu a phenderfynu, yn diflannu ar unwaith o dan eu traed. Ac felly, gyda chrochlefain a dychryn, ânt, nas gwyddant pa fodd,—pa un ai rhedeg, ai nofio, ai ehedeg,—ymlaen bendramwnwgl i'r Cyfnod Newydd.

*(Boreu Llun, Gorphenaf 13eg).* Ar y Llun deffroa y ddinas fawr, nid at ei diwydrwydd beunyddiol,—at un tra gwahanol! Daeth y gweithiwr yn rhyfelwr heb ganddo ond un angen—eisieu arfau. Safodd diwydrwydd pob crefft oddieithr yr eiddo y gofiaid yn ffyrnig forthwylio gwaewffyn; ac i ryw raddau, yr eiddo y cogydd yn coginio ymborth parod i'r cegau bythagored. Y mae y merched, hefyd, wrthi yn brysur yn gwnio het-rosynau *coch* a *glas,*—hen liwiau Paris; y rhain wedi eu dodi ar waelod *gwyn,* ydynt y TRILLIW enwog, sydd i amgylchynu y byd, os nad ydyw prophwydoliaeth yn cyfeiliorni. Yr holl siopau ydynt gauedig oddieithr siopau y pobwyr a'r gwinwerthwyr; y mae Paris i gyd allan ar yr heolydd, yn ymferwi

yn ewynog, fel gwydraid o win ar ol dyferu gwenwyn iddo. Gorchymynir yr alarm-gloch i ganu yn wyllt oddiar yr holl glochdai. Chwi, swyddogion bwrdeisiol, O, rhoddwch i ni arfau; ti, Flesselles, gyda'th Echevins dyro i ni arfau! Dyry Flessells gymaint a all; addewidion twyllodrus, fe allai bradwrus, am arfau o Charleville; gorchymynion i chwilio am arfau yma, gorchymynion i chwilio am arfau acw. Dyry y swyddogion trefol newyddion yr hyn a allant,—rhyw dri chant a thri ugain o ddrylliau canolig,—arfogaeth y Gwylwyr Dinesig. Cipia dyn mewn clocsiau, heb yr un hugan am dano, afael yn un o honynt, ac a'i gesyd ei hun ar y wylfa. Fel y crybwyllwyd hefyd, erchir i'r holl ofiaid wneyd gwaewffyn â'u holl enaid.

Yn y cyfamser, O, chwi ofiaid, gyda'r ffedogau duon, curwch yn gyflymach, gyda braich gref a chalon ewyllysgar! Y dyn hwn, a'r dyn acw, pawb i fod ar eu holl egni o'u coryn i'w sawdl, i hyrddio gyda tharan yr ordd fawr nes y byddo yr eingion yn crynu ac yn tincian; tra, uwch eu pen, y rhua yr alarm-gyflegr yn awr ac yn y man; canys y mae y ddinas erbyn hyn wedi dyfod o hyd i bylor. Gwneir picellau—hanner can mil o honynt mewn tair a thriugain o oriau:—bernwch chwi a fu y ffedogau duon yn segura! Chwi eraill, ŵr a morwynig, yn ystig cloddiwch y ffosydd, dibalmentwch yr heolydd, heliwch y pridd i farilau i wneyd brys-gloddiau, gyda gwyliedydd gwirfoddol wrth bob un o honynt; a phentyrwch yr ithfeini ar y ffenestri, neu ar y nen-lofftydd. Chwi, hen wragedd gweinion, parotowch byg llosgedig, o leiaf ddwfr berwedig, i'w dywallt, gyda'ch breichiau hen curiedig, am ben y *Royal-Allemand;* ni bydd diffyg, mae yn debyg, o'ch melldithion gwichlyd i'w ganlyn. Gyda ffaglau yn eu dwylaw, gwibia nos-wylwyr a'r Gwarchodlu Cenedlaethol newydd-anedig ar hyd yr heolydd drwy y nos, y rhai, oddigerth hynny, ydynt hollol wag; eto â goleuni ymhob ffenestr drwy orchymyn. Golygfa dra dieithriol: fel Dinas y Meirwon wedi ei goleuo â gwylosg *(naphtha)*, gydag ysbrydion cythrybledig yn ehedeg yma ac acw!

Ow! druain farwolion, paham y gwnewch y ddaear hon mor chwerw i'ch gilydd; y bywyd ofnadwy a rhyfedd hwn, yn ofnadwy ac erchyll; ac i Satan ei le ymhob calon! Y fath boenau, dirdyniadau, ac ocheneidiau ydych yn ei gael, ac a gawsoch bob amser:—y cwbl i gael eu claddu mewn distawrwydd mor ddwfn â'r môr hallt, heb chwyddo dim gyda'ch dagrau!

Moment fawreddog, gan hynny, ydyw y foment y daw y newyddion am Ryddid i'n cyrraedd; pan y bydd i'r enaid hirorthrymedig, pe na byddai ond mewn dallineb a dyryswch, ymgodi o ganol ei gadwynau a'i ddifrawder merllyd, a thyngu yn enw yr Hwn a'i gwnaeth y myn fod yn rhydd! Yn Rhydd? Deall hynyna yn dda, dyna orchymyn dwfn ein holl fodolaeth, eglur neu aneglur, ydyw bod yn rhydd! Yr amcan mawr y cyrchir ato, yn ddoeth neu yn annoeth, yn holl ymdrechiadau,

egniadau, a dioddefiadau dynion ar y ddaear hon, ydyw Rhyddid! Ie, goruchaf mewn gwirionedd ydyw y fath foment (os adwaenost hi); y canfyddiad cyntaf, yn anialdir hwn ein pererindod, o Sinai wedi ei wregysu â thân, gyda'i golofn niwl y dydd a'i golofn dân y nos oddiyno ymlaen! Ymlaen, ynte, chwi feibion gwallgofedig Ffrainc, bydded at y dynged hon neu y dynged acw! O'ch amgylch, nid oes ond twyll, newyn, llygredigaeth, a chnul marwolaeth!

*(Dydd Mawrth, Gorphenaf 14eg).* Ac yn awr am y *Bastille*, O Barisiaid gwrolfrydig! Oddiyno y mae ergydion yn parhaus fygwth, tuag yno y mae meddwl a chamrau pawb yn cyfeirio. Fel y crybwyllasom, yn gynnar ar ol nos Sul ymgiliodd De Launay * i'r tufewn. Yno yr erys byth ar ol hynny, wedi ei lwyr ddyrysu, fel yr holl foneddigion milwrol ar hyn o bryd, gan yr ansicrwydd mwyaf pruddaidd ar bob llaw. Gwahoddir ef gan yr *Hotel de Ville* † i agor y pyrth i'r milwyr Cenedlaethol, yr hyn nid ydyw ond enw esmwyth ar roddi y lle i fyny; y mae gorchymynion ei Fawrhydi, o'r tu arall, yn benderfynol. Nid ydyw ei warchodlu ond dau a phedwar ugain o hen filwyr methedig, wedi eu hadgyfnerthu gan ddeuddeg ar hugain o Switziaid ieuainc. Mae yn wir fod ei furiau yn naw troedfedd o drŵch; fod ganddo gyflegrau a phylor; ond, Och! nid oes ganddo borthiant ond am un diwrnod! Ffrengig hefyd ydyw y dref, a'r gwarchodlu gan mwyaf yn Ffrengig. Ystyria pa beth a wnei, yr hen De Launay afrywiog!

Drwy gydol y boreu, er naw o'r gloch, y mae cri cyffredinol —"I'r *Bastille!* I'r *Bastille!*" Dirprwyaeth ar ol dirprwyaeth o'r dinasyddion wedi bod yno yn llefain am arfau; anfonir hwynt ymaith gydag areithiau llyfnion drwy y gyn-dyllau. Tua'r prydnawn gweithia yr etholwr Thuriot ei ffordd i mewn; caiff De Launay yn anmharod i roddi y lle i fyny, yn barod yn hytrach i'w *chwythu* i fyny. Aiff Thuriot gydag ef i fyny ar y canllawiau, yno y gorwedd pentyrau o gerrig, hen heiyrn ac arfau; cyflegrau wedi eu hanelu yn barod; cyflegr ymhob hollt, ond yn unig eu bod wedi eu tynnu ychydig i fewn. Ond gwel oddiallan, O! Thuriot, y bobl yn llifo ac yn bwrlwm drwy bob heol; yr alarm-gloch yn canu yn wyllt, yr holl glychau yn canu y *generale;* maesdref *Saint Antoine* yn ymdreiglo tuag yma fel un gŵr. O, Thuriot! y fath olygfa (drychiolaethus, ond gwirioneddol) a ganfyddi, y foment hon, megis oddiar Fynydd y Weledigaeth; prophwydoliaethau o gynifer o Ledrithion eraill,

* De Launay ydoedd enw Ceidwad y *Bastille* yn adeg y Gwrthryfel—hen swyddog milwrol, fynychaf, a wasanaethai y swydd hon.

† Yr *Hotel de Ville* ydoedd fath o adeilad cyhoeddus lle yr eisteddai ar y pryd Bwyllgor yr Etholwyr; felly ystyrid y lle yn ganolbwynt plaid y bobl mewn cyferbyniad i'r palas brenhinol yn Versailles.

a Drychiolaethau sylweddol, uchel-glebarllyd, na welaist eto, ond a gei eu gweled yn y man! * * * Ymddengys Thuriot oddiar un o'r tyrau i dawelu y dorf sydd yn dechreu drwgdybio a rhuo odditanodd; yna disgyn ac ymedy gyda dadganiad a rhybudd i'r hen filwyr:—nid ydyw yn cynnyrchu, pa fodd bynnag, ond argraff gymysglyd ar eu meddyliau hwy. Nid ydyw yr hen benau y rhai cliriaf; heblaw hynny, dywedir i De Launay fod yn dra hael o wirodydd. Os gallent beidio, tybient na thanient, oni thanid arnynt; ond rhaid iddynt gymeryd eu llywodraethu i raddau gan amgylchiadau.

Gwae di, De Launay, os nad elli, ar y fath awr, wneyd un penderfyniad diysgog a *llywodraethu* amgylchiadau. Areithiau melfedaidd ni wnant y tro; y mae haels caledion yn amheus; ond y mae cloffi rhwng y ddau yn *ddi*amheuol. Chwydda llanw y dynion yn fwy-fwy ffrochwyllt, cryfhâ eu murmur diderfyn yn uwch, uwch, fyth, i fygythion, fe allai i grecian ambell i ddryll yma ac acw, y rhai ni allant niweidio nemawr ar furiau naw troedfedd o drŵch. Gostyngir y grôg-bont *(drawbridge)* nesaf allan er mwyn i ddirprwyaeth o'r dinasyddion (y drydedd a'r fwyaf trystfawr o'r cwbl) fyned y ffordd honno at y cyntedd allanol; gan nad ydyw areithiau llyfnion yn gyrru y rhai hyn ymaith, tania De Launay arnynt; tynn i fyny ei grôg-bont. *Ennynodd* y gawod ysgafn y tryblith hylosg nes ei wneyd yn dân-dryblith fflamllyd! Lladdwyd rhai gan y gawod dân; ac yn yr olwg ar ei waed ei hun rhuthra y Gwrthyfel allan i ymffrwydriad diderfyn drylliau,—i ymarllwysiad a gorphwylledd; gadawer i un cyflegr ruo gyda'i ergydion o'r Amddiffynfa uwch ein pen, i ddangos beth *allwn* ninnau wneuthur. Y mae y *Bastille* o dan warchae!

Ymosodwch, gan hynny, bob Ffrancwr sydd â chalon yn ei gorff! Chwi feibion Rhyddid crochlefwch gyda'ch holl yddfau o hydwythedd a metel; ymegniwch, bob cynneddf sydd ynoch, corff, enaid, neu ysbryd; canys dyma yr awr. Ti, Lewis Tournay, saer troliau o Marais, hen filwr o'r gatrawd *Dauphine*, ergydia ar gadwen y grôg-bont allanol, er i'r cenllysg tanllyd chwyrlio o'th amgylch! Erioed ni churodd dy fwyell, ar fôth na chamog, y fath ergydion. I lawr â hi, ddyn, i lawr â hi i Annwn; sudded yr hen adail felldigedig yno, a bydded i Draarglwyddiaeth gael ei lyncu i fyny am byth. Gan sefyll ar nèn ystafell y gwylwyr, medd rhai—ar fidogau wedi eu gwthio i holltau y mur, medd eraill, ergydia Lewis Tournay, yn cael ei gynorthwyo gan y gwrol Aubin Bonnomere (yntau yn hen filwr); ildia y gadwen, a thŷr; rhuthra y grôg-bont i lawr gyda thwrf taranol. Gogoneddus! Ond, och! nid ydyw ond y rhagfuriau yn unig. Esgyn wyth o Dyrau cuchiog, gyda'u drylliau, eu pentyrau cerrig, a'u cyflegr-ffroenau, eu penau i fyny eto heb eu cyffwrdd. Lleda ffôs ddofn, wedi ei hwyneb-garegu, ei safn anferth ddiadlam:—y grôg-bont fewnol â'i *chefn* atom:—y mae y *Bastille* eto i'w gymeryd!

Gwarchae y *Bastille*, a ystyrir y gwarchae mwyaf pwysig mewn hanesiaeth, sydd, fe allai, y tu hwnt i dalent marwolion i fedru ei ddesgrifio. Ar ol darlleniad diderfyn, pe gallai dyn gymaint a deall cynllun yr adeilad. Y mae llannerch werdd ymhen draw *Rue Saint Antoine;* yna y fath gynteddau allanol, a phorth bwäog, lle y mae Lewis Tournay yn awr yn ymladd; yna crôg-bynt newyddion, gwarchgloddiau cedyrn, a'r wyth dŵr cuchiog; pentwr dyryslyd, uchel-fygythiol, o waith maen, o bob oedran, o ugain i bedwar cant ac ugain:—ac wedi ei amgylchynu fel hyn, yn ei awr ddiweddaf, gan Dryblith ad-ddychweledig. Cyflegrau o bob mesur; gyddfau o bob maintioli; dynion a phob cynlluniau, a phob dyn yn gynllunydd iddo ei hunan. Anfynych y gwelwyd y fath anghyfartalwch er dyddiau brwydr y Crëyrod a'r Corachod. Aiff Elie hanner-dâl *(half-pay-Elie)* adref i geisio ei fyddin-wisg: ni hidia neb ynddo mewn dillad lliwiedig. Y mae Hulin hanner-dâl yn anerch y gwarchodlu Ffrengig yn y *Place de Greve*. Piga gwladgarwyr gorphwyllog y bwledau i fyny, ac ânt a hwy yn chwilboethion (yn ymddangos felly) i'r *Hôtel de Ville*. Chwi welwch fod Paris i gael ei llosgi! Gwelwa Flesselles hyd y gwefusau; canys y mae rhuad y miloedd wedi dyfod yn gryf. Y mae Paris wedi cyrhaedd pinacl ei gorphwylledd; chwyrnellir hi, draw ac yma, gan wallgofrwydd arswydlawn. Ar ben pob heol y mae brysglawdd, a throbwll berwedig yn cylchdroi o'i gwmpas, er ei gadarnhâu, canys Duw yn unig a ŵyr pa beth sydd ar ddyfod; a sugndynir yr holl drobyllau llai i'r tan-lynclyn ofnadwy sydd yn crychferwi o amgylch y *Bastille*.

Goddeithier pob peth llosgadwy! Llosger gwyl-dyrau a bwyd-ystafelloedd yr hen filwyr. Gwneuthurwr perwigau gorphwyllog, gyda dwy ffiamdorch yn ei law, sydd am roddi tân yn mhylor yr Arf-dŷ:—oni bae i wraig redeg gan ysgrechain,—oni bae i wladgarwr, gyda thipyn o athroniaeth naturiol ynddo, daro y gwynt allan o hono, (bôn y gŵn ar bwll y galon, meddir), a thywallt barilau ac atal yr elfen ddinystriol. Delir boneddiges ieuanc brydferth pan yn ceisio dianc, yn y cynteddau allanol hyn, a thybir, mewn camgymeriad, mai merch De Launay ydyw,—rhaid ei llosgi yng ngolwg De Launay; gorwedd i lawr mewn llewyg; ond rhuthra gwladgarwr i mewn,—y gwrol Aubin Bonnonère, yr hen filwr, ydyw, ac a'i hachub. Llosgir gwellt; aiff tri llwyth trol o hono, wedi ei hèl ynghyd, i fyny mewn mŵg gwyn nes agor a thagu gwladgarwch ei hunan. Mŵg fel Tophet; cymysgedd fel Babel; twrf fel Ymddrylliad y Bydoedd.

Wrth ei bwysau, awr ar ol awr, ticia cloc mawr y *Bastille* (yn anhyglyw), yn ei gyntedd mewnol yna, fel pe na byddai dim o bwys iddo ef na'r byd yn myned ymlaen. Tarawodd un o'r gloch pan ddechreuodd y tanio, ac y mae yn awr yn tynnu at bump, a'r tanio heb liniaru dim. Yn isel, isel, yn eu celloedd tanddaearol, clyw y saith garcharor sŵn pell fel daeargrynfâau;

etyb eu ceidwad yn gymysglyd. Er ys pedair awr, bellach, y mae y Byd-wallgofdŷ yn rhuo, neu galwer ef y Byd-ddrychiolaeth yn chwythu tân! Y mae yr hen filwyr, druain, wedi suddo o dan eu cyflegr-fëydd, neu yn codi yn unig gyda gynau gwrthdrŏedig; gwnaethant faner wen o ffunenau, gwahoddant gyflafareddiad, neu ymddangosant felly, canys nis gall neb glywed dim. Ymddengys hyd yn oed y Switziaid, wrth y ddôr uchaf, fel wedi blino ar danio; wedi eu digalonni gan y diluw tân. Agorir gyndwll, yn ymyl y grog-bont, fel gan un a fynnai siarad:—edrych Usher Maillard, y dyn ystrywgar! Cenfydd Usher, ac ar ei blanc, yn crogi uwchben yr aphwys honno o ffôs ddofn,—y planc yn gorwedd ar fûr-ganllaw ac yn cael ei fantoli gan bwysau gwladgarwyr; y mae yn hofran yn beryglus:—y *fath* Golomen yn cyfeirio i'r *fath* Arch! Yn araf, ti Usher gyfrwys; y mae un dyn eisoes wedi cwympo, ac yn gorwedd yn dipiau mân i lawr yn isel, isel, ar y cerrig odditanodd. Ni syrth Usher Maillard; cerdd yn ddeheuig, ddidramgwydd, gyda llaw estynedig. Deil y Switziaid bapyryn drwy y gyndwll, cipia yr Usher ystrywgar ef, a dychwela. Amodau yr ymostyngiad: pardwn, rhyddid i bawb! A ydynt yn dderbyniol? "*Foi d'officer*"—"ar anrhydedd swyddog," ebe hanner-dâl Hulin, neu hanner-dâl Elie; canys nid ydyw dynion yn cytuno pa un, "y maent." Disgynna y Grôg-bont i lawr; bolltia Usher Maillard hi tra i lawr—rhuthra y diluw dynol i mewn,—y mae y *Bastille* wedi cwympo! Buddugoliaeth! A'r *Bastille* yn wobr y fuddugoliaeth!

Ar hyd heolydd Paris, cludir oddiamgylch, ar ysgwyddau, saith o garcharorion y *Bastille;* saith o benau ar flaenau y gwaeyw-ffyn; allweddau y *Bastille*, ynghyda llawer o bethau eraill. Daw hen gyfrinachau i'r golwg, a phair Anobaith hirgladdedig glywed ei llais. Darllenwch y rhan yma o hen lythyr:—"Syr, er mwyn Duw, a'r Drindod Fendigaid, pe caniataech i mi, er fy nghysur, glywed oddiwrth fy anwyl wraig, pe na bae ond ei henw ar gerdyn i ddangos ei bod yn fyw, byddai y cysur mwyaf a allwn ei dderbyn, a gwnawn fyth fendithio haelfrydedd eich arglwyddiaeth." Garcharor truan, yr hwn ydwyt yn cyfenwi dy hunan yn *Queret-Demery*, ac na feddi ond hyn o hanes, y mae *hi*—y wraig anwyl yna o'th eiddo—wedi *marw*, ac yr ydwyt tithau weithian wedi marw. Y mae hanner cant o flynyddoedd hirion er pan ofynodd dy galon doredig y cais hwn—i gael ei glywed am y waith gyntaf yn awr, ac i fod, bellach, yn hir-glywadwy yng nghalonau plant dynion.

Haul hwyrol Gorffennaf! O, fel y disgyn dy belydrau machludol, y foment hon, ar fedelwyr mewn meusydd tawel coediog; ar hen wragedd yn nyddu yn eu bwthynod; ar longau ymhell allan ar y cefnfor distaw; ar ddawnsfaoedd yr *Orangerine* yn *Versailles*, lle, hyd yn oed y munydau hyn, y dawnsia boneddigesau gorliwiedig y palas brenhinol gyda meirch-filwyr addurnedig:—ac, hefyd, ar yr uffern-borth rhuadwy hwn i'r

*Hotel de Ville!—Y Chwyldröad Ffrengig*. Cyf. I. Pen. 4, 5, 6.

Cyn gadael y nodwedd yma a berthyn i Carlyle, sef ei allu desgrifiadol, ychwanegwn eto un darlun er gosod allan yr un neillduolrwydd ynddo. Darlun ydyw y canlynol, fel y blaenorol, o dref fawr; ond nid tref fawr mewn gwrthryfel; eithr *tref fawr fel yr ymddengys i sylwedydd craff a myfyrgar yn y nos*, ac iddo yntau dybio yr holl bethau sydd yn myned ymlaen ynddi. Heblaw yr Un Sanctaidd fu yn wylo uwchben Jerusalem, y mae aml un wedi ei gyffroi i feddyliau dwysion pan yn syllu ar dref fawr, neu yn dyfod i'w golwg am y waith gyntaf, a hynny yn lled ddisymwth. Wele yn canlyn ddarluniad o ddinas felly *yn y nos*, a phortreiad o'r hyn sydd yn debygol o fod yn cymeryd lle ynddi; a siomir ni yn fawr os na theimla ein darllennwyr nerth a cheinder y dernyn. Ceir y darlun yn ei *Sartor Resartus*, a rhoddir ef yno yng ngenau Teufelsdröckh, un o bersonau dychymygol Carlyle:—

*Ach mein Lieben*—arddunedd gwirioneddol ydyw byw yma Y pelydrau hyn o lusern-oleuni sydd yn ymwthio drwy fŵg a phob math o fygdarth i fyny amryw gufyddau i deyrnas hen y Nos. Beth a feddylia Bootes,* tybed, am danynt, tra yn arwain ei hel-gŵn ar draws y ffurfafen yn eu rheffynau o dân awyrol? Y Murmur mud-ddistaw hwnnw a glywir ar ganol nos, pan y gorwedd Masnach i lawr i orffwys; a thra y clywir yn olwyno, draw ac yma, ar hyd heolydd pell, sŵn olwynion cerbydau Gwagedd yn ei chario i neuaddau gorwychion a goleuedig; ac heb ddim ond Drygioni a Thrueni ar led yn ysglyfaethu ac yn ysgrechian fel adar y tywyllwch:—y Murmur yna, meddaf, megis cwsg rhwnclyd, aflonydd, yr afiach, sydd glywadwy yn y Nefoedd! Y fath gerwyn eplesedig a orwedd, gan ymferwi, o dan y gorchudd erchyll yna o darth, nwyon, ac ysgarthion diderfyn! Yno y mae y llawen a'r trist; dynion yn marw a dynion yn byw; dynion yn gweddïo, a'r ochr arall i'r pared priddfaen y mae dynion yn rhegu; a'r Nos ehangfawr, wâg, yn eu hamgylchynu i gyd! Ymgreinia y Pendefig uchel-falch yn ei ystafelloedd persawrus, neu ymorffwys o fewn crogleni cyfrodedig: cyrcyda Trueni ar welyau culion, neu ymgilia yn rhyn-

* Bootes sydd enw a ddefnyddir gan seryddwyr ar un o'r cyfseriadau gogleddol.

llyd a newynog i'w loches wellt. Mewn seleryd dinôd, dyry y Coch a'r Du † allan lais ei dynged, yn llesg, i fileiniaid hagr, ac anghenus; tra yr eistedd Cynghorwyr y Wladwriaeth, gan gynllunio a chwareu eu campau, gyda dynion yn lle disiau. Sisiala y cariad-ddyn wrth ei ddyweddi fod y cerbyd yn barod, ac ymlithra hithau, yn obeithiol ac ofnus, i ddianc gydag ef dros y cyffiniau. Yn fwy distaw fyth, ymesyd y lleidr ar ei glöau a'i folltau, neu erys yn llechwraidd nes y cysgo y gwylwyr ar y tyrau. Tai pendefigaidd, gyda'u swper-ystafelloedd, a'u dawns-ystafelloedd, ydynt lawnion o oleuni, cerddoriaeth, a chalonau gor-lawen; ond yng Nghell y Condemniedig, cura ergydion bywyd yn arafaidd a chrynedig, ac edrych y llygaid fflam-gochion allan drwy y tywyllwch, sydd oddifewn ac oddiallan, am oleuni pruddaidd y boreu diweddaf,—canys y mae chwech o ddynion i gael eu crogi drannoeth!—Onid oes swn morthwylio yn dyfod o'r *Rabenstein?*—rhaid fod eu crôg-brenau yn awr yn cael eu hadeiladu! Ar eu hyd, o'n hamgylch, gorwedd pum' can' mil o greaduriaid deu-droed, diblyg, a'u pennau i gyd mewn capiau nos, ac yn llawn o'r breuddwydion mwyaf ynfyd. Gwaedda gloddest allan, gan ymrolio ac ymfaldordd, yn ngofau ysgeler ei gywilydd; tra y penlinia y fam uwchben ei maban yn marw, heb ond ei dagrau heilltion i wlychu ei wefusau agenog. Y rhai hyn i gyd, wedi eu crynhoi a'u pentyrru ynghyd, heb ond ychydig waith maen a choed rhyngddynt a'u gilydd!—wedi eu hel i mewn, fel pysgod heilltion i faril, neu, a gaf fi ddywedyd, yn ymwingo fel piseraid o wiberod Aiphtaidd dofedig, pob un ar ei oreu i gael *ei ben uwchlaw y llall.* Y fath waith sydd yn myned ymlaen dan y gauadlen fyglyd hon! Ond am danaf fi, yr wyf yn eistedd uwchlaw iddynt oll—fy hunan gyda'r ser.—*Sartor Resartus*, tudal. 12.

Y mae ein gofod yn yr ysgrif hon yn prysur dynnu i'r pen, a'r testun, yn y wedd hon arno, mor ëang, fel y gorfydd i ni roddi yr ysgrifell heibio heb ond braidd gyrhaedd cyrau y maes. Pa fodd bynnag, ar draul trethu peth ar amynedd darllennwyr *Y Traethodydd*, cymerwn ychydig o hamdden i nodi rhai llinellau eto ymhellach, sydd yn nodweddu Carlyle fel hanesydd.

Y ddau bwynt y cyffyrddwn â hwynt ydynt, ei allu i unoli *ffeithiau hanesiaeth*, a'r lle a roddir ganddo mewn hanesiaeth i *ddynion mawr*—i *arwyr*. Ystyriwn

† Y Coch a'r Du sydd gyfieithiad o *Rouge-et-Noir*, yn golygu chwareu-gamp gyda chardiau, ac a elwir felly am fod y byrddau lle y chwareuir hi wedi eu rhannu, yn gyffredin, i raniadau cochion a duon.

mai dyma ei bwyntiau cryfion fel hanesydd, ac eto, fel y cawn ddangos cyn terfynu, yn y pethau hyn y mae wedi gosod ei hunan yn agored i gyhuddiadau tra phwysig. Tardd y ddwy nodwedd hon oddiar yr un duedd yn ei feddwl,—y duedd i dalu gwarogaeth i'r ysbrydol yn fwy na'r materol. Ni fu hanesydd erioed mwy aiddgar dros roddi lle mawr i'r ysbrydol, neu y bywydol, eto yn un o'r pwyntiau uchod, sef yn ei ddamcaniaeth am arwyr, cyhuddir ef o addoli gallu anianyddol yn fwy na rhagoriaethau moesol yn ei arwyr. Fel pob awdwr arall o allu, y mae ei weithiau yn llawnion o fath o wrthddywediadau. Ond, onid ydyw yr anghysonderau ymddangosiadol hyn yn nodweddu yr holl brif awduron sydd yn rhoddi arbenigrwydd ar y wedd ysbrydol ar bethau? Ai ni ddywedir fod ysgrifeniadau Plato yn llawnion o honynt? Felly yntau, er rhoddi y fath neillduolrwydd ar yr hyn sydd ysbrydol, eto syrth yn agored i'r cyhuddiad o edmygu a dyrchafu gallu anianyddol yn fwy na gallu moesol ac ysbrydol. Tuedd y rhan fwyaf o wyddonwyr ein hoes ni ydyw dwyn yr ysbrydol i *lawr* at y materol, yr hyn sydd yr un peth a dileu yr ysbrydol yn gwbl; ond tuedda Carlyle weithiau, yn hytrach, at *ddyrchafu* y materol i dir yr ysbrydol, ac felly beri cymysgedd.

Er dyddiau Aristotle, rhennir ymchwilwyr i ddau ddosbarth mawr, sef y dosbarth sydd yn efrydu dyn a'r grëadigaeth *ynddynt eu hunain*, a'r dosbarth arall sydd yn eu hefrydu yn eu *tarddiad* a'u *hamcan.* Gelwir hwynt, weithiau, dosbarth y Pa fodd, a dosbarth y Paham. Ymysg y dosbarth cyntaf yn gyffredin y ceir gwyddonwyr pob oes a gwlad; ac ymysg y dosbarth olaf y ceir duwinyddion, beirdd, a'r rhan fwyaf o athronwyr yr oesau. Y mae y cyntaf yn astudio y bydysawd fel peiriant anferth, a'r diweddaf yn ceisio treiddio i mewn at amcan a dyben y peiriant. Cyhuddir y cyntaf o aberthu y personol a'r unigol i'r gyfundraeth; a chyhuddir yr olaf o golli eu golwg ar y gyfundraeth wrth redeg ar ol y personol. Cyfarfyddasom, y dydd o'r

blaen, â chymhariaeth dra phrïodol i osod hyn allan.* Cymherid y bydysawd i agerlong fawr, yn hwylio rhwng dau borthladd adnabyddus, ac yn cario ar ei bwrdd ddau ddosbarth o deithwyr. Erys un dosbarth i lawr yn ystafell y peiriant yn gwylio yr olwynion, tra y mae y dosbarth arall ar fwrdd y llestr, yn ymyl y llywydd, yn gwylio yn ddyfal ysgogiadau a chyfeiriad y llong. Ceidw rhai yn yr *engine-room*, heb ysgogi oddiyno,—dyna lle y mae gwyddonwyr pob oes; ceidw eraill ar y bwrdd, heb ysgogi oddiwrth y llyw a'r llywydd; yno, yn gyffredin, y ceir y duwinyddion. Daw rhai, o'r naill ddosbarth a'r llall, i gyfarfyddiad â'u gilydd yn fynych ar ben yr esgynfa sydd yn arwain i fyny o'r *engine-room* i'r dec, a dyna lle y bydd ymddadleu! Dywed rhai y bydd i'r llestr fyned yn ddrylliau, ac na fydd cadwedig neb o'r rhai sydd ar ei bwrdd; dywed eraill fod ganddynt berffaith ymddiried yn y llywydd da, a'i fod wedi awgrymu, i'r rhai agosaf ato, na bydd i neb o'r teithwyr gael eu colli, ond y cerir hwy yn ddïogel i'r porthladd draw. Dyma yr holl ymgecraeth rhwng duwinyddion a gwyddonwyr: byddai yn llawer gwell i bob dosbarth ymgadw o fewn ei diriogaeth ei hunan.

A chadw golwg ar y gymhariaeth hon, y mae yn hawdd penderfynu i ba un o'r ddau ddosbarth y perthyna Carlyle; y mae efe o nifer y rhai hynny sydd yn astudio *o ba le* y daeth y llestr, ac *i ba le* y mae ei chyfeiriad, a cheidw yn lled agos at y llywydd. Yn unig buasem yn caru cael mynegiadau mwy pendant ganddo o berthynas i'r llywydd,—a ydyw yn ei ystyried yn Fôd personol ai peidio. Y mae yn amlwg ei fod yn credu fod rhywbeth yn bod heblaw ac uwchlaw mater,—fod ysbryd mewn dyn, ac mai ysbrydoliaeth yr Hollalluog sydd yn peri iddo ddeall. Cenfydd fod yma ryw elfen ysbrydol gref yn rhedeg trwy hanesiaeth, gan uno ei holl ffeithiau â'u gilydd. Dyma yr hyn a alwn ni yn Rhag-

*Cyfeirir uchod at *The Unseen Universe*, cyfrol ddienw a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan Meistri Macmillan, un o'r llyfrau hynotaf a gyhoeddwyd er ys talm.

luniaeth Ddwyfol,—y cyfeiriad dirgeledig hwnnw sydd yn cael ei roddi i holl amgylchiadau plant dynion a helyntoedd y byd. Cydnabod hyn sydd yn peri iddo ef ystyried fod rhyw elfen o unoliaeth yn uno â'u gilydd y Diwygiad Protestanaidd a'r Chwyldrôad Ffrengig. Dyma lle y daw ei graffder fel hanesydd i'r golwg fwyaf. Ni chydnebydd Hume a Gibbon yr elfen hon o gwbl mewn hanesiaeth: gwawdia Macaulay hi bob tro y caiff y cyfleusdra i hynny; eto cydnebydd Carlyle fod yna haen ysbrydol megis yn rhedeg dan y cyfan. Yr un modd am gymeriadau,—teimla efe fod rhyw deithi ysbrydol yn perthyn i wir fawredd, sydd yn peri unoliaeth a chyffelybrwydd yn y cymeriadau mwyaf amrywiol. Felly cyplysa efe y rhai mwyaf gwahanol mewn un dosbarth mawr, gan eu galw yn arwyr. Dyma ffynonnell ei arwr-addoliaeth. Yn ei oriel o arwyr ceir Odin a Mahomet; Dante a Shakspeare; Luther a Knox; Johnson, Rousseau, a Burns; Cromwell a Napoleon. Yr unig ffordd y byddwn ni yn gallu egluro hyn ydyw, y duedd gref sydd ynddo at *unoli*,—unoli ffeithiau hanesiaeth; a hefyd unoli—gwneyd *groups*—o'r personau sydd yn weithredyddion mewn hanesiaeth. Tardd hyn, drachefn, o'r warogaeth a dâl efe i'r elfenau moesol ac ysbrydol sydd yn rhedeg trwy ddigwyddiadau a chymeriadau. Tra y mae amgylchiadau allanol yn wahanol; yn nhiriogaeth mater y mae gwahaniaeth rhwng ffaith a ffaith, a pherson a pherson; ond unwaith yr esgynnwn i dir yr ysbrydol, deuwn o hyd i egwyddorion tragywyddol sydd yn unoli y cyfan â'u gilydd, a phob gwahaniaeth yn diflannu ger eu bron.

Nid oes neb wedi defnyddio gwatwareg lemach i wawdio y syniad o osod y byd allan fel peiriant na Carlyle; gwell ganddo ei alw yn bob peth nag yn beiriant. Dyna'r paham y mabwysiada efe hen *myth* y Scandinafiaid, sydd yn ei gymharu i goeden—Igdrasil—Coeden Bodolaeth:—

Yr ydwyf, hefyd, yn hoffi yr arddangosiad yna a feddant,—Y Pren Igdrasil. Darlunir yr Oll o Fywyd ganddynt hwy fel

Pren—Igdrasil,—Onwydden Bodolaeth; sydd â'i gwreiddiau i lawr yn ddwfn yn nhiriogaeth Hela neu Farwolaeth; ei phaladr yn cyrhaedd i fyny tua'r nefoedd, a'i changau yn daenedig drwy yr holl Fydysawd; dyma goeden Bodolaeth. Wrth ei gwraidd, yn nheyrnas Marwolaeth, eistedd tair o *Nornas*—y Tyngedfenau —y Gorffennol, y Presennol, a'r Dyfodol,—gan ddyfrhâu ei gwreiddiau o'r Ffynnon Sanctaidd. Ei changau, gyda'u himpiadau a'u dail-gwympiadau,—amgylchiadau, pethau a ddioddefwyd, pethau a wnaed, trychinebau,—ydynt yn ymestyn drwy yr holl oesau a'r gwledydd. Ai nid ydyw pob deilen o honi yn Fywgraffiad; pob coed-lin o honi yn air neu weithred? Ei changhennau ydynt Hanes Cenhedloedd. Ei siffrwd ydyw sŵn Bodolaeth Ddynol yn treiglo ymlaen o'r hen amseroedd. Yn y fan yna y tŷf, ac awel Teimlad Dynol yn suo yn ei changau; neu, pan yn cael ei churo gan y dymhestl, a'r ystorm yn udo drwyddi fel llais yr holl dduwiau. Dyma Igdrasil—Pren Bodolaeth. Dyma y gorffennol, y presennol, a'r dyfodol; yr hyn a wnaed, yr hyn sydd yn cael ei wneyd, a'r hyn a wneir; treiglad annherfynol y perwyddiad gwneyd. Wrth ystyried fel y mae pob peth dynol yn cylch-redeg,—pob un mewn cymundeb annatodol â'r oll,—fel y mae y gair yr wyf fi yn ei lefaru heddyw wedi ei fenthycio, nid oddiwrth Ulfila* y Mæsogothiad yn unig, ond oddiwrth bob dyn er pan ddechreuodd y dyn cyntaf lefaru, nid ydwyf yn gweled yr un gymhariaeth mor wir a'r gymhariaeth hon o bren. Prydferth: mewn gwirionedd yn brydferth ac yn fawr! "Peiriant y Bydysawd:" Och! ystyria y fath gyferbyniad.—*Heroes and Hero-worship*, p. 199.

Yn unol â'r wedd hon y mae yn galw hanesiaeth yn fynych yn Fibl,—nid *y* Bibl wrth gwrs,—ond yn ddadguddiad o ryw fath o'r dwyfol yn ymddangos yn a thrwy y dynol. Fel y canlyn y dywed ar hyn:—

Yn yr hen amseroedd yr oedd hanesiaeth yn arwrgerdd ac yn Feibl; yn ddarlun, er yn aneglur, o bresennoldeb Duw, gweithrediad arwyr, a dynion ysbrydoledig. Dyma Feiblau cenhedloedd;—Beibl pob un ydyw ei hanesiaeth gredadwy, nid yn unig yn Judea, neu yn Groeg, neu Rhufain, eithr ymhob cenedl a gwlad. Y Creawdwr Hollalluog, yn ddiddadl, a greodd y Loegr hon hefyd, ag sydd wedi bod, a phob amser y sydd, yn wyrthiol bresennol ynddi; a mawr ydyw ein trueni os ydyw ein llygaid wedi myned mor ddylluanaidd fel nas gallwn ganfod hyn,—ffaith y ffeithiau,—pan y mae ger ein bron. Unwaith gwybyddid, mewn gwirionedd, fod y Goruchaf yn preswylio

* Ulfila ydoedd un o hen esgobion y Gothiaid a gyfieithodd yr ysgrythyrau sanctaidd i iaith y Gothiaid, ac ystyrir y cyfieithiad hwnnw yr engraifft gyntaf braidd o lênyddiaeth Deutonaidd.

ymysg y genedl hon, gan ddwyfol-ddial, dwyfol-achub, a gwobrwyo; gan arwain, gyda chamrau a llwybrau tanllyd, gydag arwriaeth, duwioldeb, a gweithredoedd a meddyliau ardderchog, y genedl hon ymlaen tua'r nefoedd, os ewyllysiai, neu os anturiai fyned. Hysbys neu anhysbys, dyna'r ffaith bob amser. * * *

Gwybydd neu beidio, y mae yr oll o Hanesiaeth yn Feibl llafaredig, sydd mewn modd pwl, aneglur, yn amlygu yr ymddangosiadau dwyfol yn y byd isod hwn; canys Duw a wnaeth y byd hwn, ac sydd bob amser yn ei lywodraethu; y Gwehydd mawr, trystfawr, Amser, gyda'i holl Ddadguddiadau Hebreaidd, a'i Chwyldrōadau Ffrengig, sydd yn gwau y wisg yr adnabyddi di Ef wrthi. Nid oes bywgraffiad o unrhyw ddyn, llawer llai hanes neu fywgraffiad o unrhyw genedl, nad oes cenadwri o'r nef yn oblygedig ynddo, wedi ei chyfeirio at y glust esgud neu fyddar. Fe ddysg bywyd pob dyn i ti ychydig pa beth ydyw y bydysawd hwn—pa beth ydyw deddfau Duw; bywyd yr *oll* o ddynolryw, a bywyd *pob peth*, yn unig a'i dysg i ti yn gyflawn, a rhaid i tithau fod yn astud i ddysgu.

Yn unol â'r syniad hwn, y mae yn uno y ddwy dalaeth mewn hanesiaeth, sef Hanesiaeth Wladol a Hanesiaeth Eglwysig, megis yn un,—iddo ef y maent yn rhannau o'r un maes mawr, ëang. Ceir ef yn cysylltu, fel effaith, ryw ddigwyddiad a gymerth le yn nhiriogaeth hanesiaeth wladol wrth ryw amgylchiad a gymerodd le yn nhiriogaeth hanesiaeth eglwysig, fel ei achos. Ar y tir hwn y cenfydd y berthynas sydd rhwng y Chwyldröad yn Ffrainc â'r Diwygiad yn Germany. Y canlyniad o hyn ydyw, ei fod wedi rhoddi lle uwch a phwysicach i Brotestaniaeth a Phuritaniaeth nag a roddwyd iddynt o'r blaen gan unrhyw hanesydd. Gesyd pob hanesydd hwynt yn eu gwahanol adegau, gan adael iddynt gymeryd eu lle fel ffeithiau cyffredin eraill; ond y mae Carlyle yn graffach i ganfod yr ysbrydol ynddynt, a dyry efe arbenigrwydd neillduol arnynt. Y rhannau mwyaf hyawdl braidd yn ei holl weithiau ydyw y darnau lle yr olrheinia y dylanwadau a ddaethant i fod ar Gyfandir Ewrop, drwy y Diwygiad Protestanaidd, a'r effeithiau a gynnyrchwyd gan ymfudiad y Puritaniaid i'r America yn y *Mayflower*. Pan yn darlunio effeithiau a chysylltiadau rhyw ddaeargrynfäau hanesyddol

mawrion, fel hyn, y daw ei allu a'i graffder i'r golwg. Pa un bynnag ai afiach ai ynte iach ydyw y duedd, y mae yn amlwg ei fod yn hoffi tynnu ei ddesgrifiadau mawreddog yng ngoleu y mellt yn yr ystorm yn fwy nag yn nhawelwch yr haf-ddydd; rhaid cymdeithasu âg ef yn nhwrf y llosg-fynydd, a'r *lava* yn rhedeg o gylch eich traed. Yn ei farn ef y Diwygiad Protestanaidd ydoedd ffaith fawr yr unfed ganrif ar bymtheg; a chwestiwn mawr Rhagluniaeth i bob dyn, a phob cenedl ar Gyfandir Ewrop, y pryd hynny, ydoedd, Ai Protestanaidd ai ynte *nid* Protestanaidd? Ac yn ol fel yr atebid y cwestiwn, yn gadarnhaol neu yn nacaol, y byddai hanes y dyn hwnnw neu y genedl honno ar ol hynny:—

Cynnwysa y cwestiwn, ymhob man, A oes ynot ti, O! genedl, unrhyw ardderchogrwydd, ai ynte nid oes? A oes ymysg y genedl hon ddigon o ddynion arwrol i anturio ymlaen, ar berygl eu bywyd, ac ychwaneg, i ymladd dros Wirionedd Duw, yn *erbyn* Rhagrith y Diafol?—Dynion a garant angeu, a phob peth, o flaen byw o dan ddylanwad Rhagrith,—y rhai, unwaith am byth, *na* wnant fyw dan ddylanwad Rhagrith; ond a allant, gan eu bod wedi dynoethi y cleddyf (yr adeg wedi dyfod i roddi y cam pwysig ac amheuthyn hwnnw), daflu y wain ymaith, a dywedyd, gydag eglurdeb duwiol;—"Wel, tyred ymlaen, ynte. Nid llesol i ni fyw dan ddylanwad Rhagrith; ni a'i hymladdwn allan yma yn awr. Boed yn ymdrechfa hyd farw, ynte, rhyngom."

Wedi unwaith gyfodi y genedl i'r *gwŷn-wrês* dwyfol hwn, o ran ei hysbryd, pe na byddai ond yn unig am dymor, bydd, o hynny allan, yn fawr drwy ei holl hanes dilynol. Yn yr ardymheredd uchel hwn, y fath symiau o sorod, a defnyddiau cûdd-wenwynig eraill, a lysg hi allan o honi ei hunan yng nghwrs ychydig o flynyddau! Gwel, er engraifft, Cromwell a'i Buritaniaid yn gwneuthur Lloegr, hyd yn oed ar deleran Siarl yr Ail, yn breswyliadwy am gwpwl o ganrifoedd yn rhagor. Credaf y bendithir cenhedloedd am oesoedd drwy gael eu taflu, yn y dull yma, i'r *gwŷn-wrês* dwyfol hwn. Ac nid oes yr un genedl wedi dyfod i nemawr o fri ar nas cafodd, ar ryw amser, ei thaflu i'r fath lewygfeydd dwyfol.—*History of Frederick the Great*, Vol. I.

Yna, gyda deheurwydd mawr, darlunia pa fodd yr atebwyd y cwestiwn uchod gan wahanol genhedloedd Ewrop, a pha beth yw y canlyniadau o hynny. Ateb-

wyd ef yn *nacaol* gan Awstria, Yspaen, Itali, Poland, a Ffrainc,—dewisasant "Ragrith y Diafol" o flaen "Gwirionedd Duw,"—aethant ar ol yr hûdlewyrn, gan feddwl mai seren sefydlog ydoedd; a threiglasant obry, drwy lawer o drychinebau, byth wedi hynny. Cawn yr hyn a ganlyn am Ffrainc:—

Ond yr esiampl fwyaf neillduol ydyw Ffrainc, lle y trown yn wastadol am eglurhâd. Yn yr amseroedd Protestanaidd hynny, canfu Ffrainc, gyda'i deall craffus, y *gwirionedd*, a chanfu y *rhagrith;* a chydag iâs o frwdfrydedd haelfrydig, bu agos iddi fabwysiadu y cyntaf. Bu Ffrainc o fewn trwch blewyn i ddyfod yn weithredol Brotestanaidd. Ond gwelodd Ffrainc yn dda lofruddio Protestaniaeth, a gwneyd pen am dano ar nos Sant Bartholomeus, 1572. Ond, i lefaru felly, darfu i Ringyll Cang-hell-lŷs y Nefoedd,—ysbryd Ffaith a Gwirionedd, adael ei Warant ar ei ol;—darllenwyd y Wŷs ac atebwyd hi yn y dull uchod. Darfu i angel Ffaith a Gwirionedd, gan hynny, droi ei gefn; gwthiwyd ef ymaith, a chafodd ei gadw draw am ddau can' mlynedd. Eithr yr oedd y Warrant wedi ei gwasanaethu: nis gallai Cenad y Nefoedd sefyll draw am byth. Na, dychwel-odd yn brydlon, gyda chyfrifon wedi rhedeg, a llôg ar lôg, hyd yr awr benodedig, yn 1792; ac yna, o'r diwedd, bu *Protest-aniaeth*—a gwyddom ni pa fath un oedd hwnnw!—*History of Frederick the Great*, Vol. I.

Gyda'r un craffder canfyddiad, cawn ef yn darlunio Puritaniaeth, a'r holl bethau a gynnyrchwyd gan yr ysgariad mawreddog hwnnw. Darllenner a ganlyn:—

Gallwn geryddu Puritaniaeth fel y mynnom, a thybiwyf nad oes neb o honom na chenfydd mai peth garw anmherffaith ydoedd. Ond gallwn ni, a phawb dynion, ddeall ei fod yn beth cywir; fod Natur wedi ei fabwysiadu, a'i fod wedi tyfu ac yn tyfu. Byddaf yn arfer dywedyd, weithiau, fod pob peth yn myned yn mlaen yn ol grym rhyfel yn y byd hwn; ac mai *nerth*, ond ei iawn-ddeall, ydyw mesur pob teilyngdod. Rhoddwch amser i unrhyw beth, ac os gall lwyddo, y mae yr iawn beth. Edrych ar America Sacsonaidd; ac ar y ffaith fechan o hwyliad y *Mayflower*, o borthladd Delft, yn Holland, ddau can' mlynedd yn ol. Pe buasem gan graffed â'r Groegiaid, buasem wedi sylfaenu Pryddest ar hyn:—un o Bryddestau Natur ei hunan, y fath ag a ysgrifenna hi, gyda ffeithiau llydain ar draws cyfan-diroedd eang. Canys dyma yn briodol ddechreuad yr America; yr oedd yno ychydig ymsefydlwyr gwasgaredig o'r blaen,—ychydig ddefnyddiau i ffurfio corff; ond dyma ei enaid cyntaf.

Y dynion tlodion hyn, wedi eu gyrru allan o'u gwlad, ac heb allu byw yn hapus yn Holland, a benderfynasant ymsefydlu yn y Byd Newydd. Yr oedd yno fforestydd duon anniwylliedig, a chreaduriaid barbaraidd; ond nid mor greulawn a dienyddwyr y *Star Chamber*.* Tybient, os llafurient yn onest, y dygai y ddaear fara iddynt; yr ymledai y nefoedd dragywyddol uwch eu pennau yno hefyd; y gadewid llonydd iddynt, mewn heddwch, i barotoi ar gyfer tragywyddoldeb, drwy fyw yn dda mewn amser; ac y caent addoli yn yr hyn a dybient hwy y ffordd wirioneddol, ac nid yr un eilunaddolgar. Casglasant ynghyd eu hychydig foddion, huriasant long—y llong fechan *Mayflower*, a pharotoisant i gychwyn. Yn *Hanes y Puritaniaid* gan Neale, ceir hanes seremoni eu hymadawiad; gellir ei alw yn hytrach yn gysegr-ŵyl, canys yr ydoedd yn act wirioneddol o addoliad. Aeth eu gweinidog, a'u brodyr oedd i aros ar ol, gyda hwynt at lan y traeth; ymunasant oll mewn gweddi ddifrifol (rhoddir y weddi hefyd i lawr) ar i Dduw drugarhâu wrth ei blant tlodion, a *myned* gyda hwynt i'r diffaethwch eang hwnnw; canys Efe ei hun ydoedd creawdwr hwnnw, ac yr ydoedd ei bresennoldeb Ef yno, hefyd, fel yma. Ah, tybiaf fod gan y bobl hynny waith! Daw y peth gwan, gwanach na phlentyn, yn gryf ryw ddiwrnod os bydd yn beth gwir. Nid ydoedd Puritaniaeth ond peth diystyrllyd, chwarddadwy, y pryd hynny; ond nis gall neb fforddio chwerthin am ei ben erbyn hyn. Y mae Puritaniaeth wedi dyfod i feddu offerynau a gewynau; medd dân-ddrylliau a rhyfel-lyngesoedd; y mae medrusrwydd yn ei ddeg bŷs, a nerth yn ei fraich ddeheu; gall hwylio llongau, cwympo fforestydd, a symudo mynyddoedd; y mae erbyn hyn yn un o'r pethau cryfaf dan haul.—*Lectures on Heroes*, p. 292.

Y mae syniadau Carlyle am Arwyr eto yn dal perthynas agos â'i ddamcaniaeth am hanesiaeth; canys creadigaeth arwyr, yn ei farn ef, ydyw gwir hanesiaeth. Yn ei arwr-addoliaeth, fel yn ei hanesiaeth, dyry le mawr i'r ysbrydol,—i ffydd ac enaid, yn gyferbyniol i fater marw, neu nerth anifeilaidd yn unig. Dyma, i fesur, y rheswm fod ei arwyr yn rhai mor amrywiol, o wahanol oesau, gwahanol wledydd, a gwahanol gredöau, —am fod rhyw unoliaeth ysbryd a chydwybod rhyngddynt i gyd. Amheuir llawer o'i ddadganiadau ar y pen hwn. Ni chrêd am Mahomet, "mai dernyn o ofergoeledd ysbrydol" ydoedd, eithr "darn mawr o fywyd

* *Star Chamber* ydoedd y llŷs a ddaethai mor erlidigaethus yn nyddiau Siarl y Cyntaf, fel y mynnwyd ei ddifodi, er mawr lawenydd i'r bobl.

wedi ei daflu i fyny o fynwes Natur ei hunan." Dywed mai Cromwell, yr amaethwr o swydd Huntingdon, ydoedd y dyn cryfaf yn Lloegr,—mai efe ydoedd Cadben mawr byddin Ffydd yn erbyn Anffyddiaeth; a'i fod yn fwy arwr o ddim rheswm na Napoleon y Cyntaf. Dante a Shakespeare, y cyntaf yn corffori crefydd y Canol-oesoedd, a'r olaf yn arddangos bywyd allanol oesoedd diweddar Ewrop: "Dau ddyn cymhwys; Dante yn ddwfn angerddol, fel y tân yng nghraidd y greadigaeth; Shakespeare yn ëang, tawel, pell-dreiddiol, fel yr haul, goleuni allanol y byd. Cynnyrchodd Itali un bydlais; cawsom ni, Brydeiniaid, yr anrhydedd o gynnyrchu y llall." Gwawdia yn ddidrugaredd y syniad o gael arwr heb gydwybod ganddo,—heb yr elfenau mawrion ysbrydol sydd yn uno arwyr â'u gilydd, ac yn eu gwneyd yn halen y ddaear, yn golofnau tân a niwl yn yr anialwch. Heb ffydd anmhosibl cael arwr; ac y mae amseroedd di-ffydd, yn ei dŷb ef, yn amseroedd diarwriaeth. Nid ydym yn cofio i ni ddarllen erioed ddernyn mwy gwawdlyd na'r canlynol, lle y darlunia yr amseroedd di-ffydd a materol presennol:—

O! mi fûm mewn lle y buasai yn rhyw gysur i dybied cael fy nhemtio gan Ddiafol; ond yn ein hoes ni, o chwalu ac anghredu, y mae hyd yn oed y Diafol wedi ei dynnu i lawr,—nis gellwch gymaint a chredu mewn Diafol! ïe, os yr hyn a elwi di yn Ddedwyddwch ydyw ein gwir gyfeir-nôd, yr ydym i gyd ymhell oddiwrth y nôd;—gyda Phenglogni a Threuliad da gall dyn wynebu llawer o bethau. Ond, mewn dyddiau dwl a materol, fel y rhai presennol, beth ydyw dychrynfeydd cydwybod o'u cymharu âg afiechyd yr afu! Gadewch i ni adeiladu ein hamddiffynfa, ynte, nid ar foesoldeb, ond ar goginiaeth; yna, gan chwifio ein padell-ffrïo megis thuser, bydded i ni offrymu arogldarth peraidd i'r Diafol, a byw yn foddhaus ar y pasgedigion a ddarparodd efe i'w etholedigion.

Ond yma yr ydym yn dyfod at ei fan gwan fel hanesydd, ac fel arwr-addolwr; y mae yn rhy *amwys* a *nacaol*. Dyma sydd yn gwenwyno braidd ei holl ddysgeidiaeth, ac yn gwrthweithio tuedd ddaionus ei ysgrifeniadau. Y mae yn cydnabod yr elfen ysbrydol mewn hanesiaeth ac

yn y greadigaeth, mae yn wir; ond yr ydym yn barod i ofyn pa beth ydyw; a ydyw yn rhywbeth uwchraddol i weithrediad y deddfau a'r egwyddorion a ganiatâ y *Materolydd* a'r *Tyngedfenwr?* Gan na cheir ateb croew ganddo i'r pethau hyn, cyhuddir ef gan rai, ac nid heb achos hefyd, o fod yn gogwyddo at *Bantheistiaeth.* Sylwer ar y dernyn canlynol:—

Y dirgelwch mawr hwnnw, Amser, pe na bae yr un arall, —y peth annherfynol, distaw, byth-symudol a elwir Amser, yn treiglo ymlaen, yn rhuthro ymlaen, yn gyflym, yn ddistaw, fel môr-lanw oll-gludol, ar wyneb yr hwn y nofiwn ni a'r holl Fydysawd fel tarthion—fel ymddangosiadau yn *bŏdoli* ac yna yn *peidio bodoli:* y mae hyn byth yn wyrth lythyrennol: peth i'n taraw â mudandod,—canys nid oes gennym enw i'w roddi arno. Y Bydysawd hwn, Och fi! pa beth a allasai yr anwar-ddyn ei ddeall am dano; pa beth a allwn ni eto ei wybod? Mai Gallu ydyw, cymhlethiad o filoedd o Alluoedd; Gallu ar wahan i *ni.* Dyna'r cwbl, nid nyni ydyw, y mae yn hollol wahanol i *ni.* Gallu, gallu, ymhob cyfeiriad, a ninnau ein hunain yn Allu dirgeledig yng nghanol y cyfan. Nid oes deilen yn pydru ar y brif-ffordd heb ynddi allu; oni bae hynny, pa fodd y gallai bydru? Iĕ, yn wir, rhaid ei fod yn wyrth hefyd i'r meddyliwr Atheistaidd (pe byddai un felly yn bosibl), y Corwynt byth-symudol yma, mor uchel âg Annherfynoldeb, mor hen a Thra-gywyddoldeb. Pa beth ydyw? Etyb y bobl grefyddol mai Creadigaeth Duw ydyw; eiddo yr Hollalluog Dduw! Gydag enwau gwyddorol, arbrofion, a phethau eraill, baldordda gwyddoniaeth Atheistaidd yn dlodaidd am dano, fel pe mai peth marw ydyw, i gael ei botelu mewn costrelau Leyden, a'i werthu ar fael-fyrddau; ond dadgan synwyr naturiol dyn bob amser, os cymhwysa efe ei synwyr yn onest, ei fod yn beth bywiol;—Ah! ei fod yn beth annhraethadwy ddwyfol; ac, ar ol yr holl wyddoniaeth, mai yr ymddygiad mwyaf priodol, o'r eiddom ni, tuag ato, ydyw parchedig ofn, ymostyngiad defosiynol, a gostyngeiddrwydd enaid;—addoli, os nad mewn geiriau, yna mewn distawrwydd.—*Lectures on Heroes,* p. 191.

Wedi cymeryd ein hanadl atom, ac ymddadebru oddiwrth effeithiau hyawdledd dernyn fel yr uchod, y gofyniad cyntaf ydyw, Pa beth y mae yn ei feddwl? Nid oes dim amlycach na'i fod yn cydnabod fod rhyw-beth yn rhedeg drwy holl gyfnodau Amser, yn peri yr holl ddirgelwch mawr yma ynddo; ond tybed mai llaw ddirgeledig Duw mewn Rhagluniaeth ydyw? Cyd-

nebydd fod gallu yn y greadigaeth, ond ai gweithrediad Duw ydyw? ynte a ydyw y gallu hwn yn Dduw ei hunan? A ydyw yn meddu bodolaeth annibynol ar y greadigaeth,—a ydyw yn allu anmhersonol yn trigo *yn* y greadigaeth, neu a ydyw yn gynnyrch Bôd personol sydd yn hanfodi ar wahan i'r greadigaeth, eto yn ei chynnal ac yn ei llywodraethu? Gan nad oes yn ei weithiau atebion llawn i'r cwestiynau hyn, a'u cyffelyb, rhaid i ni addef fod sail dêg i'r cyhuddiadau o bantheistiaeth a ddygir weithiau yn ei erbyn.

Yr un modd yn ei ddamcaniaeth am Arwyr,—diffyg mawr hon ydyw ei bod yn rhy *nacaol*. Y mae ei ddamcaniaeth am yr hyn sydd yn cyfansoddi gwir arwr yn berffaith gywir; ond metha yn y cymhwysiad o honi. Yn ei fyfyrgell ffurfia ei ddamcaniaeth am arwr, gan grynhoi iddi yr holl elfenau angenrheidiol, eithr pan yr â allan i'r byd i chwilio am arwyr, metha yn ei ymgais —y mae y wisg yn rhy helaeth i ysgwyddau braidd yr oll o honynt. Yr elfenau uchaf, yn ei syniad am wir arwr, ydynt elfenau moesol ac ysbrydol; ond pan yr aiff allan i gymhwyso ei syniad disgynna braidd bob amser ar arwyr heb ynddynt ond mawredd anianyddol. Yn ei lyfr ar Ffrederic Fawr, ceir darnau nad anghofir byth—desgrifiadau ysplenydd o frwydrau a chymeriadau; ond terfyna y llyfr mewn profi, *nid* fod Ffrederic yn arwr (yn ol syniad Carlyle am arwr), ond mewn peth tra gwahanol, sef mewn profi ei fod yn filwr campus. Syrthiodd Carlyle mewn cariad â rhyw nodweddau yn Ffrederic,—y naid honno o eiddo Ffrederic ar ei elynion, fel llew yn neidio ar ei ysglyfaeth, y prydlondeb a'r gallu hwnnw i ddwyn ei holl beirianwaith i weithredu gyda manylwch a chywirdeb *clock-work* ar ryw un amcan mawr; dyma, yn ddiamheu, y pethau a barodd iddo ddewis brenin Prwssia yn arwr. Ond nid ydyw y rhai hyn namyn galluoedd yn cyfranogi o nodwedd galluoedd yr anifail; a thêg, gan hynny, y cyhuddiad a ddygir yn erbyn Carlyle o fod yn edmygu gallu anifeiliaidd mewn cyferbyniad i allu ysbrydol. Fel y cry-

bwyllwyd, yn y cymhwysiad y mae y diffyg,—y mae y *theory* yn gywir, ond y cymhwysiad yn anghywir. Arwyr digon mawr i gyfateb i ddrychfeddwl Carlyle am y gwir arwr ydynt yn amheuthyn a phrinion iawn; ond gresyn ei fod yntau wedi gwneyd maes ei ddewisiad mor gyfyng. Carasem ei weled yn talu llai o sylw i *lwyddiant*, fel un o elfenau ei arwyr,—y mae arwyr *af*-lwyddiannus wedi bod yn y byd yma, ond nid oeddynt yn llai arwrol oblegid hynny. Braidd na thybiem fod ysplander llwyddiant rhai o'i arwyr wedi dallu peth ar dreiddgarwch ei olygon. Beth ond arwyr aflwyddiannus, yng ngolwg y byd, ydoedd holl "Ardderchog Lu y Merthyron?"—y rhai "nid oedd y byd yn deilwng o honynt, yn crwydro mewn anialwch a mynyddoedd, a thyllau ac ogofëydd y ddaear." Buasai hwn yn faes ardderchog iddo i chwilio am arwyr ynddo; a buasai yn llawer tebycach o lwyddo i gael rhai i ateb ei syniad nag yn llysoedd y brenhinoedd Germanaidd, neu ym mhebyll Cadfridogion llwyddiannus y byd, neu yn wir ymhlith gwallgofiaid amheus y Chwyldröad Ffrengig. Carasem gael ychwaneg ganddo am y Deyrnas sydd a'i harwyr "yn dlodion yn yr ysbryd," "yn galaru," "yn addfwyn," "yn drugarogion," "yn dangnefeddwyr," "yn bur o galon," ac "arnynt newyn a syched am gyfiawnder." Ymha le y saif Mahomet neu Mirabeau, Danton neu Napoleon, yn ymyl y rhai hyn? Pan y daw at Luther, Knox, a Cromwell, mor ardderchog y mae ei ddamcaniaeth a'r cymhwysiad yn gweddu i'w gilydd! Os oedd ei barchedigaeth yn ei atal i gymeryd ei arwyr o faes hanesiaeth ysbrydoledig, yr oedd digon o rai o'r dosbarth uchod i'w cael, llawer mwy hysbys, a hefyd llawer yn lletach eu hysgwyddau i allu gwisgo ei wisg arwrol ef. Gyda gwylder canmoladwy, y mae wedi gadael Un Arwr,—Arwr y Goron Ddrain,—heb wneud ond moes-gyfarchiadau addolgar iddo, yn y pellder, wrth fyned heibio. Y mae *reverence* Carlyle yn gwneud i fyny am lawer o'i ddiffygion eraill. Mor dyner ydyw yr awgrymiadau canlynol:—"Y Mwyaf o'r holl arwyr

ydyw Un na enwn ni yma. Gadawer i ddistawrwydd cysegredig fyfyrio ar y pwnc cysegredig hwn; ti a'i canfyddi y perffeithiad uchaf o egwyddor sydd yn bodoli yn holl hanes dyn ar y ddaear:—Coronau drain ydyw holl goronau ardderchog y ddaear erioed a byth."

# EMANUEL DEUTSCH A'R TALMUD.

*Literary Remains of the late* EMANUEL DEUTSCH, *with a brief Memoir*. London: John Murray. 1874.

*Emanuel Deutsch. A Memorial.* By the Rev. H. R. HAWEIS. Contemporary Review, April, 1874.

YN yr hen gyhoeddiad parchus a galluog, y *Quarterly Review*, am Hydref, 1867, ymddangosodd ysgrif o dan y penawd syml, "Y Talmud," a greodd gynhwrf anghyffredin yn y byd llênyddol, a thu hwnt i derfynau hwnnw, o ran hynny, yn y byd crefyddol a duwinyddol hefyd. Yr oedd y testun i ryw fesur mor ddieithriol, yr ysgrifennydd yn ei drin mor feistrolgar, ei arddull mor heinyf a disglaer, nes, ar unwaith, dynnu sylw pawb y delai y cyhoeddiad i'w law. Yn nerth yr ysgrif cariwyd y rhifyn hwnnw o'r *Quarterly* drwy ddau neu dri a argraffiadau; cyhoeddwyd argraffiad arbennig o honi gan un o sefydliadau llênyddol Ffrainc; cyfieithwyd hi i'r Germanaeg, y Ffrancaeg, yr Italaeg, yr Ellmynaeg, y Rwssiaeg, ynghydag amryw eraill o ieithoedd y Cyfandir. Daeth yr awdwr, megis heb yn wybod iddo ei hunan, yn enwog; ymofynid am dano gan enwogion, ymohebid âg ef gan awdwyr; canfu bersonau o waed breninol ymysg ei edmygwyr; anfonwyd gwahoddiad iddo gan Lywydd yr Aipht i roddi ei bresennoldeb yn agoriad Camlas y Suez; teimlai un o dywysogesau breninol Lloegr ei hunan yn ffortunus ddarfod iddi allu sicrhâu dernyn o'r ysgrif enwog, yn llawysgrif yr awdwr ei hunan, i'w gadw fel cywreinbeth; gwahoddwyd yr awdwr i giniawa gyda Phrif-weinidog y goron; mewn gair, canfu ei hunan yn "arwr y dydd," fel y dywedir; a theimlai pawb a feddai gymhwysder i roddi opiniwn ar y fath bwnc, fod goleuad newydd disglaer wedi ym-

ddangos yn ffurfafen llênyddiaeth, ac awyddus iawn ydoedd pawb i wybod, Pwy ydoedd yr awdwr, a pha beth ydoedd ei hanes. Erbyn holi ac ymofyn cafwyd nad ydoedd yr athraw na Phrifathraw na Phenadur, na Doctor na Doethawr, namyn Iuddew Germanaidd, hollol ddiymhongar, ond talentog iawn, ac îs-swyddog yn y Gywreinfa Brydeinig, y *British Museum*, yn Llundain.

Yr Iuddewon—pobl ofnadwy erioed a byth, y genedl fwyaf dyddorol, a dyweyd y lleiaf, ar wyneb ein planed ni: tynant sylw lle bynnag y byddont, pa un bynnag ai yn y llŷs ai yn y lludw; pa un bynnag ai yn llanw swydd o ymddiried yn senedd y wlad, ai ynte yn gwaeddi "*Ou' clo, ou' clo,*" ar hyd heolydd budron rhai o'n dinasoedd mawrion;—cenedl sydd wedi cynnyrchu y dynion rhyfeddaf, o'r Duw-ddyn i waered, ac wedi gallu eu lladd a'u croeshoelio ar ol eu cynnyrchu: nis gall y fath genedl lai na thynnu sylw, a pherthyn i hanes pob un o honynt swyn a rhamant angerddol. Bwriadwn, yn y sylwadau canlynol, roddi braslinelliad o brif helyntoedd bywyd yr Iuddew sydd â'i enw uwchben ein hysgrif, a threm ar gynnwys yr erthygl enwog a'i dygodd yn bennaf i sylw y byd.

Ganwyd Emanuel Oscar Menahem Deutsch yn Neisse, yn y rhan a berthynai i Prwssia o Silesia, o rïaint Iuddewaidd, a fuont yn trigiannu yno dros amryw genedlaethau olynol. Gorwedd Silesia yn nwyreinbarth Germany, lle yr ymgyferfydd tiriogaethau Awstria, Rwssia, a Phrwssia, a ffurfia un o'r rhannau gwerthfawrocaf o diriogaethau coron y wlad ddiweddaf a grybwyllwyd. Silesia ydoedd y dalaeth a fu yn faes yr ymladdfeydd mawrion rhwng Awstria a Phrwssia,—y gornestydd celyd rhwng Maria Theresa â Ffrederic Fawr; ac ar y rhanbarth brydferth hon y byddai Ffrederic yn syrthio, gyda naid y llew, cyn i'w elynion, braidd, hel eu meddyliau at eu gilydd.

Fel yr Iuddewon yn gyffredin, yn neillduol yr Iuddewon alltudiedig, nodweddid teulu Deutsch gan

deimladau teuluaidd a chenedlaethol cryfion dros ben; ac, yn wahanol i Iuddewon yn gyffredin, nodweddid y teulu, fel lliaws o'u hâch, nid gan gariad at arian, ond gan sychod angerddol am wybodaeth. Pan yn chwe' mlwydd oed, dodwyd Emanuel ieuanc yn un o ysgolion goreu ei dreflan enedigol; ac wedi dwy flynedd o arosiad yno, mynnai ewythr iddo o frawd ei dad—Rabbi dysgedig o'r enw David Deutsch—a drigai mewn treflan arall heb fod ymhell, ei gael o dan ei ofal, a chymeryd ei addysg yn hollol i'w ddwylaw ei hunan. Dyma, dybygid, un o'r athrofeydd caletaf y clywyd am dani erioed i fachgen wyth oed. Gorfodid ef i gyfodi o'i wely am bump o'r gloch y boreu, haf a gauaf, ac efrydu yn ddidor, heb danwydd nac ymborth, am ddwy awr, hyd adeg y foreuol weddi, pryd y treulid awr arall gyda'r gwasanaeth hwnnw. Oddigerth un chwarter awr at adloniant, ac un arall at ymarferiad allan yn yr awyr agored, treulid o hynny hyd wyth o'r gloch y nos yn fanwl mewn efrydiaeth galed. Da fod yr efrydydd wedi ei fendithio â chyfansoddiad cadarn, ac â chariad dwfn at wybodaeth, onidê buasai wedi troi yn wrthryfelwr. Ystyrid yr ewythr yn ysgolaig manwl, ac yn awdwr nifer o lyfrau ysgoleigaidd ar y Talmud; a diamheu i hyn roddi nerth i dueddfryd y nai i ymroddi i'r efrydiau a'i gwnaethant wedi hynny mor adnabyddus. Ar derfyn ei dair ar ddeg mlwydd oed—yr adeg i blentyn Iuddewig ddyfod i'w oed mewn ystyr grefyddol—aeth adref i ddathlu yr amgylchiad hwnnw; a chan fod yn arferiad i blentyn Iuddewig, ar y fath adeg, ddarllen rhan o'r Ysgrythyr yn gyhoeddus yn y Synagog, disgynnodd i'w ran ef ddarllen Genesis xii. 1: "Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy genedl, ac o dŷ dy dad;"—geiriau a ddaethant wedi hynny i feddu y fath ystyr yn eu perthynas âg ef!

Cyn hir aeth i Brifysgol Berlin, lle yr ymroddodd i astudio duwinyddiaeth yn bennaf, eithr heb roddi heibio ei efrydiau yn y Talmud, i'r hyn y gellir dyweyd

y treuliodd y rhan hwyaf a goreu o'i oes. Cafwyd prawf amlwg o hynny yn y swrn anferth o bapyrau a gafwyd ar ol ei farw, yn cynnwys cyfieithiadau a thraws-ysgrifeniadau o'r Talmud, wedi eu hysgrifennu, rai o honynt, yn ei lawysgrif fachgenaidd pan yn ieuanc; eraill ar hyd yr holl flynyddoedd o hynny hyd ei farwolaeth.

Cynhaliai ei hunan yn y Brifathrofa, fel aml i efrydydd Germanaidd arall, drwy roddi gwersi i eraill a derbyn tâl am hynny. Ysgrifennai hefyd weithiau i rai o'r cyhoeddiadau, gyda destlusrwydd a dyddordeb mawr, ac ennillodd felly ddigon o arian i roddi taith fechan ar hyd y Rhine. Am ei efrydiau a'i athrawon yn y Brifathrofa, ysgrifennai fel y canlyn:—

*In magnis voluisse*, ai digon yw? .Pwy yn ein mysg nad ymdrechodd, rywbryd neu gilydd, i gyrhaedd rhyw nod uchel? ac ymddengys y parotoad i'r ymdrechfa, nid wedi ei frasnaddu, eithr wedi ei lunio gyda bwriad doeth y Dynged dyneraf. Dysgwyd fi i floesg-gynanu yr wyddor Hebraeg, ac i adrodd fy ngweddïau yn iaith Dafydd, cyn i mi allu darllen nac ysgrifennu tafodiaith y wlad y magwyd fi ynddi. Ar estyll fy llyfrgell fachgenaidd, tra y tyfwn i fyny, gorweddai Homer a Virgil ochr yn ochr â'r Midrash a'r Mishnah. Cyn fy nghynefino âg *academi* Plato a'i gyfeillion, ystyrid yn ddoeth i drwytho fy enaid, am ysbaid, yn gyfangwbl yn y cefnfor hwnnw a elwir y Talmud; a dysgid i mi resymeg yn nadleuon Rabina a Rab Ashi, cyn gallu o honwyf gyferbynu y taranfolltau cynddeiriog a ysgydwent dylathau Sura a Pumbeditha, gyda gwefusau tawel, tyner, a gwawd-wenawg Socrates. A thra yr haerai Hengstenberg, gyda llais croch, fod pob gair o'r Ysgrythyrau yn ysbrydoledig, cynrychiolai Vatke, y drws nesaf iddo, yr eithaf cyferbyniol, a gwadai awduriaeth Foesenaidd hyd yn oed y Deng Air Deddf.

Yna, gan adael y cwestiynau duwinyddol hyn, cefais fy hunan wrth draed Boeckh, a chyda choethder dillynwiw yr agorai o'm blaen hanes Groeg glasurol, gan wneuthur y *cistæ mysticæ* yn ddadguddiadau eglur. O dan ei arweiniad ef cefais edrych ar y gangen ffafredig honno o ddynolryw, yn eu chwareuon, yn eu difrifwch; yn y tŷ ac yn y farchnadfa; mewn heddwch a rhyfel; eu caethion, eu merched, a'u plant; eu doethion a'u hoffeiriaid; eu beirdd a'u barddonesau; a hyn i gyd, tra y dysgai Meineke i mi Horace yng ngoleuni Herman a Heine.

Hefyd, onid oedd Ranke yno i agor fy llygaid i sylwi ar ymddyheuadau dyfnach y ddynoliaeth? pa fodd y cynyddodd

golenni a gogoniant yr Adfywiad *(Renaissance)* o farbariaeth y Canoloesoedd hyd ein dyddiau ni, ac i ddangos i mi wreiddiau prydferth prenau teg rhyddid y llecha cenedloedd Ewrop o dan eu cysgod yn awr? Tra y cymerai Ritter ni—

O Greenland oer fynyddig
Hyd draethau 'r India fawr,

ac y llefarai am brennau, o'r cedrwydd sydd yn Libanus hyd yr isop a dŷf allan o adfeilion Virzagapatam.

Yn y flwyddyn 1855 agorodd drws iddo i ddyfod i Loegr, yr hyn a fawr ddymunai er ys amser maith. Rhoddwyd ar gwmni masnachol o Iuddewon yn Berlin, gan ymddiriedolwyr y Gywreinfa Brydeinig yn Llundain, i ymofyn am ddyn ieuanc o allu a chymhwysder i lanw lle yn y sefydliad ardderchog hwnnw; a syrthiodd y coelbren ar Emanuel Deutsch. Yma yr ydoedd yn ei afiaeth, a theimlai ei fod yn gorphen yr efrydiau a osodasai i lawr ym moreuddydd ei oes. Ysgrifenna fel y canlyn gyda golwg ar hyn yn niwedd y paragraph a ddyfynwyd uchod:—

Yna, am agos i ugain mlynedd, cefais y rhagorfraint o drigo yng nghanol y Pantheon honno a elwir y Gywreinfa Brydeinig; a'i holl drysorau, pa un bynnag ai Aiphtaidd ai Homeraidd; pa un bynnag ai cyn-ffurfiadau, ai crâf-ysgrifiyfrau Babylonaidd, gogoniant drylliedig y Parthenon, neu ddigrif-luniau dirgeledig Etrusca, oeddynt, bob dydd, bob awr o'r dydd, at fy ngalwad,—Alexandria, Rhufain, Carthage, Jerusalem, Tyrus, Sidon, ac Athen.

Ymddengys iddo fod yn fywiog a hapus am amser yn ei le yn y Gywreinfa Brydeinig, ac ysgrifennai yn ddidor i wahanol gyhoeddwyr a golygwyr, gan gadw o'i flaen yr un amcan mawr, sef ysgrifennu rhyw waith pwysig i esbonio y Talmud. Ymdeimlai hyd y diwedd fod ganddo yr apostoliaeth hon at y byd o egluro llênyddiaeth henafol ei genedl; a thebyg na chydgyfarfyddodd yr holl gymhwysderau angenrheidiol at hynny yn well yn neb erioed. Nid oedd braidd derfyn ar ei adnoddau llenyddol, yn neillduol yn y cyfeiriad yma.

Ysgrifennodd yn agos i ddau cant o erthyglau, mawrion a bychain, i Wyddoniadur Chambers o Edinburgh. Gŵyr pawb sydd yn feddiannol ar y trysor gwerthfawr hwnnw, Geiriadur Beiblaidd Dr. Wliliam Smith, mai efe a gyfansoddodd yr erthyglau campus ar y "Targumiau," "Y Pumllyfr Samaritanaidd," &c., heblaw lliaws o ysgrifau i'r argraffiad diweddaraf o Eiriadur Beiblaidd Dr. Kitto. Ar ol ymddangosiad ei ysgrif alluog ar y Talmud, trethid ef o bob cyfeiriad gan alwadau i ysgrifennu, gwahoddiadau i areithio, taerni am erthyglau; ac anfynych yr apelid ato yn ofer. Meddai hoen ac ysplander dwyreiniwr, ynni a dyfalbarhâd efrydydd Germanaidd, diwylliant cymdeithasol gorphenedig y Prydeiniwr; ac yng ngrym y cyfuniad anghyffredin hwn cynnyrchodd ddarnau a ddarllennir yn hir, a rhoddodd fod i obaith a disgwyliad am weithiau anfarwol. Ystyrid ef yn awdurdod ar bob peth braidd a ddaliai berthynas â llênyddiaeth ddwyreiniol, yn enwedig yr ieithoedd Indo-Ewropëaidd a Semitaidd, y Sanscrit, Caldaeg, Aramaeg. Pe cawsai fyw, nis gellir dyfalu faint o oleuni a allasai daflu ar y Beibl drwy ddehongli yr arysgrifeniadau a'r arwyddluniau a geir yn olion ac adfeilion y Dwyrain. Ar y materion hyn ymofynid âg ef, ar ddehau ac ar aswy, gan ysgoleigion ac efrydwyr, a chymerai yntau ei hysbyddu gyda sirioldeb y ffynnon, yn rhoddi ei gofer peraidd i bawb a ddêl â'i lestr ati. Os byddai rhyw anhawsder yn y *Museum*,—rhyw gerf-ysgrifau nas gallai neb eu dehongli, rhyw lythyrennau nas gallai neb eu darllen, rhyw lyfrau nas gallai neb eu rhestru, neu gyfeiriadau nas gallai neb eu gwneyd allan,—Mr. Deutsch oedd y dyn bob amser, a cheid ef yn wastad yn ateb yn llawn i'r gofyn. Nid ymddengys iddo ddrwgdybio y gallai dynion annheilwng fod o'i amgylch yn sugno ei adnoddau, ac yn bwyta ffrwyth ei lafur yn ddistaw bach, ac yn ennill mawl y byd drwy honni y pethau hynny fel yr eiddynt eu hunain; ac ni ofalai, os byddai i hynny hyrwyddo "yr achos da," fel y galwai ei hoff efrydiau.

Yn ei flynyddoedd diweddaf aeth Deutsch o dan gryn gyfnewidiad, o ran corff a meddwl. Trwy orlafur, ac esgeulusdra o hono ei hunan, magodd afiechyd—un o'r rhai mwyaf dirdyniadol y disgynnodd i'n rhan ni i ddarllen am dano braidd erioed. Dyry ei gyfaill, Mr. Haweis, yn ei ysgrif o adgofion am dano i'r *Contemporary Review*, hanes bron annioddefol o boenus am afiechyd ei flynyddoedd olaf. Dygasai hynny arno ei hunan yn bennaf drwy orweithio ei gyfansoddiad, er mor gadarn ydoedd. Gweithiai yn fynych drwy gydol y nos; ceid ef yn y boreu â'i ysgrifell yn ei law, a'i swper y noswaith gynt heb ei brofi o'i flaen; ar yr awr benodedig ceid ef yn ei le yn y *Museum* mor hoenus ei ymddangosiad a neb o fewn y lle; yn aml ni chyffyrddai â thamaid o ymborth ganol dydd gan brinder amser; esgeulusai yn fynych giniawa, oni wahoddid ef gan gyfeillion i giniawa allan. Fel hyn, gyda math o afradlonedd gwallgof, difwynodd gyfansoddiad haiarnaidd pan yn anterth ei nerth. Ni fynnai i neb ychwaith wybod am ei afiechyd; ac ni wybu neb ond ychydig gyfeillion am amser maith fod dim yn ei flino, na'r rhai hynny hyd nes yr ydoedd yn rhy ddiweddar i'w achub. Canfu Deutsch hefyd, er ei ofid, yr amgylchynid ef gan ddynion eiddigeddus a chenfigenllyd, a hynny o herwydd eu bod, ymhob ystyr, ond mewn swyddogaeth yn unig, yn llai nag ef; mewn swydd yr oeddynt uwch ei ben, ac ni buont yn ol o ddangos hynny iddo. Os ydyw yr hyn a ysgrifenna Haweis yn wirionedd, ac nid oes neb eto wedi ceisio ei wrthbrofi, ymddygodd awdurdodau yr Amgueddfa Brydeinig tuag at y dyn hwn ymhell o fod yn deilwng o sefydliad cenedlaethol. Efe, am flynyddau lawer, fu seren ddisgleiriaf y lle; eto cadwyd ef yno i gyflawni mân negeseuau y gallasai unrhyw fachgennyn braidd eu gwneyd, a hynny am oferedd o gyflog. Ei amcan yn cadw ei afiechyd yn ddirgel ydoedd er mwyn derbyn ei dipyn cyflog i gadw corff ac enaid yn gymydogion. Ni feiddiai ei gyfeillion yngan fod ei afiechyd yn debyg o fod yn anfeddyginiaethol, rhag y tynnid

oddiwrtho yr ychydig arian a ddeuai iddo o'r Amgueddfa, ac y torrid pob cysylltiad rhyngddo â'r sefydliad. Ymddengys fod dynion o'i ddeutu a fuasent yn falch o unrhyw gyfleusdra i'w weithio allan o le nad oedd neb, ar y pryd, yn y deyrnas, yn abl i'w lanw ond efe, a lle nad oes neb wedi ei lanw, fel efe, hyd y dydd hwn. Ymddygid fel hyn at ddyn a feddai y fath gymhwysderau, fel y gellid yn hawdd gyfrif ar ben bysedd hynny o ddynion oedd ar gyfandir Ewrop, yn America, a Lloegr, yn meddu cymhwysderau cyffelyb iddo. Par ymddygiadau fel hyn i ni gywilyddio o'n gwlad, gyda'r holl *red-tapeism* sydd ynddi. Pe buasai y dyn hwn filwr neu lyngesydd, diamheu y gofalasai y llywodraeth am borfa fras iddo; ond hen hanes Prydain ydyw newynu ei darganfyddwyr, ei hanturiaethwyr, ei hieithyddwyr, ac anwesu gwŷr y fidog a'r fagnel. Er fod gan Deutsch gyfeillion, ac er i'r rhai hynny fod ymysg blaenion y genedl—pob un yn bencampwr yn ei gangen neillduol ei hunan o wybodaeth, eto ni wneid cyfrif o'u deisyfiadau ar ei ran. Arwyddwyd deiseb gan Ddeon Westminster, Arglwydd Strangford, Rawlinson, Lane, a Layard, yn crefu am i'r Senedd apwyntio Deutsch yn geidwad yr henafiaethau Semitaidd yn yr Amgueddfa; ond pan y trosglwyddwyd y ddeiseb i'r awdurdodau, i'w chyflwyno drwyddynt hwy i'r ymddiriedolwyr, o herwydd rhyw wall bychan yn ei geiriad dodwyd hi ar yr astell, ac ni chlybuwyd mwy air o son am dani! Pa ryfedd iddo chwerwi ei ysbryd i raddau—gweled ei gyfeillion yn meirw, ei gorff yn malurio, ac yntau yn cael ei amgylchynu gan gymaint o grebachrwydd ysbryd mewn dynion y gallasai ddisgwyl iddynt werthfawrogi ei lafur?

Un o'i freuddwydion y nos a'i ddymuniadau y dydd ydoedd cael myned i deithio i'r Dwyrain—y rhan honno o'r ddaear y cylymid ei galon wrthi gyda holl angerddoldeb natur dwyreiniwr a chenedlgarwch Iuddew. Pan y sonid am hynny wrth yr uwch-swyddogion yn Llundain, cafwyd allan ar unwaith ei fod yn was rhy werth-

fawr i'r sefydliad allu fforddio colli ei wasanaeth—nas gellid mewn un modd ei hebgor. Trueni na fuasent yn deall mai wrth ei hebgor i fyned i'r Dwyrain y deuai ei werth i'r golwg. Nid oedd hyn, mewn gwirionedd, ond esgusawd dros gwtogi ei derfynau, a lluddias i'w dalentau disglaer ddyfod yn amlwg. Pa fodd bynnag, yn 1860 cafodd ysbaid o tua deng wythnos i fyned ar redeg, megis, i'r Dwyrain ac yn ol. Gyda'r ychydig arian a'r ychydig amser oedd ganddo, tybir iddo, y pryd hynny, roddi gormod o bwys ar ei gorff a'i feddwl, ac felly hau hadau yr afiechyd a'i cymerodd ymaith yn y diwedd. Rhoddai y Dwyrain fywyd newydd iddo; ymgyfodai ysbrydoedd yr hen oesoedd megis i'w longyfarch, fel pe buasent, o'r diwedd, wedi cyfarfod âg un a fedrai ddehongli eu cyfrinion. Mewn gair, nid oedd yr holl daith, er bered ydoedd, ond un lesmair berlewygol iddo ef. Dechreuai ei lythyr cyntaf oddiyno gyda'r geiriau,—"Y Dwyrain: fy holl ddymuniadau hiraethlawn innau o'r diwedd wedi eu cyflawni." Dro arall, torai allan fel mewn syndod, "A minnau hefyd yn Phœnicia!" Pan ymysg ei gydgenedl, yn Lle yr Wylofain yn Jerusalem, mygid ef gan ei deimladau fel nas gallai lefaru; ac ni fedrai son am hynny unrhyw amser drachefn heb wylo dagrau yn hidl. Ar ol dyfod adref traddododd amryw areithiau ar hanes y daith; a thynnodd allan un o'r Adroddiadau gwerthfawrocaf a ysgrifenwyd erioed, yn cynnwys prif ffeithiau y daith, i'w gyflwyno i Ymddiriedolwyr y Gywreinfa Brydeinig.

Yn 1872 cafodd egwyl i fyned i'r Dwyrain drachefn, ond dan amgylchiadau tra gwahanol: y tro hwn *aeth yno i farw*. Teimlai yr hen awydd am weled y Dwyrain yn ail-gryfhâu, a thybid y gallai hinsawdd gynhesach wneuthur lles iddo; a thrwy garedigrwydd nifer o gyfeillion ffyddlon, casglwyd digon o arian, heb yn wybod iddo ef, iddo fyned i'r daith, a gwas gofalus i'w ganlyn. Aeth drwy Italy a Rhufain, a theimlai ei hunan yn gwellâu; ond wedi cyrhaedd yr Aipht gwaethygodd yn ddirfawr. Nid oedd ei ysbryd er hynny yn ildio dim.

Y mae ei lythyrau yr adeg hon yn darllen yn gyffelyb i *Thoughts on Death* gan Kirke White; y fath siomedigaeth chwerw wrth deimlo yr oes yn darfod a'r gwaith heb ei gyflawni. Y mae, fodd bynnag, un gwahaniaeth pwysig; dyry Kirke White wrth farw ei ben i orphwys ar obenydd y Cristion. Digon o waith, dybygem, gyda'i holl ddysgeidiaeth a'i athrylith, ei wybodaeth helaeth o'r ieithoedd y gwelodd y Nefoedd yn dda ddadguddio ei hunan i'r ddaear drwyddynt, ei hoffder anniwall o lênyddiaeth Hebreig, y gellir rhestru Deutsch yn Gristion. Gyda chymeriad moesol dilychwin, y chwaeth buraf, y gonestrwydd mwyaf dihoced, a'r boneddigeiddrwydd prydferthaf, eto yr oedd yma ddirfawr wahaniaeth yn nhôn ymostyngar ei ysbryd, pan yn nesâu at farw, ragor yn llinellau tyner y bardd ieuanc duwiol yn marw ar drothwy bywyd, gan deimlo fod gan ei Dad nefol resymau tragywyddol am yr hyn a ymddangosai iddo ef mor groes i reswm. Y mae yn trydar mewn syndod:—

Fifty years hence, and who will hear of Henry?
Oh! none; another busy brood of beings
Will shoot up in the interim, and none
Will hold him in remembrance.
* * * * *
I did hope
For better things! I hoped I should not leave
The earth without a vestige;—Fate decrees
It shall be otherwise, and I submit.

Henceforth, O world, no more of thy desires!
No more of hope! the wanton vagrant Hope!
I abjure all.—Now other cares engross me,
And my tired soul, with emulative haste,
Looks to its God, and prunes its wings for heaven.

Rhaid i ni edrych yn ofer am y dôn ymostyngar a ddangosir yn niwedd y llinellau uchod, yn llythyrau Emanuel Deutsch. Yn un o'r rhai diweddaf a ysgrifennodd o'r Aipht ceir y llinellau canlynol:—"Eto yr holl amser hwn y mae fy meddwl yn llawn gwaith—gwaith a ymddengys fel pe byddai, yn ol rhyw drefniant cynoesol, wedi ei dorri allan i mi, ac i mi yn unig. Pob anadliad

a roddaf yn y fan hon, pob carreg y deuaf ar ei thraws, pob arwyddlun unigol a ganfyddaf yn y byd-feddrod annherfynol hwn, lle y gorwedd yn gladdedig weddillion cynifer o oesau, a bair i lifeiriant o feddyliau, hen a newydd, awgrymaidau, ffeithiau, ac opiniynau, ddylifo am fy mhen. Gwneir hyd yn nod drws fy nhŷ i fyny o goed arch *mummy*, a rhan o wasanaeth claddu y meirw wedi ei gerfio arno mewn arwyddluniau aneglur! Ah! y fath gydgasgliad a ddaeth i'm meddwl oddiwrth yr oll a welaf o'm hamgylch yma! Och! nid ydynt, erbyn hyn, ond dydd-freuddwydion—gweledigaethau euraidd gyda pha rai yr hudfoddia fy nychymyg hir ddyddiau o lesgedd a nosweithiau o flinder."

Ar y 12fed o Fai, 1873, bu farw Emanuel Deutsch yn Alexandria yn yr Aipht, yn 44 mlwydd oed. Felly y bu farw un o ysgoleigion dwyreiniol goreu y ganrif hon, ymhell o wlad ei enedigaeth, ac ymhellach na hynny o wlad ei fabwysiad, ond tra yn cyrchu at randir y Dwyrain ramantus y soniodd ac yr ysgrifennodd gymaint am dani, ac y bu mor ffyddlawn iddi, ar hyd ei oes fer, â'r nodwydd i'r pegwn; a'r geiriau olaf braidd a ddywedodd efe oedd:—"Nid oes arnaf eisieu ond yn unig heddwch."

Bellach ni a drown at y gyfrol sydd ger ein bron, a gynnwys y Gweddillion Llênyddol a adawodd ar ei ol. Y maent yn debycach i friwsion wedi disgyn oddiar fwrdd rhyw Rabbi dwyreiniol nag i ysgrifeniadau llênor oedd yn byw yng nghanol berw y bedwaredd ganrif ar bymtheg. Cynnwys y gyfrol, heblaw yr ysgrif ar y Talmud, amryw erthyglau, hirion a byrion, a wasgaresid ganddo â llaw haelionus ar hyd wyneb gwahanol gyhoeddiadau llênyddol Prydain Fawr. Cawn yma bob rhyw beth, megis, o'r ysgrifau breision i'r *Quarterly*, hyd y llythyrau enwog a ysgrifenodd, mewn ychydig amser, meddir, i'r *Times* ar y Cynghor Eglwysig yn Rhufain. Nid oes un arwydd prinder ganddo gyda dim a gyffyrdda; yr ydych yn teimlo fod pob mater a drafodir ganddo yn cael perffaith chwareu teg, a'i fod yntau

yn ei adael cyn hysbyddu na thebyg ei adnoddau arno. Cyfodai hyn, yn ddiamheu, oddiar y ffaith mai *dyn un pwnc ydoedd*. Na chamgymerer ni ychwaith: nid ydys i ddeall fod ei efrydiau yn gul a chyfyng; na, ymddengys gartref gyda braidd bob peth; ond try ei holl efrydiau i daflu goleuni ar un pwnc. Dyna y dynion a alwn ni yn ddynion un pwnc, a gellir disgwyl oddiwrthynt hwy rywbeth heblaw dylni arwynebol ar y pwnc hwnnw. Rhywbeth yn dal cysylltiad â'r Dwyrain oedd un pwnc Emanuel Deutsch; ac ar hynny llefara gyda sicrwydd oracl, eto yn wylaidd gyda y pethau sydd yn anmhenderfynol. Prif nodwedd ei arddull a'i feddyliau ydyw hoender ac ysplander; crebwyll y dwyreiniwr yn hulio ei lwybr â blodau, fel pe byddai yn trigo yng ngardd y perlysiau. Ceir hyn yn fynych heb fanylder; ond ynddo ef yr oedd manylder, yr hyn ydyw un o brif elfennau gwir ysgolor, wedi cyfarfod â dillynder. Y mae y gyfrol hon, ar ol ei darllen, yn gadael argraff ar y meddwl cyffelyb i ddarlun anorphenedig, yn cynnwys amlinellau gwychion, ond y bwyntel wedi syrthio o'r llaw cyn ei orphen; neu un o gerfluniau ysplenydd y Dwyrain, heb ond darn o hono yn unig i dystio pa mor ardderchog y gallasai y cyfanwaith fod. Ond yr hyn a dorasom allan i ni ein hunain, o hyn i ddiwedd yr ysgrif hon ydyw, rhoddi lled-dalfyriad o ysgrif Deutsch ar y Talmud; a hynny, yn bennaf, am fod y pwnc mor ddieithr i lênyddiaeth Gymreig, ac am fod y Talmud, mewn rhyw ystyr, yn dal agos berthynas â'r Ysgrythyrau Sanctaidd.

Ar gychwyn ein gyrfa, dylem, fe allai, wneyd cyfeillion o'n darllennwyr, a dyweyd wrthynt fod ein hymdaith drwy anialwch gwag erchyll; os ydym i farnu oddiwrth y gyfrol ger ein bron, dyna'r fath beth ydyw'r Talmud. Geilw Deutsch ei hunan ef yn fynych yn gefnfor, a dywed fod aml un wedi ymsuddo iddo a dyfod i fyny yn unig â chragen dlawd yn ei law. Nid ydym ni yn bwriadu anturio hyd yn nod gymaint a hynny, namyn cerdded ychydig gyda'r glannau, a phigo i fyny yr hyn a

gawn yn ein ffordd. Nis gallodd yr Iuddew dysgedig y mae ei enw uwchben ein hysgrif wneyd ond rhywbeth felly; a dywedai unwaith, pan yn un o'i bangfeydd angeuol, gyda gwên hanner-grediniol, fod melldith yn gyhoeddedig uwchben y neb a ddadguddiai ddim o'r Talmud, a bod y felldith honno wedi disgyn i'w ran yntau.

Ymdrecha yn yr erthygl ger ein bron yn gyntaf ddangos, Pa beth ydyw y Talmud? ac mewn ateb i hynny teifl frasolwg ar ei *hanes* a'i *gynnwys*. Dylid cofio mai o safle yr Iuddew yr edrych efe arno, ac yn hynny yr ydym ninnau yn bwriadu ei ddilyn yn y llinellau canlynol. Olrheinia, gyda deheurwydd mawr, ddylanwad y Talmud—y corff mawr hwnnw o gyfreithiau a chwedlau, athronddysg a moesddyg, a elwir y Talmud, i wahanol gyfeiriadau; ei ddylanwad ar grefyddau y Dwyrain ac athroniaeth y Gorllewin. Honna fod y rhan fwyaf o gyfreithiau Persia, Groeg, a Rhufain, yn gystal a'r eiddo gorllewin Ewrop, â'u hadau ynddo ef; fod ei ôl ar athroniaeth o ddyddiau Plato, Pythagoras, Aristotle, a'r Gnosticiaid, hyd Spinoza a Schelling yn yr oesoedd diweddaraf; fod ei ddylanwad hyd yn nod ar physigwr-iaeth o ddyddiau Hippocrates a Galen hyd yn awr. Rhyfedd, er hynny, mor anwybodus ydoedd ysgolheigion am dano ar hyd y canrifoedd; hyd yn nod yn awr, nid oes cymaint a Llawlyfr hylaw o'r Talmud o gwbl, nac ar-graffiad canolig o gywir, heb son am gryno a da, o'r llyfr ar gael. Llosgid ef gan Babyddion, melldithid ef gan Brotestaniaid, llurguniai Luther a'r Diwygwyr ef yn enbyd o herwydd anwybodaeth o'i iaith, chwerwai ysbryd tyner Melancthon wrth ei chwedlau, gan dybied nad oedd ynddo ond chwedlau yn unig; a chymaint oedd yr anwybodaeth am dano, fel yr aeth mynach dysgedig mor bell a'i alw yn *ddyn* ac nid yn *llyfr*. "Fel y dywed y Rabbi Talmud," meddai, gan orphen ei ymresymiad buddugoliaethus yn ei erbyn gyda dyfyniad o'i eiriau.

Pa beth ydyw ei *hanes?* Y mae tarddiad y Talmud yn gyfoesol â'r Dychweliad o Babilon, a dyry Deutsch

le mawr i'r amgylchiad hwnnw yn hanes cenedl Israel. Yn ei dyb ef, dyna ddechreuad eu gwasgariad mawr; ac nid ydynt eto wedi eu cyfanu. Y pryd hynny y deffrowyd yr ymddyheuadau dyfnion hynny yng nghalon y genedl a roddes fôd i'r disgwyliadau am Fessiah—am berson oedd yn berffeithrwydd pob tegwch—yr Eneiniog a'r Gwaredydd. Aethant i gaethiwed yn greaduriaid eilunaddolgar a llygredig; dychwelasant yn fintai o Buritaniaid pur a manwl. O'r blaen nid oeddynt, fe allai, yn ymdeimlo yn briodol â gwerth eu llênyddiaeth henafol a chysegredig; ond dechreuodd y bobl ymgrynhoi o gwmpas y pentewynion llênyddol hynny oeddynt wedi eu hachub megis o'r gynneuedig dân; daethant yn glymedig wrth eu calonnau; carent hwynt fel eu hanwyliaid; daethant i fod eu hunig drysor, o ddim gwerth, ar y ddaear. Yn raddol ffurfiwyd Canon Ysgrythyrol yr Hen Destament, a thaflwyd goleuni mawr ar waith Dwyfol Ddoethineb yn "ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw." Buont ffyddlawn i'w hymddiriedaeth—cadwasant hwy fel canwyll eu llygaid; a'r cariad hwn ydoedd cnewyllyn eu holl sefydliadau. Dyma'r modd y casglwyd ac y cadwyd Canon yr Ysgrythyr. "Tro ef, a thro ef drachefn," ebe y Talmud am y Beibl. "Chwiliwch yr Ysgrythyrau," ebe y Testament Newydd.

Wrth weithio allan y gorchymynion uchod—chwilio a throi yr Ysgrythyrau—rhoddwyd bôd i wyddor a elwir, yn iaith yr Hebreaid, *Midrash*—cyffelyb, dybygid, i'r fel y byddwn ni yn galw Esboniadaeth neu Ddehongliadaeth Ysgrythyrol yn wyddor. Cyfieithir y gair yma —*Midrash*—yn enw, ac yn enw ar gasgliad o ffeithiau hanesyddol, yn 2 Chron. xiii. 22, a xxiv. 27. "Histori" ydyw y gair a ddefnyddir yno, a golygir, yn bennaf, nid y *Midrash* ei hunan, ond yr hyn a gasglwyd trwy ei chymhorth. Y Midrash yma sydd wedi rhoddi bôd i'r Talmud; esbonio neu "droi" yr Ysgrythyrau, a'r esboniadau hynny wedi eu corffori mewn un llyfr, ydyw y Talmud. Felly cyfraith Moses ydyw ei graidd; eglurhadau y Rabbiniaid, oes ar ol oes, yn nofio ar hyd wyneb

cymdeithas Iuddewig, am ganrifau lawer, y rhai hynny wedi eu casglu at eu gilydd, sydd yn ffurfio ei gyfangorff. Cynnwys, megis llenllïan Pedr, "bob rhyw beth." Yn bennaf cyfreith-lyfr ydyw; ond y mae hefyd yn chwedleu-lyfr. Cyffelyb ydyw i ped y ceglid pob peth yn hanes y Cymry at eu gilydd—Hen Gyfreithiau Hywel Dda, y Mabinogion, y Trioedd, Chwedlau y Ford Gron, a'r Rhamantau i gyd yn un; y cyfan wedi eu taflu ynghyd, nid yn ol trefn a dosbarth, ond blith draphlith; canys ni ŵyr y Dwyrain am ddosbarthu, dawn y Gorllewin ydyw hwnnw. Tybier am y fath gorfforiad wedi ei wneyd yn un llyfr, ac yn cymeryd arno yn bennaf fod yn Esboniad ar Gyfreithiau yr Hen Gymry; dyna a rydd yr esboniad goreu i Gymro pa beth ydyw y Talmud i'r Iuddew. Ceir ynddo ddwy elfen gref megis dau lifeiriant, weithiau yn cydredeg, dro arall yn rhedeg i'w gilydd—un yn rhedeg o gyfeiriad y deall, y llall o'r galon—un yn rhyddiaeth, a'r llall yn farddoniaeth—un yn ymwneyd â'r rheswm, yn manylu, yn hollti, yn pwyso; un arall yn ymwneyd â'r crebwyll a'r dychymyg, yn chwareu gyda'r teimladau, weithiau yn ddigrif, weithiau yn ddifrifol, weithiau yn ffraeth, weithiau yn sobr. Gelwir y ddwy elfen yma, yn eu geiriau hwy, un yn "*Haggadah*," a'r llall "*Halachah*;" y gyntaf yn golygu yr elfen chwedleuol, a'r llall yr elfen gyfreithiol yn y Talmud.

Heblaw yr elfenau hyn, rhennir y Talmud hefyd i ddwy ran, sef y MISHNA a'r GEMARA. Y dynesiad agosaf a feddwn yn ein hiaith at ystyron y geiriau hyn ydyw, fod y cyntaf yn golygu y Testun, a'r olaf yr Esboniad arno. Fel y mae y MISHNA yn esboniad ar y Pumllyfr, a rhannau eraill o Ganon yr Hen Destament, felly y mae y GEMARA yn esboniad ar y MISHNA. Bu y corff mawr hwn o esboniadau a thraddodiadau, am ganrifoedd lawer, yn nofio o'r naill genedlaeth i'r llall heb fod yn ysgrifenedig. Cymerodd lawn fil o flynyddoedd i'w cyfansoddi, a mil arall i'w casglu at eu gilydd, a'u hysgrifennu. Yn wir, gelwir y cyfangorff, hyd heddyw,

yn Gyfraith Lafaredig *(Oral)*, mewn cyferbyniad i'r Ddeddf Ysgrifenedig, sef y Beibl. Ar yr un testyn casglwyd dau esboniad; felly y mae hyd y dydd hwn ddau Dalmud yn cynnwys yr un MISHNA, ond yn cynnwys GEMARA gwahanol. Casglwyd un yn Tiberias, tua'r fl. O.C. 390, a gelwir ef yn Talmud Jerusalem, a'r llall, tua'r un adeg, yn Babilon, gan Rabbi Ashe. Ystyrir yr olaf hwn yn anrhydeddusach a chyflawnach na'r cyntaf. Gellir cael rhyw syniad am ei faintioli pan y dywedir ei fod yn cymeryd yn agos i dair mil o dudalennau unplyg, o'r argraffiadau diweddaraf, ac yn gwneyd i fyny ddeuddeg o gyfrolau unplyg mawrion! Hwyrach mai gormod fyddai i ni ddyweyd am dano, yng ngeiriau un o brif bregethwyr yr oes o'r blaen am waith un o'r duwinyddion, ei fod "yn gyfandir o laid;" ond os ceir ynddo berlau, amlwg yw y rhaid myned drwy lawer o laid i ymofyn am danynt.

Pa fodd y dadblygwyd y MISHNA hwn sydd gwestiwn tra dyddorol? Perthynai ei ddadblygiad, yn bennaf, i'r ysgrifenyddion, y rhai oedd, yn ol iaith y Testament Newydd, "yn eistedd yng nghadair Moses." Yr oedd gwahaniaeth yng ngwaith a hanes yr ysgrifenyddion mewn gwahanol gyfnodau. Gellir enwi yn neillduol y ddau ddosbarth canlynol o honynt:—

(1). Y dosbarth hwnnw a elwid yn "Ysgrifenyddion" mewn modd neillduol. Tymor y rhai hyn ydoedd o'r Dychweliad o Babilon hyd yr erledigaethau Groeg-Syriaidd, C.C. 220. Gofalent, nid yn unig am orchymynion a geiriau yr Ysgrythyrau, eithr hefyd am lythyrennau a nodau, rhag i ddim annilys gael derbyniad i mewn. Eu prif orchwyl ydoedd dysgu yn y synagogau, gwneyd disgyblion, a chyfodi yr hyn a alwent yn "gloddiau" o amgylch y gyfraith. Gelwir hwy yn "Wŷr y Synagog Fawr," a'u harwyddair ydoedd—"Byddwch ofalus mewn dedfrydau cyfreithiol, gwnewch ddisgyblion, a chodwch glawdd o gwmpas y gyfraith." I'r gwŷr hyn y perthynai Ezra, Nehemiah, &c.

(2). Y "Dysgedigion," neu yr "Adroddwyr." Eu tymor hwy ydoedd o c.c. 220 hyd o.c. 220. Dyma, gan hynny, "ysgrifenyddion" y Testament Newydd; canys yn eu hadeg hwy yr ymddangosodd Crist, y dinystriwyd Jerusalem, ac yr alltudiwyd y genedl o'i gwlad. O honynt hwy yn bennaf y gwneid y Sanhedrim i fyny. Bryd bynnag y sonir yn yr Efengylau am yr "archoffeiriaid, y blaenoriaid, a'r ysgrifenyddion," golygir, bob amser, y Sanhedrim Fawr. Dyma'r llys gwladol a chrefyddol uchaf yn y wlad; cynnwysai ddeg a thriugain o aelodau, wedi eu dewis o'r offeiriaid pennaf, pennau y llwythau, a phennau y teuluoedd, ynghyda'r ysgrifenyddion. Cryn beth ydoedd gallu cael yr anrhydedd o fod yn aelod o hwn; yr oedd yn rhaid i'r ymgeisydd fod yn ddyn o allu mewn corff a meddwl; heb fod yn rhy hen, rhag i'w farn fod yn egwan, heb fod yn rhy ieuanc, rhag i'w farn fod yn anaddfed; rhaid iddo fod yn briod a thad, canys dygid achosion teuluoedd truenus ger ei fron, a rhaid iddo feddu calon lawn o dynerwch tuag atynt, fel ag i gydymdeimlo â hwynt.

Un peth mawr at gynnyrchu y *Mishna* ydoedd yr arbenigrwydd a roddwyd ar addysg plant ac ieuenctyd ar ol dychweliad y bobl o Babilon. Aeth yn fyrddau ysgol drwy y wlad i gyd! Collodd yr offeiriadaeth ddylanwad mawr ar y bobl; chwalwyd y dysgu o'r deml, a sefydlwyd synagogau, ysgolion, ac athrofäau trwy y wlad yn gyffredinol. Y canlyniad fu i gorff mawr o esboniadau ac eglurhadau ar y gyfraith gael ei gynnyrchu, y rhai sydd yn cyfansoddi y rhan fwyaf o'r Talmud. Heblaw addysg, dodid pwys mawr yn y Talmud ar ddysgu rhyw alwedigaeth i bob un o'r plant. Yr ydoedd eu doethion i gyd yn grefftwyr. Nid oedd eu Rabbiniaid enwocaf namyn celfyddydwyr tlodion,—naill ai gwneuthurwyr pebyll, sandalwyr, gweyddion, seiri, crwynwyr, neu bobyddion. Mantolai y lle mawr a roddid fel hyn ganddynt i waith, rhag iddynt fyned i addoli addysg yn wasaidd, ar un llaw, a rhag iddynt dueddu at fywyd meudwyol a dioglyd, ar y llaw arall. Y canlyniad o hyn

eto ydyw y ceir cyfeiriadau mynych mynych yn y Talmud, nid yn unig at addysgu y plant, ond at eu gwneyd yn grefftwyr hefyd. Ceir ystoriau hanner-digrifol, hanner-dychymygol, ynddo ar y pen hwn. Cymerer yr un a ganlyn fel engraifft:—

Digwyddodd i un o'r Rabbiniaid, tra yn cerdded yn y farchnadfa un diwrnod, gyfarfod â'r prophwyd Elias, wedi dyfod i roddi tro, dybygid, o'r byd ysbrydol. Gofynnodd y Rabbi iddo ar unwaith, Pwy o fysg y dyrfa honno a fyddai cadwedig? Cyfeiriodd y prophwyd ef yn gyntaf at ŵr o ymddangosiad dysyml—ceidwad carchar —fel un o'r cadwedigion, o herwydd ei fod yn dyner wrth y carcharorion. Yna cyfeiriodd at ddau fasnachwr cyffredin a siaradent â'u gilydd ar yr heol, fel dau a fyddent ar gael yn y diwedd. Brysiodd y Rabbi atynt ar unwaith, gan eu holi, Pa weithredoedd yr oeddynt yn eu gwneuthur fel ag i sicrhau eu cadwedigaeth? Atebasant ef mewn syndod nad oeddynt hwy ond gweithwyr tlodion yn byw ar eu crefftau—mai yr unig beth a allent hwy ddyweyd am danynt eu hunain ydoedd, eu bod bob amser yn llawen ac yn llawn o natur dda—eu bod yn wastad yn ceisio cysuro y galarus a heddychu y cwerylgar—mai dyna holl swm eu bywyd hwynt.

Bellach, wedi i ni ymdroi cymaint a hyn gyda *hanes* y Talmud, brysiwn i ysgrifennu ychydig am ei *gynnwys* hefyd. Dywed Deutsch y rhennid y Mishna i chwech o adranau mawrion, a phob un o'r rhai hynny drachefn, ar gyfartaledd, i tua deuddeg o bennodau; a'r cyfan, yn y diwedd, i dros bum' cant o baragraphau. Gellir nodi cynnwys yr adranau rywbeth fel y canlyn:—

Adran I. *Am Hadau:* Cyfreithiau tirol yn dechreu gyda phennod ar Weddïau. Yn yr adran hon yr ymdrinir â'r gwahanol ddegymau, a'r rhoddion dyledus oddiwrth gynnyrch y tir i'r offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r tlodion; ac am y flwyddyn Sabbothol hefyd, a'r gwaharddiadau ynghylch cymysgu hadau, anifeiliaid, a gwisgoedd.

Adran II. *Am Wleddöedd:* Am Sabbathau, Gwleddoedd, a Gwyliau; y gwaith gwaharddedig arnynt, y seremoniau ordeiniedig, a'r aberthau i'w hoffrwm arnynt.

Adran III. *Am Ferched:* Am ddyweddïo, priodi, ac ysgar, ac am addunedau yn gyffredinol.

Adran IV. *Am Niweidiau:* Cynnwysai yr adran hon y rhan fwyaf o'r gyfraith yn wladol a throseddiadol; am brynnu a gwerthu, a'r trafodaethau arianol yn gyffredinol. Hefyd ymdrinid â'r trosedd a gydnabyddid fel yr erchyllaf yng ngwyneb y gyfraith—sef eilunaddoliaeth. Yn hoñ y ceid y gyfraith ynghylch llwon, tystion, a gwahanol gosbedigaethau.

Adran V. *Am Bethau Sanctaidd:* Am Aberthau, am y Cyntafanedig, ac am fesuriadau y deml.

Adran VI. *Am Buredigaethau:* Am wahanol ddeddfau iechyd, am gyfreithiau y pethau glân a'r pethau aflan, ac am eu puredigaeth.

Dyry yr uchod ryw syniad i'r darllennydd am gynnwys y Mishna; ond cofier nad ydyw y Mishna ond y testun yn unig,—y mae y Gemara, yr esboniad, allan o hynny drachefn; felly nid ydyw yr adranau uchod yn gosod allan ond rhan fechan, mewn cymhariaeth, o'r cyfandir mawr hwnnw a elwir y Talmud. Yn y Gemara y ceir y chwedlau a'r ystorïau digrifol, y dychymygion plentynaidd, eto arddunol weithiau, ac ambell i belydryn o ddoethineb yn ymsaethu drwy ganol tryblith o "goed, gwair, a sofl."

Ystyriai y Rabbiniaid nad oedd y cyfreithiau hyn yn cyffwrdd â'r galon o gwbl; mai eu gwasanaeth ydoedd rheoleiddio y fuchedd yn unig. Ar yr olwg gyntaf, degyment y mintys a'r anis i eithafion, eto rhoddent le i ryw egwyddorion mewnol ac ysbrydol, oeddynt yn rhedeg drwy, ac o dan, yr holl fân-reolau hyn. Dodent le mawr i'r hyn a alwent hwy yn "ffydd y galon," mewn cyferbyniad i reolau y fuchedd. Ceir rhywbeth yn dra tharawiadol yn eu gwaith yn chwilio am yr un egwyddor hon ymysg y llïaws aneirif o fân orchymynion.

Dysgwyd Moses, ebe y Talmud, i roddi chwe' chant a thri ar ddeg o orchymynion i'r bobl. Yn y bymthegfed Salm, dygodd Dafydd hwynt i lawr i un ar ddeg: "Arglwydd, pwy a drig yn dy babell, a phwy a brewylia yn mynydd dy sancteiddrwydd? Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a wnel gyfiawnder, ac a ddywed wir yn ei galon," &c.

Tynodd y proffwyd Esaiah hwynt i lawr i chwech (xxxiii. 15):—"Yr hwn a rodia mewn cyfiawnder ac a draetha uniondeb," &c.

Dygodd y proffwyd Michah hwynt i lawr i dri (vi. 8):—"Pa beth a gais yr Arglwydd genyt, ond gwneuthur barn a hoffi trugaredd, ac ymostwng i rodio gyda'th Dduw?"

Esaiah, unwaith yn ychwaneg, a'u dyg hwynt i lawr i ddau (lvi. 1):—"Cedwch farn, a gwnewch gyfiawnder."

Dygodd Amos y proffwyd hwynt i lawr i un (v. 4):—"Ceisiwch fi, a byw fyddwch."

Ond rhag i neb dybied y gellir cael gafael ar yr Arglwydd trwy gyflawniad yn unig o'i holl gyfraith, y dywed Habacuc (ii. 4):—"Y cyfiawn a fydd byw drwy ffydd."

Hwyrach mai yn y cyfwng hwn y ceir y cyfleusdra goreu i nodi yr agosrwydd sydd rhwng y Talmud â rhai rhannau o'r Testament Newydd. Y mae y cyffelybrwydd yn fawr a tharawiadol. Nid yw hyn ond peth y gallesid ei ddisgwyl mewn dau lyfr wedi eu cyfansoddi gan Iuddewon, ac ymysg Iuddewon, ac, mewn rhan, i Iuddewon. Nid ydyw ychwaith yn tynnu dim oddiwrth ysbrydoliaeth y Testament Newydd; yn hytrach "y mae yn cadarnhâu y ddeddf." Nid yn unig ceir y Talmud, mewn amrywiol fannau, yn taflu goleu ar y Testament Newydd, ond y mae darllen y chwedlau a'r ystorïau sydd ynddo yn cadarnhâu y meddwl y rhaid fod yr ysgrifenwyr ysbrydoledig o dan gyfarwyddyd rhywun heblaw hwy eu hunain cyn y gallasent hwythau osgoi syrthio, *weithiau*, i ysgrifennu ffolinebau fel a geir yn y Talmud. Eto, y mae gwybodaeth o ysgrifeniadau y Rabbiniaid yn sicr o fod yn gynnorthwy mawr er esbonio y Beibl, a bu adeg yn Lloegr, lawer o ganrifoedd yn ol, pan yr ystyrid hi felly. Dyma, yn ddiamheu, sydd wedi cadw ysgrifeniadau yr hen John Lightfoot rhag myned ar ddifancoll. Esgeuluswyd y gangen hon yn fawr ar ol hynny; ond, erbyn hyn, dygir hi i fwy o sylw ymysg esbonwyr Lloegr a Germany, a dichon fod y cychwyniad diweddar yn y cyfeiriad hwn i'w briodoli yn bennaf i'r diweddaf.

Pa fodd bynnag, y mae tebygolrwydd amlwg rhwng y Talmud â rhannau o'r Testament Newydd. Ceir yr ymadroddion ysgrythyrol "prynedigaeth," "bedydd," "gras," "ffydd," "iachawdwriaeth," "adenedigaeth," "Mab y dyn," "Mab Duw," "teyrnas nefoedd," yn

ymadroddion teuluaidd megis drwy gorff y Talmud. Ond ardderchogrwydd Cristionogaeth ydyw iddi roddi ystyron newyddion i eiriau Iuddewiaeth—geiriau oeddynt yn myned "yn hen ac oedranus, ac agos i ddiflannu,"—oeddynt yn aros fel llestri gweigion heb eu llanw; fe roddwyd eu lloniad, hyd yr ymylon, o ystyr gan yr "Hwn a gyflawnodd bob peth."

O hyn i ddiwedd yr ysgrif hon dodwn rai o syniadau y Talmud ar amrywiol bethau, gan gymysgu ambell i ddychymyg a chwedl a geir i egluro y pethau hynny; felly, gallwn gymysgu yr elfen gyfreithiol a chwedleuol, yr "Haggadah" a'r "Halachah," fel eu gelwid, â'u gilydd.

Un o'r syniadau mwyaf mawreddog yn y Talmud—perl gwirioneddol mewn llaid—ydyw y cyfrif a ddyry am roddiad y ddeddf, a'i rhoddiad ar "fynydd Sinai, yn Arabia," yn anad un man arall. Dywedai y Rabbiniaid fod y ddeddf ar Sinai, er ei llefaru o Dduw wrth un genedl yn neillduol, eto yn meddu cymeriad cyffredinol, ac yn ddeddf i'r ddynoliaeth i gyd. Llefarwyd hi, nid yn yr Aipht, nid mewn unrhyw ddinas, adeilad, na theml, nid yn nhiriogaeth unrhyw frenin daearol, ond oddiar fynydd Sinai, yn yr "anialwch gwag erchyll;" felly fe'i llefarwyd hi, ebynt hwy, ar brif-ffordd y Goruchaf! Llefarwyd hi, nid yn nhywyllwch a distawrwydd y nos, eithr ganol dydd, o ganol y mellt a'r taranau. Paham ar fynydd Sinai? O herwydd ei fod yr isaf o'r mynyddoedd, i ddangos fod Ysbryd Duw yn aros yn unig ar "y rhai addfwyn a gostyngedig o galon." Dysga y Talmud fod crefydd yn gynnwysedig nid yn unig mewn credo a ffydd, eithr hefyd mewn gweithgarwch a daioni. Dywed yr Ysgrythyr, "Rhodiwch yng ngorchymynion yr Arglwydd eich Duw." Ond y mae Duw yn dân ysol, a pha fodd y gall dyn rodio yn ei ffyrdd? Ateba y Talmud mai drwy fod yn gyffelyb iddo mewn trugaredd, cariad, hir-amynedd. "Gwel," medd y Rabbiniaid, "fel y mae Duw ar y tu dalen cyntaf o'r Pumllyfr yn dilladu y noeth—Adda; ac ar y

tu dalen diweddaf o hono yn claddu y marw—Moses. Y mae efe yn iachâu y claf, yn rhyddhâu y caethion, yn gwneuthur da i'w elynion, ac yn drugarog wrth y meirw a'r byw."

Un o egwyddorion sylfaenol cymdeithas, yn ol y Talmud, ydyw hollol gydraddoldeb dynion â'u gilydd. Dengys fod dyn wedi ei greu ei hunan—nid mwy nag un ar unwaith—rhag dywedyd o un wrth y llall, "Yr ydwyf fi o'r hil foreuaf a goreu." Crëwyd dyn ar y dydd diweddaf o'r dyddiau crëadigol, felly y mae hyd yn nod y gwibedyn o achyddiaeth fwy henafol nag ef. Aeth yn ddadl unwaith ymysg y Rabbiniaid pa un ydoedd yr adnod bwysicaf yn y Beibl: mynnai un mai y gair hwnnw, "Câr dy gymydog fel ti dy hun;" mynnai un arall mai yr ysgrythyr honno, "Dyma lyfr cenedlaethau dyn (Adda)" (Gen. v. 1).—"*Dyn*," nid gwyn neu ddu, mawr neu fychan, ond *dyn*.

Yn agos at y teimlad hwn o gydraddoldeb dyn, y gosodir allan berthynas dynion â'u gilydd, ac â'u cymydogion, yn enwedig y rhai fyddont o'r tu allan i gylch eu crefydd neu eu cenedl hwy eu hunain. Gesyd y Talmud ei wyneb yn erbyn proselytio, gan haeru ei fod yn peryglu y ddwyfiywiaeth Iuddewig. Nid oedd anghen, ebe y Rabbiniaid, i ddyn ddychwelyd at Iuddewiaeth os cadwai y saith reol sylfaenol; ac elent mor bell a dyweyd fod pob dyn cyfiawn yn Israeliad. Rhoddid cyfarwyddiadau pennodol gyda golwg ar broselytiaid: yr oeddynt i'w rhybuddio a'u cadw draw, hyd yr oedd bosibl, gan ddangos iddynt yr erledigaethau a'r croesau a'u cyfarfyddent; ond os mynent ddyfod, yr oeddynt i gael eu trin gyda phob tynerwch a gofal. Eglurent hyn drwy ddameg brydferth am hydd yn dyfod o'r goedwig gyda deadell o ddefaid, ac yn cael ei yru ymaith yn y nos, a'r drws yn cael ei gau rhagddo; ond, wedi amryw gynnygion, o'r diwedd derbyniwyd ef i'r gorlan, a chafodd fwy o dynerwch na'r defaid eu hunain.

Yn nesaf, annogir at barchu henaint, a chydymdeimlo â phlentyndod ac ieuenctyd. Dywedent fod nid yn unig y llechau a gafodd Moses gan Dduw yr ail waith yn y mynydd, eithr y llechau a dorasai efe yn ei ddigofaint hefyd, wedi eu cadw yn ofalus yn y tabernacl, er nad oeddynt ond darnau diddefnydd. Perchwch henaint gan hynny. Ond ar blant y gwastraffent y teimlad hwn. Cymhwysid yr holl adnodau yn y Beibl sydd yn son am erddi a blodau at ysgolion a phlant. "Na chyffyrddwch â'm heneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi." Wrth "eneiniog" yn yr adnod hon, yn ol eu tyb hwy, y golygid "plant ysgol," a'r prophwydi "eu hathrawon." Yn rhai o'u hediadau barddonol mwyaf beiddgar, y teitl uchaf a roddent ar Dduw ydoedd "ysgolfeistr dyn." Bu sychder mawr unwaith, ac wylai a gweddïai y dynion duwiolaf yn y wlad am wlaw; ond ni ddelai dim. O'r diwedd daeth dyn gwledig ymlaen, ac a weddïodd ar yr Hwn sydd yn peri i'r gwynt chwythu, a'r cymylau wlawio, ac yn ddiatreg gorchuddiwyd y nen â chymylau, a mwydwyd y ddaear â gwlaw. Rhuthrent ymlaen yn awchus i ofyn pwy ydoedd y dyn y llwyddasai ei weddïau, a'i weddïau ef yn unig, mewn modd mor hynod. Atebai yntau, "Athraw plant bach ydwyf fi."

Gofynnodd Duw, pan y bwriadai roddi y gyfraith i'r bobl, Pwy a gyflwynent fel meichiafon a gwystlon y byddai iddynt ei chadw yn sanctaidd? dywedent hwythau mai Abraham. Atebai Duw, "Y mae Abraham wedi pechu—Isaac, Jacob, Moses ei hunan—y maent oll yn bechaduriaid, nis gallaf eu derbyn." Yna y dywedasant, "Bydded ein plant yn dystion ac yn feichiafon drosom." A derbyniodd Duw hwynt, fel y mae yn ysgrifenedig, "O enau plant bychain, a'r rhai yn sugno, y peraist nerth." Nis gallent yn wir osod allan y berthynas oruchel rhwng dyn a Duw yn well na thrwy yr ymadrodd cynnwysfawr, sydd yn britho dalennau y Talmud o'i ddechreu i'w ddiwedd, "Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd."

Am y rhyw fenywaidd hefyd ceir yr ymadroddion mwyaf prydferth yn y Talmud. Wele yn canlyn ddameg i osod allan gysylltiad y Messïah â'r eglwys,—y prïodfab a'i ddyweddi. Unwaith yr oedd gŵr a morwynig brydferth wedi ei dyweddïo iddo. Ar ol ei dyweddïo, aeth ef ymaith, a bu y forwynig yn disgwyl ac yn disgwyl am dano, ond y cyfan yn ofer. Gwawdid hi gan elynion a chyfeillion, a dywedid wrthi na ddeuai byth yn ol i'w chyrchu a'i gwneyd yn wraig iddo ei hunan. Elai hithau o'r neilldu i'w hystafell i ddarllen ei lythyrau, lle yr addawsai fod byth yn ffyddlawn iddi; a chan wylo hi a ddarllennai ac a ymgysurai. Mewn amser efe a ddychwelodd, a phan y gofynnodd pa fodd y bu iddi barhau yn ffyddlawn mor hir, hi a ddangosodd iddo y llythyrau a gynnwysent ei addewidion. Yn ei thrueni a'i chaethiwed gwawdid Israel gan y cenedloedd o amgylch, o herwydd ei bod yn gobeithio am waredigaeth; ond elai Israel i'w hysgolion a'i synagogau, ac yno darllennai ei llythyrau ac ymgysurai. O'r diwedd gwaredodd Duw hi, a gofynnai, Pa fodd y bu iddi, yng nghanol y cenedloedd gwawdlyd, allu parhau yn ffyddlawn iddo? Atebai Israel, gan gyfeirio at y gyfraith, a dywedyd, "Onid oedd gennyf dy addewid Di yma?"

Rhoddir lle mawr i'r angelion hefyd yn y Talmud, a phortreadir hwy fel cyfryngau rhai o'r meddylddrychau mwyaf aruchel yn yr holl lyfr. "O dan edyn y seraphiaid," ebe y Talmud, "y mae bob amser freichiau trugaredd ddwyfol yn barod i dderbyn pechaduriaid." Pob gair a ddaeth allan o enau Duw a drawsffurfiwyd i fod yn angel; a phob gweithred dda a gyflawnai dyn a ddelai i fod yn angel gwarcheidiol i'r dyn. Ar hwyr dydd Gwener (yr adeg y dechreuai y Sabbath Iuddewig), elai dau angel adref gyda'r Iuddew,—un yn angel da, a'r llall yn angel drwg. Os caffai y dyn, ar ei fynediad i'r tŷ, y bwrdd wedi ei daenu, y lamp yn oleu, ei wraig a'i blant yn eu dillad Sabbothol, yn barod i fendithio y dydd sanctaidd, yna y dywedai yr angel da, 'Bydded y Sabbath nesaf, a'r holl rai dilynol, yn gyffelyb i hwn:

tangnefedd i'r tŷ hwn—tangnefedd;' a gorfodid yr angel drwg i ddywedyd o'i anfodd 'Amen.' Os, i'r gwrthwyneb, y caffai y dyn bob peth mewn annhrefn, dywedai yr angel drwg gan lawenychu, 'Bydded eich holl ddyddiau a'ch Sabbothau fel hwn;' a dywedai yr angel da, dan wylo, 'Amen.'" Byddai yn dda, fe allai, i rïeni Cymru gofio y ddameg fechan hon. Gellir casglu un peth oddiwrth y Talmud am y Sabbath Iuddewig, mai nid diwrnod cymylog a niwliog ydoedd; mewn gair, nad ydoedd y fath ddrychiolaeth hagr ag y meddylir yn gyffredin ei fod. Na, yn hollol i'r gwrthwyneb, yr ydoedd y Sabbath Iuddewig "yn hyfrydwch"—yr ydoedd yn ddydd gwyl a dydd gwledd, yn ddydd y dillad goreu, y geiriau goreu, y gwaith goreu, a'r cwmni goreu. Yn ol y Talmud, nid oedd dim o'r gorfanylder a dybir yn gyffredin fel yn perthyn iddo, yn perthyn yn wirioneddol iddo; ac nid ydoedd, mewn un modd, y fath ddiwrnod ag a gamddarlunir gan rai ysgrifennwyr o dan yr enw "Y Sabbath Iuddewig." Yr ydoedd *perygl* bob amser yn cyfreithloni ei dorri. Torrid ef, os byddai anghen, er achub y baban mwyaf egwan o berygl; "canys," meddent, "fe geidw y baban lawer o Sabbathau eto yn ad-daliad am yr un Sabbath a dorwyd er ei fwyn."

Yn awr, parotöed y darllennydd ei hunan i wenu ychydig—mae pethau lled ddigrifol yn canlyn. Gofynnir yn y Talmud, Paham y genir plant i'r byd â'u dwylaw yn gauedig, tra y mae henafgwyr yn marw â'u dwylaw yn agored? Yr ateb ydyw, fod dyn pan yn dyfod i'r byd am gael y cyfan i'w afaelion; ond pan yn ei adael y mae y cyfan yn llithro o'i ddwylaw. Fel y llwynog a ganfu winllan ffrwythlawn, ac a chwennychai yn fawr gael ei wala o'r grawnwin; ond yn gymaint ag nad oedd ond un agorfa gul i fyned i mewn iddi, nis gallai, gan ei dewed, fyned i mewn nes ymprydio o hono dridiau. Ymhen y tridiau fe aeth i mewn, ac a fwytaodd yn helaeth; ond erbyn hynny, nis gallai ddyfod allan heb ymprydio dridiau drachefn. "Megis y daeth allan o groth ei fam

yn noeth, y dychwel i fyned modd y daeth, ac ni ddwg ddim o'i lafur, yr hyn a ddygo ymaith yn ei law" (Preg. v. 15).

Siaredir yn fynych yn y Talmud am Alexander Fawr. Adroddir chwedl iddo unwaith, wrth grwydro ar ei deithiau yn y dwyrain, fyned at borth paradwys, a churo yno. Gofynnai yr angel gwarcheidiol, "Pwy oedd yno?" "Alexander," ebai yntau. "Pa Alexander?" "Alexander," ebai yntau yn ol; "*yr* Alexander —Alexander Fawr—Gorchfygwr y byd." "Nid ydym ni yn ei adnabod; ni chaiff ddyfod i mewn yma." Crefai Alexander am rywbeth yn gofarwydd i ddangos iddo fod yno, a thaflwyd iddo, dros y mur, ddarn o asgwrn penglog dynol. Dygodd Alexander yr asgwrn ymaith, a dangosodd ef yn wawdlyd i'w ddoethion; cymerasant hwythau glorian a dodasant yr asgwrn yn un pen iddo, a gemau aur a thlysau arian Alexander yn y pen arall; ond gorbwysai yr asgwrn bob peth a roddent yn y glorian ar unwaith. O'r diwedd, rhoddes Alexander holl dlysau ei goron i gyd, eithr nid oeddynt ond megis plŷf i wrthbwyso yr asgwrn. Yna daeth un doethach na'r lleill o ddoethion Alexander, ac a roddes ychydig o bridd ar yr asgwrn, ac aeth y pen hwnnw i'r glorian i fyny ar unwaith wed'yn. Asgwrn y llygad oedd yr asgwrn, ac nid oes dim a ddigona y llygad hyd nes y rhoddir ei lonaid o lwch a lludw yng ngwaelod bedd.

Ar un o'i deithiau aeth Alexander mor bell ag Ethiopia, a chymerodd brenin y wlad honno fantais ar yr achlysur i benderfynu rhyw gynghaws cyfreithiol dyrys yn ei bresenoldeb. Yr achos ydoedd fod un dyn wedi gwerthu dernyn o dir i un arall, a thrysor wedi ei ddarganfod yn y maes, a hawliai y gwerthwr y trysor fel ei eiddo ef. Penderfynodd y brenin fod i fab un o'r dynion briodi â merch y llall, a bod y trysor i'w drosglwyddo yn gynnysgaeth. Nid ymddangosai Alexander yn foddhaol ar y dyfarniad; a gofynnodd brenin Ethiopia iddo a oedd efe yn anfoddlawn i'r penderfyniad. "Wel," ebe Alexander, "nid ydwyf yn anfodd-

lawn; ond hyn, mi a wn mai nid fel yna y buasem ni yn gwneyd yn y wlad acw." "Pa fodd, ynte?" ebe y brenin. "Buasem yn cymeryd y trysor ymaith i drysordy y brenin, ac yn torri ymaith bennau y dynion yn y fan." "Caniatâ i mi ofyn i ti gwestiwn," ebe brenin Ethiopia. "A ydyw yr haul byth yn tywynnu yn eich gwlad chwi, Alexander?" "Ydyw, wrth gwrs." "A ydyw hi byth yn gwlawio?" "Ydyw." "A oes gennych anifeiliaid?" "Oes, y mae." "Yna, gan hynny, dyna y rheswm am fod yr haul yn tywynnu, a'r cymylau yn gwlawio—mae yn rhaid mai nid er eich mwyn chwi, ond er mwyn yr anifeiliaid."

Bellach, ni a derfynnwn ein hysgrif drwy ddyfynnu ychydig o ddiarebion a moes-ddywediadau y Talmud: o ran eu rhifedi nid ydynt ond megis ychydig o gregyn wedi eu pigo oddiar lan y cefnfor; eithr o ran eu gwerth y mae rhai o honynt yn berlau gwirioneddol:—

Gwell i ti fod yn felldigedig nag yn melldithio. Gwell i ti fod ymysg y rhai erlidiedig na'r rhai sydd yn erlid. Edrych i'r Ysgrythyrau: nid oes yr un aderyn a erlidir yn fwy na'r golomen, eto hi a ddewisodd Duw i'w haberthu ar ei allor. Erlidir y bustach gan y llew, y ddafad gan y blaidd, yr afr gan y teigr; eto dywedodd Duw, Dygwch i mi offrwm o blith y rhai a erlidir, ac nid o fysg y rhai sydd yn erlid.—Fe gâr y plentyn ei fam yn fwy na'i dad; fe ofna ei dad yn fwy na'i fam. Gwel fel y gwna yr Ysgrythyr i'r tad flaenori y fam yn y gorchymyn, "Ti a geri dy dad a'th fam," a'r fam i flaenori y tad yn y gorchymyn, "Anrhydedda dy fam a'th dad."—Pan fyddo y cyfiawn farw, y ddaear sydd ar ei cholled. Bydd y perl colledig bob amser yn berl, ond y perchennog a'i collodd, dylai ef wylo.—Bywyd sydd fel cysgod yn myned heibio, medd yr Ysgrythyrau. Ai cysgod castell neu bren ydyw? cysgod sydd yn aros dros amser? Na, cysgod aderyn ar ei ehedfa ydyw—ymaith yr ä yr aderyn, ac yna ni bydd nac efe na'i gysgod.—Bendith olaf un o'r doethion i'w ddisgyblion ydoedd, "Yr ydwyf yn gweddïo ar fod i chwi ofni y nefoedd fel yr ydych yn ofni dynion. Yr ydych yn osgoi pechu yng ngwydd yr olaf; osgowch ef hefyd yng ngwydd yr Hollwybodol.—Gofynodd cenedlddyn unwaith, "Os ydyw eich Duw chwi yn casâu eilunaddoliaeth, pa fodd na wnelai ei ddistrywio?" Atebwyd iddo, "Gwel, y maent yn addoli yr haul, y lloer, a'r ser. A hoffet ti i Dduw ddinystrio y greadigaeth brydferth hon o achos yr ynfydion sydd yn ei haddoli?"—Y drws nad egyr i'r tlawd a egyr i'r

meddyg.—Y mae hyd yn oed adar yr awyr yn casâu y cybydd.—Y neb sydd yn rhoddi elusen yn ddirgel sydd fwy na Moses ei hunan.—Anrhydedda feibion y tlawd, canys hwy sydd yn dwyn gwybodaeth i oleuni.—Haiarn a dyr y garreg, tân a dawdd yr haiarn, dwfr a ddiffydd y tân, y cwmwl a ŷf y dwfr, yr ystorm a ŷr ymaith y cwmwl, dyn a wrthsaif yr ystorm, ofn a ddychryna ddyn, gwin a chwal ofn, cwsg a ymlid win i ffwrdd, ac angeu a'u hysguba oll ymaith—hyd yn oed cwsg ei hunan. Ond dywed Solomon y Doeth fod Cariad yn gwared rhag angeu.—Disgwyl y ceiliog a'r ddallhuan am oleuni dydd. Daw y goleuni â hyfrydwch i mi, ebe y ceiliog, ond am ba beth yr wyt ti yn disgwyl?—Ystyria y lleidr ei hunan yn ddyn gonest pan na chaiff gyfleusdra i ladrata.—Bydd ochelgar, canys y mae gan dy gyfaill ei gyfaill, ac y mae gan gyfaill dy gyfaill ei gyfaill yntau hefyd.—Glŷn y ci wrthyt am fod briwsion yn dy logell.—Ni ddylai y dyn y crogwyd un o'i deulu ddywedyd wrth ei gymydog, "Gwel yn dda grogi i mi y pysgodyn bychan hwn."—Pan aeth y camel i chwilio am gyrn, torasant ymaith ei glustiau.—Y milwyr sydd yn ymladd, a'r breninoedd yw yr arwyr.—Geilw y lleidr ar Dduw tra yn torri i mewn i'r tŷ.—Aml yw y cigyddion pan y mae yr ŷch ar lawr.—Pan yn dewis gwraig, disgyn ychydig; pan yn dewis cyfaill, esgyn ychydig.—Os oes rhyw ddrwg o'th gwmpas, cyffesa ef dy hunan.—Os tarewi y duwiau, fe gryn yr offeiriaid.—Fe ä yr haul i lawr ei hunan heb dy gynorthwy di.—Nid hawdd i'r byd fyned yn ei flaen heb y peraroglwyr ac heb y crwynwyr, ond gwae y crwynwr a gwyn fyd y peraroglwr.—Nis gellir dal yr un dyn yn gyfrifol am yr hyn a ddywed yn ei ofid.—Y dyn a gywilyddio, nid hawdd y cyflawna bechod. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng yr hwn a gywilyddio ger bron ei hunan a'r hwn a gywilyddio yn unig ger bron eraill. Arwydd dda ar ddyn ydyw y medr gywilyddio.—Na thrig yn agos i ynfytyn defosiynol.—Dewis bren mawr os byddi am grogi dy hunan.—Dernyn bychan o arian mewn costrel fawr a wna drwst anferth.—Os syrth y piser ar y garreg, gwae y piser; os syrth y garreg ar y piser, gwae y piser. Pa beth bynnag a ddigwydd, gwae y piser.—Gwell i ti ennill dy fywioliaeth wrth flingo celaneddau ar yr heol na dyweyd, "Yr wyf fi yn offeiriad, yr wyf fi yn ddyn mawr, nid ydyw y gwaith hwn yn gweddu i'm hurddas.—Ieuenctid sydd fel llawryf o rosynau, henaint sydd fel coron o ddrain.—Dysg dy dafod i ddywedyd, Nis gwn.—Y gath a'r llygoden ydynt gyfeillion uwchben y gelain.

# AFFRICA.

*Across Africa.* By V. L. Cameron, C.B., D.C.L. 2 Vols. London: Daldy & Ibister. 1877.

*Journal of Adventures in exploring Lake Nyassa, and establishing the Missionary Settlement of Livingstonia.* By E. D. Young, R.N. Post 8vo. London: John Murray. 1878.

GWIRIONEDD sydd â blas henaint arno, bellach, ydyw fod swyn parhaus yn perthyn i'r dirgel a'r anhysbys, gan nad pa un a fyddo ai cyfandir ai athrawiaeth, ai greddf ai deddf, ai o fewn cylch gwyddoniaeth ai o fewn cylch ffydd,—erys rhyw swyn o gylch y peth tra yr erys y peth yn ddirgelwch. Sylweddolir hyn, bob dydd, ger bron ein llygaid, gan y chwant at deithio gwledydd dieithr sydd wedi ymaflyd mor gryf yn ein cenedlaeth. Os pery hyn yn hir, gyda'r aidd yma sydd gennym at anturio, a'r manteision sydd yn ein cyrhaedd, gallwn ddisgwyl, cyn hir, am gael hysbysrwydd manwl a chredadwy am bob parth braidd o'r byd, o'r pegwn gogleddol hyd yr ynysoedd rhamantus, ond cuddiedig, y dywedir eu bod yn britho rhannau anolrheiniedig o'r moroedd Deheuol. Gall oes sydd wedi meiddio crybwyll am linell o reilffordd drwy ddyffryn yr Euphrates, a changen o honi i Babilon—oes sydd eisoes, mewn rhan, wedi adgyfodi Ninefeh a Jerusalem, oes sydd wedi cwblhâu camlas Suez a thwnel drwy yr Alpau —lefaru gydag ëofndra am agor cyfandir i fasnach a chrefydd, a throi tir tywyllwch perfedd-dir Affrica yn oleu ddydd.

Ein hamcan, yn yr ysgrif hon, fydd ceisio arwain ein darllennwyr at y pethau diweddaraf a ddarganfyddwyd

am y cyfandir mawr a thywyll hwn—Affrica; a cheisio eu rhoddi ar dir i allu gwerthfawrogi pob hysbysrwydd pellach, o ba natur bynnag, am dano ac am ei drigolion.

Wrth gymeryd yn ein llaw unrhyw barthlen *(map)* gyffredin, fe welir fod y cyfandir ar ffurf deironglog, ac heb ond ychydig benrhynoedd yn rhedeg allan o hono, na phorthladdoedd yn rhedeg i mewn iddo. Dichon fod a fynno ffurf y cyfandir, i ryw raddau, â'r ffaith ei fod mor anhysbys, gan ei fod, yn ol ei faintioli, yn lled amddifad o angorfëydd cysgodol i longau lechu, ac nad ydyw ei onglau namyn pentiroedd cysgodol noethion yn taflu allan i'r môr, heb y cilfachau hynny yn eu ceseiliau sydd, mewn cyfandiroedd eraill, wedi dyfod yn borthladdoedd bydenwog i lyngesoedd o longau masnachol.

Rhenir y cyfandir yn gyffredin i dair rhan, neu dri math o diroedd. Y cyntaf ydyw yr hyn a elwir y *littoral*—y llain isel, afiach, a lleidiog, sydd yn rhedeg gyda'r arfordir ac yn amgylchynu y cyfandir megis gwregys. Dyma, yn ol y teithwyr, ydyw y man mwyaf peryglus arno, ac i hinsawdd hwn y syrth cynnifer o dramorwyr yn ebyrth. Yna y mae cylch o fynydd-dir uchel; yna, yn nês i'r canolbarth fyth, ceir byrdd-dir *(plateau)* sych a thymerus; a dyma, ar y cyfan, o ran ei hinsawdd, y parth iachusaf o'r cyfandir. Nid rhaid i ni hysbysu ein darllennwyr mai yma—yn y canolbarth anhysbys hwn, y mae tarddleoedd yr afonydd mawrion sydd fel rhydweliau mawrion natur yn rhedeg drwy y cyfandir; yma hefyd y mae cartref "y llynau llawnion llonydd" sydd fel moroedd mawrion mewndirol; ac y mae eu presennoldeb hwy, ynghyda'r afonydd sydd yn gwasanaethu arnynt, yn awgrymu yn eglur iawn fod dyfodol defnyddiol yn aros cyfandir a fedd y fath fanteision anianyddol i fasnach a gwareiddiad.

Defnyddir hefyd, weithiau, ddull arall o rannu y cyfandir, sef, cymeryd pob rhan a fyddo yn cael ei sychu gan ryw un afon fawr yn un dosbarth, yr hyn a elwir mewn daearyddiaeth anianyddol yn *basin* yr afon honno; yna cymeryd yr hyn a elwir yn *watershed,*—y

tiroedd uchel sydd yn amgylchynu gwreiddiau pob afon, yr hyn a alwai yr hen Gymry yn "ben rhediad y dŵr," —cymeryd y rhai hynny yn llinellau terfynol pob rhanbarth. Gyda y dosbarthiad hwn ar Affrica, cawn y dwfr-ddyffrynoedd anferth canlynol: y Congo, y Nile, Zambesi, Niger, Ogowai, a'r holl afonydd llai yn y gogledd sydd yn ymarllwys i lyn Tchad. Y rhai hyn, ynghyda'r ddau anialdir mawr, y Kalahari yn y dehau, a'r Sahara yn y gogledd, ydynt brif raniadau anianyddol y dernyn dyddorol hwn o'r ddaear. Hyd yn dra diweddar yr oedd y rhan fwyaf o'r rhai hyn yn dra anhysbys; a hyd yn nod yn awr y mae aml i gwestiwn o barth tarddle a chyfeiriad rhai o'r afonydd mawrion hyn heb ei benderfynu. A dyma un o'r prif elfenau sydd yn gwneyd i fyny y swyn sydd mewn teithio, sef ei fod yn ein cynnysgaethu â modd i daflu goleuni ar hen gwestiynau. Gwir fod gwahanol ffurfiau i'r swyn hwn. Rhai a deithiant er mwyn darganfod mathau newyddion o greaduriaid a llysiau; dyma y darganfyddwyr gwyddonol. Teithia eraill er mwyn darganfod llynau ac afonydd, mŵnau ac adnoddau masnachol: dyma y darganfyddwyr masnachol a daearyddol. Ond aiff eraill er mwyn darganfod rhyw ganghennau dieithriol o'r cyff dynol, ac oddiar awydd angerddol am lesoli y ddynoliaeth, ac estyn i lwythau anwar fanteision gwareiddiad a chrefydd: dyma y darganfyddwyr uchaf oll; a chymaint gwerthfawrocach ydyw eu hanes a'u darganfyddiadau hwy ag ydyw hanes dyn yn rhagori ar hanes llysiau, creigiau, ac afonydd. Hyn sydd wedi dyrchafu David Livingstone i ben y pinacl fel teithiwr; nid *swm* y wybodaeth a ddaeth drwyddo ynghylch creaduriaid a llynnau ac afonydd newyddion yn Affrica, er fod hynny yn llawer; ond *natur* y wybodaeth a ddaeth i ni drwy ei ddarganfyddiadau,—y cydymdeimlad dwfn a feddai â dyn, yn peri ei fod yn talu mwy o sylw i sefyllfa gymdeithasol a moesol preswylwyr y parthau yr ymwelai â hwy na dim arall. Ei ddyddordeb dwfn mewn dyn a barai iddo dalu cymaint o sylw i gaethwasiaeth ymhob

man lle yr elai; ac yng ngrym y teimlad hwn y galwai hi yn "archoll mawr y byd," ac yn y nodwedd yma diamheu nad ydyw yr holl deithwyr Affricanaidd eraill namyn corachod yn ei ymyl ef.

Ffaith led ddyddorol ydyw mai o fewn y chwarter canrif diweddaf y gwnaed y rhan fwyaf o'r darganfyddiadau mawrion sydd wedi eu gwneyd yng nghanolbarth Affrica. Wrth edrych dros restr y darganfyddwyr a dilyn eu gorchestion,—gan roddi y cenadwr a'r merthyr enwog Livingstone, gyda'i grwydriadau enwog drwy'r cyfandir ar ben y rhestr; yna Burton, Speke, a Grant, gyda'u darganfyddiadau o ffynnonellau cyfrin y Nile, i ddilyn; yna Baker a Gordon i ddilyn hynny, a'r White Nile a'r llyn Albert Nyanza fel ffrwythau eu hymchwiliaeth; yna Cameron wedi croesi y cyfandir, ar hyd y tir, o'r dwyrain i'r gorllewin; ac yn ddiweddaf, ond nid y lleiaf, Stanley, wedi croesi o'r dwyrain i'r gorllewin-ogledd gyda help yr afon Congo—ond wrth ei helpu gorfu i'r hen afon ildio iddo ei chyfrinach, a phrofi mai yr un ydoedd hi a'r Lualaba,—y mae meddwl mai gwaith un genedlaeth yn unig yw y gorchestion hyn bron yn anhygoel. Cyn hynny arosasai y canolbarth mawr i gyd yn *terra incognita*, yn ddaear anadnabyddus. Yn niwedd y ganrif o'r blaen canai Deon Swift gyda gwawdiaeth a gwirionedd—

Geographers in Afric maps
With savage pictures fill their gaps,
And o'er uninhabitable downs
Place elephants for want of towns.

Ond erbyn hyn y mae cryn wahaniaeth. Cipdrem ar y *map* a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan bwyllgor y Gymdeithas Ddaearyddol Frenhinol a rydd olwg gryno ar yr holl anturiaethau a wnaed o bob tu i'r cyhydedd yng nghanolbarth Affrica, a hynny mewn amser tra byr. Y mae y gwahanol deithiau a wnaed gan wahanol deithwyr wedi eu nodi yn ofalus âg inc coch ar y *map*, ac o'r braidd na thybiech mai edrych yr ydych ar barthlen o

ryw wlad adnabyddus yn Ewrop, gyda rhwydwe o reilffyrdd a chamlesydd yn rhedeg trwyddi, ac nid ar gyfandir sydd eto i raddau yn gorwedd o dan len o dywyllwch.

Gwir fod Affrica wedi bod yn destun sylw yn yr hen oesoedd, a ffaith led ddieithriol ydyw fod mapiau yr hen oesoedd o'r cyfandir lawer yn gywirach na'r rhai a wnaed yn niwedd y ganrif o'r blaen. Y rheswm am hyn, dybygid, ydyw fod y traddodiadau a nofient am ganrifoedd ar wyneb cymdeithas yn y dwyrain i ryw raddau yn gywir. Pan ydoedd gwareiddiad â'i gartref yn y dwyrain, ceid rhai rhannau o'r cyfandir yn dra hysbys. Ar ei gyrau gogleddol ceir hen leoedd enwog iawn—Carthage, Ethiopia, a'r Aipht. Yno yr oedd prif ystorfa masnach y dwyreinfyd ar ol cwymp Tyrus, a phrif drysorgell lenyddol y byd o dan y Ptolemeaid. Ffurfia hanes y cyfandir hwn bennod dra dyddorol yn hanes y byd dwyreiniol; yno bu gallu Groeg a Rhufain yn llywodraethu yn eu tro o dan Alexander, Cesar, a Scipio.

Tarddiad y Nile ydoedd dirgelwch mawr Affrica i'r hen fyd; a bu anturiaeth Affricanaidd yn fwy dyledus i hyn, fel ei gymhelliad, drwy gydol yr oesoedd, nag i ddim arall. Dyma yr hyn a gadwodd ysbryd anturiaeth yn fyw. Ceir awgrymiad ar amryw o hen gerfluniau yr Aipht am y dirgelwch hwn; bu Alexander Fawr yn troi y peth yn ei feddwl; bu Julius Cesar yn holi hen offeiriaid yr Aipht am y gyfrinach; ac o ddyddiau y gorchfygwyr Tyrcaidd hyd amser Bonaparte bu y peth yn destun chwilfrydedd, a bu yr olaf hwn ar fedr anfon byddin o filwyr i chwilio am darddleoedd y Nile. Ond gadawyd y dirgelwch i ddynion syml i'w gael allan,—nid cadfridogion na gorchfygwyr, ond dynion yn caru gwybodaeth a dynoliaeth; i'r rhai hyn, hyd yma, y mae yr hen gyfandir wedi datod seliau ei gyfrinachau. Pan y treiglodd gwareiddiad o'r dwyrain i'r gorllewin fe dreiglodd ysbryd anturiaeth i'w ganlyn. Adfywiwyd yr ysbryd hwn yn y gorllewin, yn ei berthynas âg Affrica, gan y Portugiaid, tua chanol y bymthegfed ganrif, o dan eu tywysog Henry, yr hwn ydoedd dywysog neill-

duol o rinweddol ac anturiaethus. Cymerasant feddiant o rannau helaeth o'r arfordir gorllewinol a dwyreiniol, ac y maent yn eu dal hyd y dydd heddyw. Gallesid dywedyd mai hwynt-hwy a'r Arabiaid oeddynt, hyd o fewn ychydig amser yn ol, yn feistriaid hollol ar y rhan hon o'r ddaear. Ni bu y cyfandir nemawr yn ei fantais o'u presenoldeb hwy, canys dyma y ddau dylwyth sydd wedi cynnal i fyny y fasnach felldigedig mewn caethion, ac wedi peri i Affrica gael ei hystyried yn *slave preserve* y byd adnabyddus.

Fel i'r hen fyd, felly i'r oes hon, tarddiad y Nile ac afonydd eraill, ynghyda pherthynas yr afonydd hynny â llynau mawrion sydd yn gorwedd yn y canolbarth, dyma yn bennaf sydd wedi ennyn ysbryd anturiaethus yn y blynyddoedd diweddaf hyn. Gwir y ceid rhai dynion cyffelyb i Livingstone, gyda'r amcanion uwch a rhagorach o agor y wlad i fasnach a gwareiddiad, a thrwy hynny ei gwneyd yn faes cenadol. Ond syniad diweddar mewn cymhariaeth ydyw corffori y cenadwr a'r teithiwr yn yr un person; a syniad sydd yn debyg o greu chwyldroad hollol yn hanes cyfandir Affrica.

Ein bwriad ni yn yr ysgrif hon ydyw ymgadw yn bennaf at barthau cyhydeddol Affrica, yr hyn a elwir yn *equatorial Africa;* canys yma y mae y dyddordeb diweddar wedi ei grynhoi, a'r darganfyddwyr diweddaraf wedi cyflawni eu gorchestion. Ar y tu dwyreiniol, yn y rhanbarth hon o'r cyfandir, y gorwedd tref a phorthladd Zanzibar, pwynt cychwynol amryw o'r hyntoedd diweddar i'r perfedd-dir. Hwyliant eu camrau yn gyffredin dros y tir drwy Unyanyembe ac i Ujiji, lle ar lan ddwyreiniol llyn mawr Tanganyika: yna dros hwnnw, ac i gyfeiriad y gorllewin i le o'r enw Nyangwe, ar lan yr afon fawr Lualaba. Yr afon hon sydd wedi bod yn destun sylw yr holl deithwyr diweddaraf, ac yn hanes hon y mae yn ymddangos fod *problem* fawr ddiweddaf Affrica i gael ei phenderfynu. Ymwreiddia ymhell bell i'r dehau i'r cyhydedd, yn agos i ffynonellau y Zambesi; yna treigla o lyn Bemba, y llyn y bu farw Livingstone

ar ei lan, i lyn Moero o dan yr enw y Luapula; yna o hwnnw treigla o dan yr enw y Lualaba i lyn Kamolondo; yna rhed yn un corff mawreddog o ddwr i gyfeiriad y gogledd, nes croesi y cyhydedd; yna rhydd dro mawr i gyfeiriad y gogledd-orllewin, nes ymarllwys allan ar yr arfordir gorllewinol o dan yr enw y Congo. Wrth weled ei chyfeiriad tua'r gogledd, tybiai y teithwyr yn gyffredin, pan y deuent ar ei thraws yn y canolbarth, mai y Nile ydoedd. Tywynai ar feddwl Livingstone weithiau y *gallai* mai y Congo ydoedd; ond tybiai yr Ysgotiad ieuanc gwrol Cameron yn lled sicr mai y Congo ydoedd, er iddo ef fethu dilyn ei chwrs i lawr i'r arfordir o Nyangwe, fel y bwriadai; a bu raid iddo gymeryd cwrs i'r gorllewin ar draws y tir o Nyangwe, a dyfod allan, yn lleeg a methedig, yn Benguella ar yr arfordir gorllewinol, wedi croesi y cyfandir yn drwyadl o'r dwyrain i'r gorllewin, heb gymhorth nac afon nac arall ond ei benderfyniad a'i ddewrder ei hun. Gadawyd y gorchwyl o gwbl benderfynu mai y Congo ydoedd y Lualaba i H. M. Stanley, ac yn annibynol ar ei ddull ef o gario yr anturiaeth allan, rhaid i bawb addef mai dyma un o orchestion disgleiriaf y ganrif hon. Ceisiwn, hwyrach, mewn ysgrif ddyfodol, anrhegu darllennwyr *Y Traethodydd* â brâs ddesgrifiad o'r ymgyrch hon; ond hyd hynny, gallwn eu hysbysu ddarfod i Stanley hwylio i lawr o Nyangwe ar y 5ed o Dachwedd, 1876, a glanio ar y forlan orllewinol ym mis Awst y flwyddyn ddilynol, wedi bod am naw mis yn mordwyo i lawr yr afon anferth hon, a chyfarfod â rhwystrau di-rif bron.

Felly, a siarad yn gyffredinol, ceir tri o ddwfr-ddyffrynoedd mawrion yn Affrica, yn cael eu dihysbyddu gan dair o afonydd mawrion—y Zambesi yn ymarllwys i'r arfordir dwyreiniol; y Nile yn ymarllwys drwy yr Aipht i'r lan ogleddol; a'r Congo i'r gorllewin. Heblaw hynny perthyna i ganolbarth cyhydeddol Affrica dri llyn mawr, a *gwyddis* fod dau o honynt yn dal perthynas agos â'r afonydd uchod, a *thybir* hynny am yr oll o honynt. Rhed y llynau hyn, rhyngddynt a'u

gilydd, megis ar linell unionsyth o'r gogledd i'r dehau, am tua mil o filltiroedd! Y mwyaf gogleddol ydyw yr Albert Nyanza; a'r Tanganyika yn y canol. Y ddamcaniaeth ddaearegol ddiweddaraf o berthynas iddynt ydyw, mai gweddillion un llyn mawr ydynt, a'u bod yn gorwedd mewn hollt anferth a wnaed gan ryw gynhyrfiad tanddaearol a fu mewn rhyw amser maith yn ol yn hanes y cyfandir. Erys y ddamcaniaeth hon, fel llawer un o'i blaen, am ychwaneg o brofion i'w hategu, er fod llawer o bethau pur olygus o'i phlaid. Treigla yr afon Shirwa o lyn Nyassa, ac ymarllwys i'r Zambesi; felly y mae yr afon Zambesi yn dal cysylltiad â'r llyn mwyaf deheuol. Treigla y Nile drachefn o'r Albert Nyanza yn y gogledd; a thybir—nid ydyw hyn eto ond lled-dybiaeth—fod y Lualaba, ac felly y Congo, yn dal cysylltiad â llyn mawr Tanganyika. Pa fodd bynnag, amlwg ydyw y bydd y llynnau a'r afonydd enfawr hyn yn chwareu rhan bwysig iawn yn nyfodol Affrica; ac nid oes eisieu llygad craff iawn i ganfod, ar un cipedrychiad, fod cyfandir sydd wedi ei gynysgaethu â'r fath gyfleusderau ac adnoddau wedi ei fwriadu i fod yn rhywbeth heblaw magwrfa caethion a mathrfa bwystfilod gwylltion.

Gan i ni grybwyll am *adnoddau* y cyfandir, gallwn ychwanegu mai pennod led ddiweddar ydyw hon; prin y meddylid fod dim heblaw ifori a chaethion yn Affrica. Gwir fod tybiaeth, ac nid heb sail ychwaith, mai yno yr oedd Ophir y brenin Solomon, a bod yr Aiphtiaid yn llwyddo i gael rhyw fathau o gyfoeth o rai rhannau o'r cyfandir; ond prin y clywid am ddim oddiyma, hyd yn ddiweddar, namyn caethion ac ifori; ac o'r ddau, gosodid mwy o bris ar ddannedd cawrfilod nag ar fodau dynol! Erbyn hyn ymddengys fod dalen newydd i gael ei throi yn hanes Affrica,—y mae y cyfandir yn doreithiog, braidd yn ddihysbydd felly, o bob math o nwyddau, heblaw y pethau a grybwyllwyd. Ar ol atal y gaethfasnach, fe allforiwyd mewn ychydig amser,

oddiar yr arfordir dwyreiniol yn unig, werth £40,000 o *india rubber*. Prawf hyn ddau beth: y troir y cyfalaf a ddefnyddid unwaith i brynnu dynion at fasnach gyfreithlawn; a hefyd, fod digon o adnoddau a nwyddau yn y canolbarth, ond yn unig gael modd i fasnachu yn deg â'r trigolion. Tystiolaeth unfrydol Livingstone a Cameron ydyw fod adnoddau mwnawl y cyfandir braidd yn ddiderfyn. Ceir haenau mawrion o lô mewn amryw fannau o gylch glennydd llyn Tanganyika, a lleoedd eraill; ac am haiarn ac efydd, &c., nid oes braidd gyfrif arnynt. Tystiai Livingstone fod yr haiarn mor ehelaeth mewn rhai rhannau fel ag yr oedd y brodorion, o honynt eu hunain, wedi dyfod yn grefftwyr neillduol o ddeheuig yn y gwaith o'i drin; a bod y fetel mor ragorol a hydwyth fel mai ychydig iawn o waith oedd i'w ddwyn, hyd yn nod o'i gyflwr naturiol, i bob math o ddefnydd. Am nwyddau trofegol, ceir hwynt mewn helaethrwydd mawr yma, ac amryw o honynt yn tyfu yn wyllt. Gellir cael rhyw syniad am hynny pan y darllennwn yn hanes taith Cameron ei fod wedi bod yn cerdded am hanner cant o latheni mewn llwyn mawr o goed *nutmeg*, yn tyfu yn wyllt, a'r arogl braidd yn berlewygol! Amser a ballai i ni son am anifeiliaid y cyfandir, fychain a mawrion. Gan yr un teithydd fe geir hanesyn a ddengys y cyflawnder sydd yno o bob math o fwystfilod, a'r rhai hynny o'r maintioli mwyaf. Elai Cameron heibio i lecyn yn agos i lyn, a cherllaw i'r llyn yr ydoedd pentwr o weddillion llew, buffalo, a chrocodil. Yr esboniad a gaffai gan y brodorion ydoedd, fod yn debygol i'r buffalo ddyfod i'r llyn i yfed dwfr, a bod y llew yn ei wylio yn y llwyn gerllaw, ac iddo neidio arno, ac i'r ddau lusgo eu gilydd i'r llyn; ac yno i grocodil mawr ymosod arnynt ac iddynt ymdreiglo yn ôl a lladd eu gilydd yn yr ymdrech. Ceir yno gawrfilod, neu elephantiaid, mewn helaethrwydd mawr, er cymaint o ddifa sydd arnynt er mwyn yr ifori. Gellir cael rhyw ddirnadaeth am eu maintioli pan y dywedir i Cameron weled un ysgythrddant *(tusk)* yr oedd rhaid

cael dau ddyn i'w gario; a chyfrifir y gall pob cludydd Affricanaidd gario 120 o bwysi!

Ond y mae yn llawn bryd i ni ddyfod at y trigolion; dyma sydd fwyaf dyddorol o bob peth. Nid ydyw creigiau a haenau, llynau ac afonydd, ond testunau tlodion o efrydiaeth yn ymyl dynoliaeth. Gellir dywedyd fod cyfandir Affrica yn cael ei breswylio gan ddau deulu mawr—dwy gangen o'r cyff dynol. Y dosbarth cyntaf ydyw—

Yr *Hottentotiaid* a'r *Llwynwyr*. Er y nodir y ddau dylwyth hyn ar wahan, eto y maent yn rhinweddol yr un â'u gilydd, yn hanu o'r un cyff, ac heb ond ychydig wahaniaeth rhyngddynt, oddieithr ychydig yn eu hiaith. Rhoddwyd yr enw Hottentotiaid arnynt gan yr Ellmyn ar ol eu gorchfygu,—gair sydd yn golygu Clecwyr, o herwydd, meddir, eu bod yn clecian eu geiriau yn nhaflod eu geneuau wrth siarad; ond yr enw a arddelir ganddynt hwy eu hunain ydyw Koin-koin. Cyfannedda y llwythau hyn cydrhyngddynt braidd yr oll o rannau deheuol y cyfandir. Yr ail ddosbarth ydyw—

*Y Negroaid*. Oddigerth ychydig o'r Caucasiaid sydd ar eithaf dwyreiniol y cyfandir, a'r Hamiaid yn yr Aipht, a'r cymysgedd sydd yno erbyn hyn o genedloedd eraill heblaw yr hen frodorion—yr hen Goptiaid, dyma y tylwyth mawr sydd yn meddiannu y rhannau helaethaf o'r cyfandir. Rhennir y Negroaid yn Affrica i ddwy gangen, sef, 1. *Negroaid Soudan;* cyfannedda y rhai hyn rannau gogleddol y cyfandir. 2. *Negroaid Bantua;* cyfannedda y rhai hyn o bob tu i'r cyhydedd, gan gymeryd i fyny yn gyfangwbl y rhan a elwir gennym ni yn *tropical Affrica*. Felly, fe welir mai gyda'r rhai hyn yn bennaf y mae a wnelom ni yn awr; yn eu mysg hwy y bu y rhai mwyaf enwog o'r teithwyr diweddaraf yn ymlwybro, ac yn eu rhanbarth hwy o'r cyfandir y bu farw David Livingstone; ac o'u plith hwy yn bennaf y cyflenwir marchnadoedd y byd â chaethion.

Adwyth mawr anaele y byd Affricanaidd ydyw y gaethfasnach; nid oes yr un teithiwr, yn meddu unrhyw rith o deimladau dyngarol, nad ydyw yn gwneyd cyfeiriad at hynyma. Bernir fod rhifedi holl drigolion y cyfandir yn bresennol tua 180,000,000 o fodau dynol; ac o herwydd yr anffawd o fod yn ddu, y maent dan ymosodiadau dibaid eu brodyr gwynion o gyfandiroedd eraill! Tybir fod tua hanner miliwn yn flynyddol o'r trigolion hyn yn cael eu hysbyddu o'r cyfandir; a thybir ar yr amcangyfrifon cywiraf sydd bosibl, fod yn ystod y tair canrif diweddaf ddim llai na 30,000,0000 o gnwd dynol y cyfandir wedi myned ar goll! Yn y flwyddyn 1845, mor bell yn ol a hynny, yr oedd tua 25,000 bob blwyddyn yn myned o'r tu dwyreiniol i'r cyfandir yn unig! Y mae darllen am bentrefi cyfain wedi eu diboblogi; llain-diroedd cynyrchiol heb neb i'w hamaethu, weithiau wedi eu gadael â'r grawn a'r hadau brodorol wedi eu hau ynddynt, ond yr hauwyr, druain, wedi eu llusgo ymaith cyn gweled o ffrwyth eu llafur; a'r ysgerbydau dynol ar bob llaw i'r teithiwr, pan yn cerdded yn ffordd y caethfasnachwyr,—rhai ar goed yn grogedig, rhai ar y ddehau â'r caethffyn am eu gyddfau, eraill ar yr aswy yn lled orwedd yn yr ystum poenus y buant farw ynddo, ond erbyn hyn yn ddim ond ysgrudau dynol a'r cnawd wedi ei wisgo ymaith gan yr hinsawdd, neu ei fwyta gan yr adar a'r bwystfilod,—y mae darllen y pethau hyn, er yn dreth drom i deimlad, eto yn esboniad llawn ar y ffigyrau uchod. Mae yr Arabiaid a'r Portugiaid, fel locustiaid y prophwyd Joel, "a'r wlad o'u blaen fel gardd baradwys, ac ar eu hol yn ddiffaethwch anrheithiedig; a hefyd ni ddianc dim ganddynt." Peth cyffredin yn Affrica ydyw i'r preswylwyr adeiladu pentrefi mawrion o fythod ar bolion yn y llynnau mawrion, fel nas gellir myned atynt ond gyda chychod, a hynny yn gyfangwbl er mwyn amddiffyn eu hunain rhag yr helwyr caethion! Pan y meddylir, hefyd, am yr afradlonedd ar fywydau dynol sydd yn yr ymgyrchoedd hyn ar ol caethion, nid rhyfedd y sicrhâi

Livingstone—a pha awdurdod uwch?—mai un o bob deg o'r dynion a ddelid yn y canolbarth oedd yn byw i weled yr arfordir,—fod y lleill yn marw ar y ffordd!

Y mae bellach wedi ei brofi fod yn rhaid, tuag at roddi unrhyw atalfa barhâus ar gaethfasnach Affricanaidd, agor y cyfandir i fasnach reolaidd a chyfreithlawn. Nid digon i'r cenadwr fyned â'r Beibl yn ei law, na'r dyngarwr fyned yno i hyrwyddo gwareiddiad, heb hefyd i'r masnachwr eu dilyn, neu eu blaenori; a dibwys mewn cymhariaeth, pa un ai yn ôl ai ymlaen y byddo efe, ond iddo fyned, a sefydlu gorsafau masnachol, lle y caiff y brodorion gyfleusdra i gyfnewid eu nwyddau. Un o brif nodweddau yr Affricaniaid ydyw eu cariad at ryw fath o gyfnewid nwyddau, yr hyn a elwir yn *barter;* ac ond dadblygu y tueddfryd yma deuai yn fuan yn llinell fasnachol brydferth yn eu cymeriad cenedlaethol. Dywed Livingstone, gyda'i graffder arferol, yn ei lyfr cyntaf o hanes ei deithiau, y geiriau canlynol:—"Dylem symbylu yr Affricaniaid i gynyrchu nwyddau i gyflenwi ein marchnadoedd, fel un o brif foddion eu dyrchafiad, yn nesaf at yr efengyl." Dyma dôn pob teithiwr ar ei ol, ac y mae yr argraff yn dyfnhâu fod dyfodol masnachol disglaer yn aros Affrica. I hyn, dybygid, y mae y teithiau a'r ymgyrchoedd diweddaraf i'r canolbarth i gyd yn tueddu. Er marw o rai o'r teithwyr yn y caledi, ac i'r lleill ddioddef yn enbyd, eto pan y taflwn ein golwg o'n hamgylch, braidd nad ydym yn dechreu teimlo fod y ffrwyth eisoes yn barod i'w gasglu. Dyma y gwahaniaeth rhwng rhyfelgyrchoedd costfawr ein gwlad a hyntoedd y teithwyr hyn, sef y ffrwyth sydd yn gyffredin yn dilyn. Ar ol rhyfelgyrch drudfawr fel yr un diweddar o'r eiddom i Ashantee, y mae yr holl ffrwyth yn gynnwysedig mewn *Documents* diwerth yn gorwedd yn rhai o swyddfeydd y llywodraeth, a hen *umbrella* y brenin Koffee, sydd i'w weled yn y *Kensington Museum;* ac, o'r ddau, digon tebyg fod yr hen *umbrella* lawn mor werthfawr â'r cytundebau! Ond y mae ffrwyth amlwg iawn wedi

dyfod eisoes o holl grwydriadau David Livingstone, a'i olynwyr yn y gwaith; y maent wedi dangos agorfa i fasnach ac egni gwareiddiol y byd Ewropeaidd na ddarganfyddwyd ei gyffelyb, beth bynnag, er pen ddarganfyddwyd byd mawr y gorllewin gan Columbus.

Yn awr y cwestiwn ydyw, A gaiff y gaethfasnach fyw? I ateb y gofyniad hwn, goreu ydyw gofyn un arall, Pa fodd i agor y cyfandir i fasnach? Ymddengys mai dyma gwestiwn y dydd yn awr gyda golwg ar Affrica; y mae pawb yn gweled fod yma faes ardderchog, ond pa fodd i'w drin a'i ddiwyllio? Ofer ydyw meddwl am ddiwreiddio sefydliad cyffelyb i'r gaethfasnach mewn ychydig amser. Y mae y sefydliad hwn fel wedi ei gydwau â chymdeithas yn y dwyrain; y mae caethwasiaeth, fel sefydliad teuluaidd, wedi bodoli yn Affrica er dyddiau Abraham a brenhinoedd yr Aipht. Mor bell ag y cyrhaedd hanesyddiaeth, y mae melldith Noah ar Ham wedi ei chyflawni yn llythyrennol yn yr Affricaniaid. Nid yn unig y maent yn gorfod cyflenwi hiliogaeth Sem a Japheth â chaethion, ond y maent wedi ymostwng i gaethiwo eu gilydd, a Ham a'i epil wedi myned yn "was *gweision* ei frodyr." Fe gymer, gan hynny, amser maith, yn ddiamheu, i ddileu caethwasiaeth fel sefydliad o'r wlad, er y dichon y gellir yn dra buan ddileu y fasnach mewn caethion i'w hanfon i wledydd eraill. Fel y dilëwyd *feudalism* a *serfdom* o Ewrop, felly nis gellir ymlid y gaethfasnach hon o Affrica ond yn raddol, a hynny drwy ddylanwad cyfunol Gwareiddiad, Masnach, a Christionogaeth. A'r cwestiwn yn awr ydyw, Pa fodd i gael y dylanwadau hyn i effeithio yn fwyaf manteisiol ar y cyfandir?

Hyd yn hyn, yn y Penrhyn Deheuol i'r cyfandir y mae canolbwynt y rhan fwyaf o'r gweithrediadau, yn fasnachol a chenadol, sydd wedi cael eu dwyn ymlaen yn Affrica; bellach teimlir y rhaid cael rhyw *basis* yn y dwyrain, heblaw Cape Town yn y dehau. Awgrymir, fel un ddarpariaeth i gyfarfod â'r angen yma, sicrhau, drwy bwrcas, gan Sultan Zanzibar, amryw borthladd-

oedd ar y forlan ddwyreiniol; yna sefydlu moddion cymundeb rhwng y rhai hynny â gorsafau llwyddiannus yn y canolbarth. Ond pa fodd y sefydlid y cyfryw gymundeb? Ar atebiad llwyddiannus ac ymarferol i'r anhawsder hwn y mae y cyfan yn troi. Un awgrymiad sydd eisoes ar y ffordd i gael ei weithio allan ydyw, cael un ffordd mèn dda, neu ychwaneg, o'r arfordir dwyreiniol i gymdogaethau y llynnau yn y canolbarth: y mae eisoes yn wir ddwy yn cael eu gwneyd, un i gyfeiriad llyn Nyassa, a'r llall i gyfeiriad llyn Tanganyika. Awgrym arall ydyw yr agerfadau, un neu ychwaneg, ar bob un o'r llynnau mawrion mewndirol. Y mae hyn hefyd ar gael ei gario allan,—y mae un eisoes ar lyn Nyassa, ac un arall, bellach, ar lyn Albert Nyanza, os nad oes un hefyd erbyn hyn ar y Victoria Nyanza. Tybiai Cameron yn gryf y gellid, ond sicrhâu porthladd ar y tu dwyreiniol, drwy gytundeb neu bryniant, redeg llinnell o reilffordd oddiyno drwy Unyanyembe i Ujiji, gyda changhennau yn rhedeg o honi i wahanol gyfeiriadau. Ni byddai traul gwneuthuriad llinnell o'r fath ond tua £1,000 y filldir, a buan y ceid niferi o fasnachwyr yn barod i anturio i'r perfedd-dir pe ceid ond ffordd i gludo nwyddau yno ac oddiyno. Ond y syniad diweddaraf, a syniad ag y mae taith olaf Stanley wedi gwneyd llawer er ei hyrwyddo, ydyw, cysylltu gwreiddiau afon y Zambesi gyda gwreiddiau y Congo; felly, sefydlu cymundeb mordwyol rhwng glannau dwyreiniol a gorllewinol y cyfandir. Dywed Cameron mai *canal*, camlas, o tuag ugain milldir o hŷd, a gysylltai yr afonydd mawrion hyn â'u gilydd. Y mae Stanley wedi profi fod yr afon Congo nid yn unig yn un o brif afonydd cyfandir Affrica, ond yn un o brif afonydd y byd, heb fod yn ail i'r Amazon ei hunan. Gellid ei defnyddio i amcanion mordwyol am tua 1,400 o filldiroedd o'i genau. Gwir fod arni lawer o raiadrau, ond dylid cael agerlongau i redeg o fewn gorsafau penodol, o'r naill raiadr i'r llall; a gall peirianyddiaeth ddyfeisio llawer ffordd i gyfarfod â'r anhawsderau sydd yn perthyn i'w

mordwyaeth. Nid ydyw y tiriogaethau o amgylch ei genau yn eiddo neillduol i neb o'r Galluoedd Ewropeaidd, er mai yr Ellmyn yw y rhan lïosocaf o'r masnachwyr; a byddai yn dda ganddynt hwy pe gwelent fasnach y canolbarth yn nwylaw Ewropeaid, ac nid, fel y mae, yn hollol at drugaredd llwythau anwar. Pa fodd bynnag, nid oes ond dolen fechan o ychydig filldiroedd o hŷd nad ellid sefydlu tramwyfa o lan i lan i'r cyfandir, a sicr gennym na bydd yr anturiaethau hyn yn hir cyn cael eu cario i weithrediad. Yr ydym yn disgwyl hefyd na bydd ein gwlad ni ein hunain—gwlad sydd wedi cyflenwi rhestr y darganfyddwyr âg enwau mor anrhydeddus, a gwlad sydd wedi cymeryd cymaint o drafferth i ddangos ei gwrthwynebiad i gaethfasnachaeth a phob math o drais; ac o'r ochr arall, gwlad sydd yn brif gartrefle masnach rydd,—ddim yn ol i wledydd eraill mewn gwneyd y defnydd goreu o'r cyfleusderau hyn. Yn wir, fe fyddai yn warthrudd ar ei hanes iddi fod ar ol i deyrnasoedd eraill yn y cyfwng presennol. Darfu i Loegr ryddhâu ei chaethion yn India'r Gorllewin, a hynny trwy draul iddi hi ei hunan o £20,000,000, yr hyn a dalwyd i'r perchenogion yn bris eu rhyddhâd. Ceidw y wlad hon hefyd lynges ar yr arfordir Affricanaidd i wylio y gaethfasnach, a hynny ar draul, fel y bernir, o tua £500,000 yn flynyddol; a thybir nad ydyw holl dreuliadau y llynges hon, er pan ei gosodwyd i wylio y glennydd hynny, nemawr lai na £52,023,684; yr hyn, ynghyda'r swm uchod a dalwyd i gaethfeistri India'r Gorllewin, a wna y swm anferth o dros *ddeg a thriugain* o *filiynau o bunnau*, oll wedi eu treulio i amddiffyn bywydau dynion, ac i gadw i fyny urddas y ddynoliaeth. Amcan teilwng o Brydain Fawr. Ond tybia llawer o ddynion craffus iawn, erbyn hyn, pe gwerid ychydig bob blwyddyn o'r swm uchod er archwilio y cyfandir, a sefydlu gorsafau masnachol yma a thraw yn y canolbarth, a gwneuthur ffyrdd, &c., y gwneid mwy er atal y gaethfasnach na dim sydd yn cael ei wneyd yn awr. Y mae yr adeg hon hefyd yn un dymig ryfeddol

i hynny. Tynnir sylw Cristionogion a dyngarwyr y byd adnabyddus yn awr at ragolygon Affrica; ac arweiniodd hynny yn ddiweddar i ffurfiad un o'r cynlluniau eangaf fu erioed er ei hagor i fasnach a gwareiddiad. Tra yr ydym yn ysgrifennu y llinellau hyn y mae brenin Belgium, yr hwn ei hunan a fu yn teithio yn Affrica cyn ei goroniad, mewn trafodaeth â chynrychiolwyr o wahanol wledydd sydd yn teimlo dyddordeb yn Affrica, ynghylch y llwybr goreu i wareiddio a llesoli y cyfandir tywyll. Y mae eisoes Bwyllgor dylanwadol wedi ei ffurfio braidd ymhob un o deyrnasoedd Ewrop, ac yn America, ynghyda Phwyllgor canolog a chydgenedlaethol, er cydweithredu yn hyn, gyda'r brenin Leopold yn llywydd arno. Ymddengys hefyd fod cynhwrf mwy nag arferol yn America mewn parotoi y Negroaid i fod yn genhadon at eu brodyr Affricanaidd, a hynny pan y mae y fath symbyliad wedi ei roddi i anturiaethau cenadol a masnachol i'r cyfandir. Gresyn fyddai i Loegr, modd bynnag, fod yn ôl i unrhyw wlad mewn symudiadau o'r fath. Ond pa beth bynnag a wneir gan Loegr fel gwladwriaeth, da gennym frysio at bennod dra dyddorol sydd newydd agor yn hanes cyfandir Affrica, sef, yr hyn y mae cenadaethau Prydeinig ar fedr ei wneyd, ac i raddau wedi dechreu ei wneyd eisoes ar gyfandir Affrica; a chyda hyn y treuliwn y rhelyw o'n gofod yn yr ysgrif hon.

Fel y crybwyllwyd eisoes, y mae tri llyn mawr yng nghanolbarth Affrica,—y Nyassa, Tanganyika, a'r Albert Nyanza; ac y mae tair cymdeithas genadol yn Lloegr wedi cytuno â'u gilydd i ddewis bob un ei llyn o'r rhai hyn fel canolfan eu gweithrediadau. Dyma gam gwirioneddol dda: yn hytrach na gwastraffu eu hegnïon i fyned ar draws llwybr y naill y llall, y maent wedi cydsynio i ddiwyllio bob un ei rhan o'r maes anferth ac addfed hwn. Y mae Cymdeithas Genadol Llundain wedi dewis llyn Tanganyika a gorsaf bwysig Ujiji fel ei chychwynfan, a disgwylir fod y fintai gyntaf o dan arweiniad un Mr. Price—ai Cymro, wys?—eisoes

wedi cyrhaedd y lle. Mabwysiadodd Cymdeithas Genadol Eglwys Sefydledig Lloegr lyn Albert Nyanza a'r Victoria Nyanza yn y gogledd, ac y maent hwythau wedi dechreu ar eu gweithrediadau yn barod. Derbyniodd y gymdeithas yn ddiweddar newyddion calonogol iawn oddiwrth y fintai gyntaf ar ol ei derbyniad gan y brenin Mtesa. Dichon fod rhai o'n darllenwyr yn cofio mai hwn yw y brenin yr ysgrifennai Stanley adref am dano, ei fod yn awyddus i dderbyn cenadon i'w diriogaeth; ac fe dderbyniwyd yr awgrym ar unwaith, ac ymddengys pethau fel yn addaw yn dda ragorol. Gall tiriogaeth y penadur hwn, gyda'i phum' miliwn poblogaeth, fod yn gychwyn-fan gweithrediadau a fyddant yn ddechreuad cyfnod newydd yn y parthau hynny o'r cyfandir. Amgylchynir ei deyrnas ef gan deyrnasoedd eraill, llawn mor boblogaidd, megis Ruanda, Urundi, lle y mae tair miliwn o boblogaeth, Asagara, ac eraill. Dichon mai y brenin Mtesa a fydd Cystenyn Fawr cyfandir Affrica; ac, fel y dilynwyd tröedigaeth Cystenyn gan ddychweliad holl genhedloedd barbaraidd cyfandir Ewrop at Gristionogaeth, felly pwy ŵyr na ddilynir gwaith Mtesa yn cofleidio Cristionogaeth gan ryw symbyliad cyffelyb yn Affrica? Tybir hefyd fod eisoes agerlong ar lyn Albert Nyanza, os nad hefyd ar ei gymydog y Victoria Nyanza; yr hyn a bair gyfnewidiad trwyadl, yn ddiamheu, yn rhagolygon masnachol y parthau hynny. Sicrheir ni hefyd fod ffordd y gall mèn ac ychain ei thramwyo wedi ei hagor o'r parthau hynny i'r arfordir dwyreiniol,—i Zanzibar, drwy offerynoliaeth un Mr. Rogers; felly, fe welir fod darpariaethau lled helaeth er agor y cyfandir yn cael eu dwyn ymlaen yn y cyfeiriad hwn. Y mae y cenadaethau Ysgotaidd hefyd,—yr eiddo yr Eglwys Rydd a'r Presbyteriaid yn unedig,—wedi mabwysiadu llyn Nyassa fel maes eu gweithrediadau, ac eisoes wedi cario pethau ymlaen lawer ymhellach hyd yn nod na'r cenadaethau eraill yn y parthau gogleddol, ac ar y ffordd bellach i sefydlu tref a gorsaf lwyddiannus o dan yr enw *Livingstonia*.

Teyrnged anuniongyrchol o barch dynion i fawredd ysbryd David Livingstone ydyw yr awydd am roddi enwau ar bethau yn Affrica i barhau ei goffadwriaeth: fel hyn y gwneir â'r gŵr y myn y byd ei anrhydeddu. Gelwir cadwen o fynyddoedd uchelgrib yng nghymydogaeth llyn Nyassa yn fynyddoedd Livingstone; rhaid galw yr agerlong gyntaf a nofiodd erioed ddyfroedd Affricanaidd yr *Ilala*, er cof am y llecyn y bu y teithiwr farw ynddo; myn Stanley alw yr afon fawr Lualaba, yn afon Livingstone; a pha ryfedd os gelwir y sefydliad cyntaf yng nghanoldir Affrica ar yr enw Livingstonia? Pe yn fyw, ni fuasai neb yn teimlo y fath ddyddordeb yn llwyddiant y sefydliad hwn â'r teithiwr mawr ei hunan, ac ni fuasai yn gomedd iddo ddim yn ei feddiant, oddieithr ei enw; buasai ei orchwyledd yn sicr o beri iddo ymgilio oddiwrth bob anrhydedd o'r fath.

Modd bynnag, y mae y sefydliad hwn yn debyg o ddyfod yn ffaith fawr bwysig a rydd gyfeiriad newydd yn ddiamheu i ddyfodol Affrica; a thybiem nad allem wneyd gwell cymwynas â darllenwyr *Y Traethodydd* na'u cynnysgaethu â rhai manylion yn ei gylch.

Teimlir angen sefydliad o'r fath ar unwaith pan ddywedir fod tuag 20,000 o gaethion, bob blwyddyn, yn cael eu cludo i'r arfordir dwyreiniol yn unig; a dygir y rhan fwyaf o lennydd gorllewinol llyn Nyassa, a chludir hwynt dros y llyn mewn ysgraffau Arabaidd. Amlwg fod y penaethiaid brodorol o amgylch glannau y llyn hwn mewn brad-gytundeb â'r caethfasnachwyr Arabaidd; ac er gwaethaf gwyliadwriaeth Lloegr, a'r cytundeb rhwng y wlad hon â Sultan Zanzibar, eto ymddengys nad ydyw y cytundeb hwnnw yn cyffwrdd dim â'r fasnach dros y tir, ac yr anfonir miloedd o gaethion tua'r gogledd, i'w hallforio i gyflenwi marchnadoedd yr Aipht, Twrci, a Phersia. Rhaid i'r pennaeth brodorol gael llian a *beads*, ei hoff bethau; a chan nad oes ganddo unrhyw gyfleusdra arall i'w cael, nid oes ond ymosod ar ei gydfrodorion a'u cipio ymaith a'u cyfnewid gyda'r Arabiaid am ei hoff

nwyddau; a dyma, mae'n debyg, sydd yn cynnal y fasnach i fyny fel math o anghenrheidrwydd. Pe gallai ef a'i bobl gael eu nwyddau yn gyfnewid am nwyddau eu gwlad eu hunain, diamheu y gwelent yn fuan y fantais o hynny. Fel y mae, fe bryn yr Arabiaid gaethion âg un llaw, ac â'r llall prynant ifori; rhaid cael y caethion i gario yr ifori i'r arfordir, ac yno gwerthant y ddau. Unwaith yr agorir ffordd deg a manteisiol i ddwyn nwyddau y wlad, ar dir a dwfr, i'r porthladdoedd ar y glannau, ac y ceir masnach deg ynddynt, fe wywa y gaethfasnach yn ei gwreiddiau.

Darganfyddwyd llyn Nyassa gan Dr. Livingstone, yn y flwyddyn 1859, a daeth o dro i dro ar ei deithiau mor fynych at ei lannau fel y galwai y llyn "ei hen gartref." Ymddengys fod Livingstone wedi syrthio mewn cariad â'r syniad o gael agerlong i hwylio i fyny y Shirwa a'r Zambesi ac i lyn Nyassa, ac iddo wneyd ymgais i gludo un; ond methodd ei dwyn yn uwch na'r rhaiadrau mawrion sydd ar yr afon Shirwa, a elwir rhaiadrau Murchison. Tua phedair blynedd ar ddeg yn ol, dygwyd manteision llyn Nyassa fel lle i sefydlu gorsaf gyfunol i fasnachu ac i genadu i'r trigolion, o flaen Eglwys Rydd Ysgotland, gan y Parch. James Stewart, a chynnygiai ei hunan fyned allan i'r ymgyrch o geisio sefydlu un yno. Ni wrandawyd ar ei gais, y tro hwnnw, pa fodd bynnag, ac ymunodd yntau yn 1862 â Livingstone i archwilio y Shirwa a'r Zambesi. Yng ngauaf 1873—4, fe gymerwyd y peth i fyny gan Bwyllgor Cenadol yr Eglwys Rydd, ac awgrymai Dr. Stewart ar fod i sefydliad gael ei osod i lawr ar lannau llyn Nyassa i gael ei alw yn *Livingstonia*, a bod y Cadben Young o'r Llynges Frenhinol yn berson tra chymhwys i arwain yr ymgyrch. Meddai Young gryn brofiad o Affrica a'i helyntoedd; bu am amser maith yn gwasanaethu ar fwrdd y Gorgon, un o longau ei Mawrhydi ar orllewin Affrica; wedi hynny gyda Livingstone yn hwylio i fyny y Zambesi; ac yn 1867 efe a benodwyd yn flaenor ar yr hynt ymchwiliadol am Livingstone; felly fe gawsai gyfleusdra i ymweled â llyn Nyassa amryw

weithiau. Cymerwyd y peth i fyny gydag aiddgarwch, a thanysgrifiwyd £10,000 ar unwaith at y draul. Parotowyd agerlong fechan o ddur i Young, yn 50 troedfedd o hŷd, i gael ei thynnu yn ddarnau oddiwrth eu gilydd, a phob darn i fod yn gymhwys ddigon o faich i un dyn, fel y gellid ei chario heibio i'r rhaiadrau. Galwyd y llestr fechan, fel y crybwyllwyd, yn *Ilala*, er cof am y llannerch lle bu farw Livingstone. Ymadawodd y fintai ym Mai 1875, a buan y glaniasant wrth enau y Zambesi, yn barod am yr ymgyrch. Yma dodwyd yr *Ilala* wrth ei gilydd, a mordwyasant yn llwyddiannus hyd waelodion y rhaiadrau. Ymddyrchaif y rhai hyn fel grisiau uchel ar yr afon am bellder o tua 75 o filldiroedd, ac nid ydyw y disgyniad yn yr afon nemawr llai na 1,800 o droedfeddi yn y lle. Yr anhawsder ydoedd cael digon o gludwyr; ond o herwydd fod amryw Brydeinwyr wedi bod yn y parth hwnnw yn flaenorol, a bod Young ei hunan wedi bod, ac wedi gadael argraff bur ffafriol ar feddyliau y brodorion, llwyddodd Young i gael 800 o gludwyr, a chyda chymhorth y rhai hyn cludwyd yr *Ilala* mewn deng niwrnod i fyny heibio y rhaiadrau. Fe gludwyd yr holl ddarnau heb golli cymaint â hoelen, drwy ladrad na thrwy ddamwain; yr hyn a ystyriai Young yn fuddugoliaeth fawr o eiddo caredigrwydd a gonestrwydd ar y meddwl brodorol. Telid iddynt am eu llafur chwe' llath o lïan bob un, gwerth tua deunaw ceiniog o'n harian ni, a'u bwyd eu hunain; ac ystyrient y tâl yn berffaith ddigonol!

Am saith o'r gloch yn y boreu, Hydref 12fed, 1875, digwyddodd un o funydau mawr cyfandir Affrica,—dyna yr adeg yr holltwyd wyneb y llyn llydan hwn am y waith gyntaf erioed gan agerlong. Dyma fynediad ager,—y gallu sydd wedi gwneyd cymaint o'i ôl ar gyfandiroedd, wedi gwneyd cymaint er darostwng y bryniau a chyfodi y pantiau, wedi gwneyd cymaint yn ffafr masnach, gwareiddiad, a chrefydd,—am y waith gyntaf i'r perfedd-dir tywyll. Ni ddywedir i ni pa fodd yr edrychai y cawrfilod ar y newyddbeth hwn, na pha fodd

y teimlai yr afonfeirch mawrion oeddynt wedi cael y llynnoedd mawrion hyn, er creadigaeth y byd, iddynt eu hunain, a hwythau wedi eu llunio i chwareu ynddynt; ond mynegir i ni am fintai o Arabiaid Zanzibar, a safent gerllaw yn dystion o fynediad cyntaf yr agerlong i fewn i'r llyn, yr ysgydwent eu pennau yn dra arwyddocaol, gan ddeall yn ddiamheu fod blaen y cŷn wedi ei roddi i mewn yn hen adail bwdr y gaethfasnach, ac y deuai i lawr â'u nythod hwythau i'w chanlyn. Ond pa ryfedd; curer y duwiau fe gryn yr offeiriaid; felly tybient hwythau fod gobaith eu helw ar fyned i golli. Y mae llyn Nyassa yn 370 o filldiroedd o hŷd, ac yn meddu arfordir o tuag 800 o filldiroedd. Prysurodd Cadben Young, gyda'i lestr fechan, i wneyd archwiliad arno, er cael allan y llecyn mwyaf manteisiol i geisio planu y sefydliad newydd y daethai allan yn ei gylch. Gwahoddai rai o'r penaethiaid brodorol o gwmpas y llyn i dd'od i'w long, ond yr ydoedd yr Arabiaid wedi gwenwyno eu meddyliau ac wedi eu perswadio yr elai ysbrydion drwg i mewn iddynt ar ol dyfodiad y genadaeth i'r lle. Ar y fordaith gyntaf nid ymunodd â hwynt ond un o ddynion penaeth o'r enw M'Ponda, a bachgenyn o'r enw Wakotani a adawsai Dr. Livingstone yn y lle ar ei ymweliad yn 1865. Wedi penderfynu ar lecyn o'r enw Penrhyn Maclear fel lle i ymsefydlu dros ryw amser, penderfynodd Young fyned am fordaith o amgylch y llyn. Hawdd credu na wnaed o'r blaen erioed archwiliad mor drwyadl ar finion a chilfachau y llyn mawr hwn; a rhyfedd, yn wir, ydyw rhai o'r pethau a welwyd yn ystod y fordaith. Ymddengys fod y glennydd unwaith wedi bod yn dra phoblog, ond o herwydd ymgyrchoedd yr Arabiaid, a llwyth anwar a elwir y Ma Viti, gwelid llennyrch mawrion wedi eu diboblogi, a'r cnydau a'r pentrefydd wedi eu difrodi. Yn eu cyfyngder cariai y brodorion bridd i lechweddau creigiog uwchben y llyn lle nad ydoedd yn hawdd i'w gelynion ddyfod, ac wedi cario y pridd gyda chychod a'i gludo i fyny i ddannedd y creigiau, hauent yno eu hâd *cassava* ac *ŷd*, a thrwy ddirfawr drafferth cynnyrchent

felly ddefnyddiau cynhaliaeth. Mewn lleoedd eraill ceid nifer o'r pentrefi ar y dwfr, y crybwyllwyd am danynt yn barod. Adeiledir hwy yn gyffredin rhyw 300 neu 400 o latheni oddiwrth y lan, ac uwchben dyfnder o ryw 8 neu 12 troedfedd o ddwfr. Gyrir polion i lawr yn rhesau, ac ar eu penau sicrheir esgynlawr o goed, weithiau digon eang i ddal cynifer a chant o fythod! Diwylliant ychydig ar y glennydd gyferbyn; a chyda digon o bysgod yn y llyn, a phawb a'i gwrwgl ganddo i ffoi mewn perygl, y maent yn cadw corff ac enaid yn gymydogion, a hefyd yn cadw y teimlad hwnnw sydd mor ddwfn yn mynwes yr Affricaniad yn fyw,—y teimlad o ymlyniad wrth ei lannerch enedigol, ac wrth ei lwyth a'i deulu. Dychymyger y fath ddifrod a wneir gan drefniant o fath y gaethfasnach ymysg pobl y dywedir, gan deithwyr credadwy, ei bod yn ffaith fod llawer o honynt yn marw yn llythyrennol o dòr-calon pan eu symudir o'u cartrefi! Wrth ddarllen hanes y pentrefi hyn gallwn gasglu fod aml i *genius* naturiol yn mherfedd-dir Affrica; ac mai angen yw mam pob dyfais yno, fel yma. Darllennwn hefyd weithiau am ambell i bont grogedig gywrain sydd yno i groesi afonydd mawrion, yn dangos cymaint o fedr a dyfais, yn ol eu manteision a'u defnyddiau hwy, â dim a wnaeth Telford neu Stephenson.

Wedi bod yn hwylio o gwmpas llyn Nyassa tua'i ben gogleddol, dychwelodd yr *Ilala* yn ol i Benrhyn Maclear, ar ol mis o absenoldeb. Yr oedd yr amser mor fyr, a'r newyddion wedi bod mor brinion oddiyno er yr amser hwnnw, fel nad ydys yn gwybod pa beth a wnaed ymhellach er archwilio glannau y llyn. Ni chafwyd eto bob manylion o barth i'r afonydd sydd yn ymarllwys i'r llyn, neu a oes rhyw afon yn myned allan o hono heblaw y Shirwa,—yr afon y daethant i fyny iddo ar hyd-ddi. Galwai Livingstone ef yn "llyn yr ystormydd," ac yn ol tystiolaeth Cadben Young llawn haedda yr enw hefyd Un o'r pethau mwyaf aruthrol o fawreddus ydyw darlun syml morwr fel Young o ystorm o fellt a tharanau a'u goddiweddodd ar y llyn, a deuddeg o ddwfrbistylloedd

*(waterspouts)* yn eu hamgylchynu, a hwythau yn gorfod hwylio yn ofalus rhwng y colofnau anferth hyn o ddwfr, rhag, pe buasent yn dyfod ar eu traws, y buasent yn eu suddo i'r dyfnder. Amgylchynir glennydd y llyn tua'r gogledd gan fynyddoedd uchel a elwir erbyn hyn gan Ewropeaid yn fynyddoedd Livingstone, er cof am eu darganfyddwr. Disgynant yn sydyn, ac nid yn raddol, i'r llyn, yr hyn a brawf fod y llyn yn ddwfn anarferol. Felly, yn ol yr arbrofion a wnaeth Young, y mae; ac awgryma ei ddyfnder fod gwirionedd yn y ddamcaniaeth y cyfeiriwyd ati yn barod o barth ei darddiad, sef, ei fod yn gorwedd mewn hollt anferth a wnaed gan ddirgryniadau tanddaearol yn hanes y cyfandir.

Wedi clywed am lwyddiant a rhagolygon y sefydliad newyddanedig—y *Livingstonia,* darfu i'r Eglwys Ysgotaidd anfon yn fuan ail fintai o ddynion i adgyfnerthu y gyntaf. Heblaw Cadben Young, nid oedd y fintai gyntaf yn cynnwys namyn chwech o ddynion; ond yn eu mysg yr oedd dynion penderfynol a defnyddiol, a phob un o honynt, ys dywedai yr hen bobl, â chrefft yn ei law. O honynt yr oedd un yn ôf, arall yn saer, arall yn beiriannydd, un yn amaethwr, a'r llall yn forwr; ac yn ddiweddaf, ond llawn mor werthfawr a'r cyfan, Dr. Robert Laws, cenadwr meddygol. Yn adgyfnerthiad iddynt fe anfonwyd ym mis Mai, 1876, genadwr meddygol arall, un amaethwr yn chwaneg, gôf a pheiriannydd hefyd, ac un gwehydd. Yr ydym wedi cymeryd y drafferth o gofnodi, fel hyn, y manylion am ein bod yn cwbl gredu y bydd presenoldeb y dynion hyn yn ddechreu pennod newydd yn hanes Affrica; a buom yn petruso peth na ddylasai eu *henwau* yn gystal a'u *hanes* gael eu hanfarwoli ar ddalennau *Y Traethodydd.*

Araf ar y dechreu ydoedd y trigolion i ymuno nac i ymwneyd nemawr â'r sefydliad newydd; ond yn raddol daethant yn fwy agos a chyfeillgar. Ceir engreifftiau yn barod o gaethion, pan o herwydd gwendid yn methu dal i fyny i ganlyn y fintai gaethfasnachol, yn cael eu hanfon

i ymofyn nodded ac ymgeledd yn y sefydliad. Pan y daeth y newyddion diweddaraf yr oedd eisoes rhyw chwe' mintai wedi ymuno â'r sefydliad, yn amrywio, bob mintai, mewn rhifedi, o un i fyny i ddau ar hugain. Hanes y fintai o ddau ar hugain sydd fel y canlyn: Ar ganol nos rywbryd, daeth un o'r brodorion i'r sefydliad ar ddarn o hen ysgraff braenllyd, mewn cyflwr tra thruenus, gan ddywedyd fod mintai o Arabiaid wedi glanio mewn lle o'r enw Pemba, a bod tua phedwar ugain o'r trigolion, o herwydd arogli perygl, wedi dianc mewn pump o gychod. Hwyliodd pedwar o'r cychod hyn gyda'r glannau; ond anturiodd y pumed groesi y llyn, ac wrth groesi tarawodd yn erbyn math o ynysig lom, ac aeth yn ddrylliau. Yno y bu y dynion yn byw am ddyddiau ar wreiddiau a mwyar; o'r diwedd anturiodd y dyn hwn ar ddernyn o'r hen gwch, gan geisio cyrhaedd Livingstonia. Llwyddodd i lanio yn ddiogel, a mynegodd ei ystori. Cychwynodd yr *Ilala* yn union tua'r llecyn, ac erbyn cyrhaedd y fan, gwir oedd y cyfan; cafwyd hwynt, yn feibion, merched, a phlant, yn disgwyl am danynt yn awyddus ar fin y dwfr, ac mewn cyflwr enbyd. Cymerwyd hwynt ar unwaith ar y bwrdd, gan eu hymgeleddu a'u porthi, ac ni chofiwyd dim am y *Fugitive Slave Circular*, o anfarwol goffadwriaeth, y clywyd cymaint o son am dano dro yn ol yn Lloegr yma, hyd onid oedd Dr. Stewart yn eistedd i lawr i ysgrifennu yr hanes. Ymunodd y fintai â'r sefydliad, a dyna lle y maent yn awr yn mwynhau ei nawdd. Yn raddol, fel hyn, fe enillir ymddiried y brodorion yng nghywirdeb dibenion y rhai sydd gyda'r sefydliad. Ni chaniateir i neb ddiogi a ymuno âg ef; rhoddir hwy i weithio mewn gwneyd ffyrdd, adeiladu tai, neu drin y tir. Mae yno ysgol lwyddiannus eisoes ynglŷn â'r sefydliad, a chynnelir moddion crefyddol yn rheolaidd yn y lle. Gellir gweled, ar unwaith, fod yr orsaf yn ateb diben ei sefydliad, pan y dywedir, yn lle bod o 10,000 i 20,000 o gaethion bob blwyddyn yn croesi llyn Nyassa, na chroesodd, drwy gydol y flwyddyn 1876, ond yn unig *ddeunaw ar hugain!*

Fe faddeua darllenwyr *Y Traethodydd* i ni am gymeryd cymaint o ofod gydag adroddiad syml o ffeithiau; ond ein hateb yw, fod hyn yn hollol gydnaws âg apostoliaeth *Y Traethodydd* o'i ddechreuad. Tra yn ymdrin â phynciau dyrus duwinyddiaeth ac athroniaeth, gwleidyddiaeth a moesau, nid ydyw un amser wedi anghofio dyrchafu ei lef yn erbyn trais a chaethiwed, gartref ac oddicartref. Felly, tybiem yn sicr y byddai adroddiad diaddurn o'r ffeithiau blaenorol yn hanes cyfandir Affrica yn foddion i ennyn zel yn erbyn y gaethfasnach, ac i dynnu sylw ein darllenwyr at ran o'r ddaear sydd, yn ol pob tebyg, i chwareu rhan bwysig iawn yn nyfodol y byd. Credwn fod eto heb eu geni sefydliadau a symudiadau mawrion, dyngarol a Christionogol, sydd i daflu eu dylanwad ar hŷd a lled y cyfandir hwn, ac i ddwyn ffrwythau toreithiog o gysuron a rhinweddau. Credwn, hefyd, fod dyfodol mawr yn aros y Negroaid, cenedl sydd yn meddu y fath ystorfeydd mawrion o deimladau puraf y ddynoliaeth, ond erioed heb eu sancteiddio; cenedl y mae eu henaid yn dygyfor gan gerddoriaeth, a'r fath leisiau i'w ddwyn allan; cenedl sydd yn reddfol grefyddol, mor barod i dderbyn argraffiadau, ac fel pe byddai addoli rhywun neu rywbeth yn ail natur iddi,—y mae yn anhawdd gennym feddwl nad ydyw cenedl felly, a chyfandir ei chartref hefyd, wedi eu bwriadu i rywbeth heblaw bod yn wasarn i'r dyn gwyn, ac yn gymynwyr coed a gwehynwyr dwfr i genedloedd y ddaear. Bydded ein darllenwyr yn llawn llygaid: yr ydym yn llwyr gredu nad ydyw yr hyn a wnaethpwyd yn Affrica namyn dechreuad bychan,—fod llu i ganlyn; ac nis gallwn lai na dychymygu fod yr Hwn a ddywedodd y geiriau hynny—"A defaid eraill sydd gennyf, y rhai nid ynt o'r gorlan hon," a'r hwn y mae y geiriau hyn ar garreg ei fedd ym Mynachlog Westminster,—Livingstone a'i Waredwr,—yn cydsyllu, dros ymylon y nefoedd, ar y gweithrediadau hynny gyda boddhad sydd yn melysu, iddynt hwy, ddedwyddwch paradwys ei hunan.

# DR. LIVINGSTONE.

## LLYTHYR I.

DAVID LIVINGSTONE wedi marw! Ydyw, y mae yn rhy wir! Ar ol hir deithio, y mae efe wedi teithio y daith ddidroi yn ol; ar ol chwilio a theithio mannau a llwybrau anhygyrch, fe deithiodd y ffordd na theithiodd o'r blaen. Gyda dirgelwch tarddle y Nilus yn eiddo iddo, dichon ei fod wedi croesi afon ddyfnach a dieithrach, â'r dirgelwch gydag ef. Ydyw, y mae Livingstone, un o eneidiau mwyaf a dewraf y ganrif hon, wedi syrthio yn ferthyr i wyddoniaeth, ac yn neillduol i'r awydd angerddol a deimlai am wenuthur llesad i *ddyn*, gan nad pa un ai yn dymorol ai yn ysbrydol yr edrychai ar ddyn; ac y mae ei gwymp yn ychwanegu un at restr arwyr Cristionogaeth, ac yn esiampl i'r byd.

Bwriadwn, mewn cyfres o lythyrau, byrion o angenrheidrwydd, roddi i ddarllenwyr *Y Drysorfa* ryw grynodeb o'i fywyd a'i anturiaethau, a threm ar faes ei lafur.

Dosbarthiad hanner sarug ar ddynion ydyw eu rhannu i ddau ddosbarth, sef dynion mawr distaw, a dynion bychain trystfawr,—arwyr tawedog, ac unigolion baldorddus. Dyma hoff ddosbarthiad Carlyle, a'r llu o efelychwyr sydd yn ei ddilyn. Ond er ei fod yn cyfodi oddiar chwerwedd ysbryd at ystâd bresennol chwaeth cymdeithas, eto nid ydyw y dosbarthiad yn hollol amddifad o sail. A chaniatau y dosbarthiad hwn, hawdd penderfynu i ba ddosbarth y perthynai David Livingstone. Un o'r arwyr distaw ydoedd efe. Fe âi ymlaen heb gymaint a chofio fod enwogrwydd i'w gyrhaedd. Yr oedd cymysgedd o'r mawreddog a'r stoicaidd yn ei

waith yn gallu treulio blynyddoedd i deithio glannau y Congo a'r Zambesi, ac wedi hynny olrhain gwreiddiau a ffynnonellau y Nilus, heb gymaint ag anfon llythyr i'r cwr hwnnw o'r byd a elwir yn wareiddiedig. Gosodwyd yr anialwch yn dŷ iddo, a'r diffeithwch yn drigfa. Yr oedd yn myned â'i fywyd yn ei law i ganol anwariaid, ymgodymai â llewod yr anialdir, ymdawelai o dan luchedenau yr hinsawdd, a'r cwbl yn berffaith *ddistaw*. Ni theithiai er mwyn ysgrifennu hanes ei deithiau; nid oedd *bookmaking* yn grefft a ddysgasid ganddo; na, câs beth Livingstone oedd ysgrifennu, a chwynai yn dost o herwydd anystwythder ei arddull. *Creu* hanes, ac nid ei *ysgrifennu*, oedd ei apostoliaeth ef. Dyma amheuthyn ar y ddaear, arwr heb yr un tafod ganddo. Ni chymerai arno wrando ar glodydd nac athrod bagad o ddysgedigion ym Mhyrdain,—daearyddwyr yr esmwythfeinciau, fel eu galwyd—gan gofio nad ydoedd na'u clod na'u cymeradwyaeth o nemawr bwys iddo ef tuag at gyrhaedd yn llwyddiannus yr amcan oedd ganddo mewn golwg.

Dosbarthiad arall mwy penodol o *ddysgedigion* y byd ydyw i ddau ddosbarth, sef dynion ffeithiau, a dynion meddyliau, y naill yn ddarganfyddwyr yn y byd allanol, a'r lleill ym myd y meddwl. Helaetha un dosbarth derfynau gwyddoniaeth naturiol, a gwna y llall yr un peth gyda gwyddoniaeth ddeallol a moesol. Fel y mae y byd allanol yn anhebgorol angenrheidiol i fyd y meddwl, felly dibynna y ddau ddosbarth hyn o enwogion ar eu gilydd, a gwasanaethant eu gilydd. Y mae y dyn sydd yn ehangu terfynau ein gwybodaeth ddaearyddol yn gwasanaethu i'r athronydd deallol a moesol, i'r graddau ag y mae yn dwyn ffeithiau newyddion o berthynas i *ddyn* i'r golwg; canys dyn ydyw testyn efrydiaeth yr athronydd meddyliol, a *daear dyn* ydyw maes darganfyddiadau yr athronydd naturiol. Perthynai Livingstone i ddynion ffeithiau; a ffeithiau o berthynas i ddynoliaeth oedd testynau pennaf ei ddarganfyddiadau. Nid peth damweiniol ydoedd ei fod yn talu cymaint o sylw i gyflwr cymdeithasol ac ysbrydol y gwahanol

lwythau anwar yr ymwelai â hwy; ac mor nodweddiadol oedd ei ateb i'r gennad a anfonodd Arglwydd Palmerston ato, y pryd hwnnw yn brifweinidog Prydain, i ofyn beth a gai ei arglwyddiaeth ei wneyd erddo. Yr ateb oedd, iddo, os gwelai yn dda, arfer ei ddylanwad i ddarostwng y gaethfasnach, ac i agoryd y porthladdoedd Portugaidd ar dueddau Affrica. Dyna David Livingstone i'r byw! nid dim iddo ei hunan na'i deulu oedd ei gais, ond rhywbeth i Affrica, a rhywbeth i *ddynion* Affrica.

Ie, ond dywedyd yr oeddym mai dyn *facts* yn fwy na dyn *ideas* ydoedd Livingstone. Y mae rhai cenedloedd wedi cynyrchu mwy o un dosbarth o enwogion, ac eraill fwy o'r llall. Dichon fod Ffrainc wedi cynyrchu mwy o ddynion ffeithiau. Yno fe geir cyfartaledd mwy o anturiaethwyr o bob math nag o athronwyr meddyliol, tra y mae Germany, o'r tu arall, wedi cynyrchu mwy o ddynion *ideas*. O Ffrainc, hyd yn ddiweddar, y ceid y rhan fwyaf o ddarganfyddwyr seryddol a daearyddol, ond o Germany y ceid yr athronwyr meddyliol a duwinyddol. Ym Mhrydain ceir cyfartaledd da o'r naill a'r llall. Edrycher i unrhyw gyfnod yn hanes Lloegr—yn hanes enwogion y cyfnod hwnnw fe geir nifer dda o ddarganfyddwyr seryddol, morwrol, a daearyddol, fel dynion ffeithiau ar un llaw, a llu o feirdd, athronwyr, a duwinyddion, fel dynion meddylddrychau ar y llaw arall. Hapusrwydd gwlad ydyw meddu cydbwysedd da o'r ddau ddosbarth hyn. Gwareiddiad unochrog iawn a fuasai yr eiddo Lloegr heddyw oni bae am ddylanwad ei seryddwyr, ei mordeithwyr, a'i daearyddwyr: Cook, Anson, Herschel, &c., yn gystal a'i beirdd, athronwyr, a duwinyddion: Shakespeare, Milton, Locke, Bacon, Owen, Howe, &c. Un o beryglon y dyddiau diweddaf hyn yn Lloegr ydyw gormod o sylw i ffeithiau gwyddoniaeth, ar draul esgeuluso ffeithiau mawrion byd ysbryd dyn. Pâr hynny i'r oes golli llawer o'i hysbrydolrwydd, a bydd yn fantais i ryw fath o amheuaeth ymwthio i mewn, yn cyfodi oddiar olwg rhy *faterol* ar bethau. O'r tu arall,

arwydd dda ar Germany ydyw fod yno fwy o sylw nag erioed yn cael ei dalu i bob math o ddarganfyddiadau, yn neillduol darganfyddiadau daearyddol; ac nid cyd-ddigwyddiad dibwys ydyw fod un o'r llyfrau galluocaf a ysgrifenwyd erioed ar ganolbarth Affrica, newydd ddyfod o'r wasg, a bod corff un o ddarganfyddwyr hynotaf Affrica yn cael ei gario tua "thŷ ei hir gartref" yn Lloegr,—y ddau amgylchiad tua'r un amser. Y llyfr ydyw gwaith teithiwr Germanaidd enwog, y Dr. Schwimfurth, a'r corff ydyw gweddillion marwol yr Ysgotiad enwog sydd yn destyn y llythyrau hyn.

Ond wele ni ymhell oddiwrth ein testyn, ac eto, nid yn hollol felly, canys credwn y gall yr ychydig sylwadau uchod wasanaethu fel math o arweiniad i ychydig o hanes Livingstone. Ceisiwn o hyn i ddiwedd ein llythyr roddi crynodeb o'i fywyd cyn ei fynediad cyntaf i Affrica. Goddefir i ni fod yn fŷr ar hynyma, am nad ydyw llênyddiaeth Cymru yn hollol amddifad o'i hanes yn ystod y cyfnod hwn. Ganwyd ef mewn lle o'r enw Blantyre, ar lanau yr afon Clyde yn yr Alban, tua'r flwyddyn 1817. Hanai ei deulu o fysg Celtiaid yr Ucheldiroedd; ac ymddengys fod y cŷff teuluaidd hwn, fel llawer o'r un genedl, yn llawn rhuddin, yn cynnwys ynddo ddynion anghyffredin. Collwyd peth o waed y teulu ym mherson hen daid i'r teithiwr, ar faes Culloden, lle y cwympodd wrth amddiffyn yr olaf o linach y Stuarts. Yr oedd ei fab, a thaid y Doctor, yn dyddynwr bychan yn Ulva, un o ynysoedd yr Hebrides. Ymddengys fod y taid yn ffurfio dolen bwysig yng nghadwen achyddol y teulu; a thebyg i'r teithiwr dyfodol dderbyn nid ychydig o ddylanwad oddiwrtho. Perchid ef yn gyffredinol gan ei gydynyswyr o herwydd ei onestrwydd anhyblyg, yr hwn rinwedd oedd yn deuluaidd, canys rhedai traddodiad yn y teulu fod un o'i henafiaid, pan ar ei wely angeu, wedi galw y gwahanol aelodau at eu gilydd, a gadael iddynt gynnysgaeth ardderchog yn y ffurf o arwyddair ag oedd yn codi o brofiad un wedi ymladd âg anhawsderau bywyd, ac ar fyned i fwynhau

mwynderau bywyd uwch: "*Byddwch onest.*" Modd bynnag, nid oes eisieu gwell esboniad ar yr arwyddair hwn na'r bywyd sy'n ddiweddar wedi syrthio yn aberth i hinsawdd Affrica. Yr oedd y taid hefyd yn hanesydd dihafal, a'i gôf yn ystorfa braidd o bob traddodiad a hanesyn a addurnai goffadwriaeth ei genedl. Nid anfynych y casglai cynnulliad lliosog o gymydogion, ar hirnos gauaf, i wrando arno yn adrodd helynt ei gydgenedl, a'u hanturiaethau mewn gwledydd tramor; ac ar achlysuron felly cenid caneuon Gaelaidd, a gyfansoddwyd, yn ol traddodiad, gan Ysgotiaid pan yn gaethion yn nwylaw y Tyrciaid. Llawer gwaith y bu David ieuanc, pan yn fachgen, yn gwrandaw ar ei daid gyda'r un awyddfryd ag y gwrandawai ar ystorïwyr Affrica wedi hynny; a diamheu fod addysgiadau a thraddodiadau yr hynafgwr yn rhan arbennig yn ffurfiad ei gymeriad, ac wedi cynnorthwyo i greu ynddo y syched angerddol hwnnw am deithio a'i gwnaeth mor enwog. Cyn hir, pa fodd bynnag, gorfu i'r taid adael ei ynys enedigol; ac er mwyn ei amgylchiadau, a'i feibion, ymsefydlodd yn agos i weithfaoedd cotwm Blantyre, yng nghymydogaeth Glasgow. Yma y casglwyd ef at ei dadau, wedi bod yn llenwi lleoedd o ymddiried er mantais iddo ei hunan ac ennill i'w feistriaid. Yn ystod y rhyfel â Ffrainc, ymunodd ei holl feibion â'r fyddin, ond tad David Livingstone; dyn oedd efe o dueddiadau llonydd; ac efe a arosodd gartref, gan ennill ei gynhaliaeth ei hun a'i deulu drwy gario ymlaen fasnach fechan yn ardal y melinau cotwm. Bu farw y tad yn Chwefror 1856, "pryd," ebe y teithiwr, "yr oeddwn ar fy ffordd adref islaw Zumbas, yn addaw i mi fy hunan y pleser o gael adrodd iddo fy nheithiau."

Am hanes y cyfnod hwn, nis gallwn ei adrodd yn well nag yn ei eiriau ef ei hun: "Pan tua deg oed, dodwyd fi yn y felin gotwm er mwyn i mi, drwy fy enillion, helpu fy mam. Prynais 'Elfennau Gramadeg Lladin,' gyda rhan o gyflog yr wythnos gyntaf; ac efrydiais yr iaith honno am flynyddoedd mewn ysgol hwyrol a gyfar-

fyddai rhwng 8 a 10 yn yr hwyr. Dilynwn y rhan eiriadurol o fy efrydiau hyd ddeuddeg o'r gloch, os na byddai i fy mam aflonyddu arnaf, a chipio y ganwyll a'r llyfrau oddiarnaf. Byddwn yn y weithfa erbyn chwech y boreu, ac yno hyd wyth y nos, oddigerth yr amser a gawn i gael boreufwyd a chiniaw. Fel hyn darllenais amryw o'r awduron clasurol; a medrwn ddarllen Virgil a Horace yn well yn un-ar-bymtheg nag y medraf yn awr. Y pryd hyn darllenwn bob peth y deuwn ar ei draws, oddigerth ffug-chwedlau, a hynny gyda'r awch mwyaf. Fy mhrif bleser oedd darllen gweithiau gwyddorol a hanes teithiau, er y buasai fy nhad, gan gredu yr hyn a gredid yn gyffredinol yn ei amser ef, fod gwyddoniaeth yn elyniaeth i grefydd, yn hoffi yn fwy fy ngweled yn darllen y 'Cwmwl Tystion,' neu 'Bedwar Cyflwr Dyn' gan Boston. Torodd yr anufudd-dod allan yn wrthryfel cyhoeddus o'm tu i, a'r achlysur diweddaf i mi gael fy fflangellu ydoedd am i mi wrthod darllen 'Cristionogaeth Ymarferol,' gan Wilberforce. Parhaodd yr annhueddrwydd hwn at ddarllen gweithoedd athronyddol sychion am flynyddoedd ar ol hynny; ond fe'i gwrthweithid drwy i mi ddyfod o hyd i weithoedd y clodfawr Dr. Dick, a chael ynddynt fod crefydd a gwyddoniaeth mor bell o fod yn groes i'w gilydd fel yr oeddynt o'r gwasanaeth mwyaf y naill i'r llall."

Yr oedd teimladau crefyddol ac argyhoeddiad y fath un â Dr. Livingstone yn werth ei gefnogi. Dyma baragraph ganddo ef ei hun ar y pwnc hwn eto: "Cymerodd fy rhieni lawer o drafferth i blannu athrawiaethau Cristionogaeth yn fy meddwl pan yn dra ieuanc; ond bûm, am amser, heb ddyfod i deimlo yn wirioneddol fod eisieu cymhwysiad personol at fy nghalon o ddarpariaethau yr iachawdwriaeth drwy Grist. Pan ddaeth y cyfnewidiad, yr ydoedd fel pe tybid gwellhâd cyflawn disymwth un o 'ddallineb lliwiau.' Darfu i'r maddeuant rhad a gynnygir yn y Beibl dynnu allan deimladau cryfion o gariad ato Ef yr hwn a'n prynodd ac a'n golchodd yn ei waed; ac y mae fy holl fywyd ar ol hynny

wedi cael ei lywodraethu i ryw fesur gan ystyriaethau o rwymedigaeth iddo. Yng ngrym y gwres a gynnyrchid gan Gristionogaeth, penderfynais gysegru fy mywyd i ysgafnhau beichiau y ddynoliaeth. Tra yn troi y peth yn fy meddwl, tybiais y buasai bod yn flaen-bartowr *(pioneer)* Cristionogol yn China yn arwain i lesau rhai parthau o'r ymherodraeth fawr honno; felly, penderfynais geisio cyrhaedd addysg feddygol i gymhwyso fy hunan at yr anturiaeth."

Yr amser yma, gan gymaint ei awydd am wybodaeth, efe a ddarllenai ymhell i'r nos, ac hefyd tra gyda'i waith. Yn y weithfa daliai y llyfr ar y droell wau fel y gallai gipio brawddeg yn awr a phryd arall. Ni wyddai David Livingstone y gwehydd beth oedd ystyr y gair methiant, mwy nag y gwyddai David Livingstone y teithiwr wedi hynny beth oedd ystyr y gair ofn. Pan yn bedair ar bymtheg oed, cafodd ychydig o godiad yn ei gyflog, yr hyn a'i galluogodd i gael gwell manteision addysg. Gweithiodd yn yr hâf fel y wenynen; ac yn y gauaf efe a âi i Glasgow i *attendio* dosbarthiadau meddygol; a chafodd yno hefyd y fantais o ddilyn cwrs o ddarlithiau duwinyddol gan Dr. Wardlaw. Ni dderbyniodd yr un ffyrling o gymhorth gan neb; a buasai wedi cyflawni ei amcan o fyned allan i China ar ei gyfrifoldeb ei hun, oni bae i rai o'i gyfeillion ei annog i ymuno â Chymdeithas Genadol Llundain, yr hyn a wnaeth. Ymddengys iddo gymeryd at y gymdeithas hon o herwydd ei chymeriad ansectaraidd, fel y tybiai efe; "nid ydyw yn anfon allan nac Esgobyddiaeth nac Annibyniaeth na Phresbyteriaeth, ond yn unig efengyl Crist, i'r paganiaid." Yr oedd y *programme* hwn yn cytuno yn hollol â'i olygiadau ef; ond ergyd drom i annibyniaeth ei ysbryd ef oedd cynnyg ei wasanaeth i neb rhyw gymdeithas o ddynion, a mwy na hynny gweithredu dan eu nawdd ar ol hynny. Dyma un o dramgwyddiadau pennaf ei fywyd: ei annibyniaeth ysbryd; ac er i'w gysylltiad â'r Gymdeithas Genadol uchod fod yn bob peth dymunol, eto dygodd ei

annibyniaeth ef i wrthdarawiad anhyfryd, tua diwedd ei oes, â'r Gymdeithas Ddaearyddol Freiniol. Pan wedi ei drwyddedu fel aelod o'r Gymdeithas Feddygol, a phob peth yn barod ar gyfer ei ymadawiad, fe dorodd rhyfel allan yn China; ac am yspaid fe ymdawelodd, a'r diwedd fu rhoddi pob meddwl am China i fyny. Ar ol ychwaneg o addysg dduwinyddol, a thrwy fod ei fryd wedi ei droi at Affrica drwy offerynoliaeth yr hanes am lafur Moffat, efe a benderfynodd fyned allan yno; ac yn y flwyddyn 1840, wedi mordaith o dri mis, cyrhaeddodd Cape Town. Yno y gadawn ei hanes hyd ein llythyr nesaf. Yn y cyfamser, cyn y cawn gyfleusdra i anerch darllenwyr *Y Drysorfa* eto, disgwylir y bydd ei gorff wedi cyrhaedd Lloegr; a hapus ydyw meddwl fod bedd wedi ei gymhell iddo, heb ei ofyn, ym Mynachlog Westminster, hen argelfa ardderchog llwch dewrion Prydain. Os felly fydd, mor odidog y cymysga ei lwch gyda'r eiddo beirdd, athronwyr, milwyr, a llenorion mwyaf yr oesoedd; ac iddo ef mor felus fydd gorphwys! "Yno y gorphwys y rhai lluddedig."

LLYTHYR II.

Gadawsom goffadwriaeth y dyn hynod hwn y tro diweddaf ar ei laniad cyntaf yn Affrica, yn y flwyddyn 1840. Dychymyger y llencyn ieuanc pump ar hugain oed yn dodi ei draed gyntaf ar gyfandir ei fabwysiad! Pa deimladau, ac yn neillduol pa *benderfyniadau*, a ddistaw ymlechent yn ei fynwes! Y mae ei hanes yn cychwyn ei yrfa yn Affrica yn engraifft arbennig o'r gwirionedd na fydd rhagluniaeth byth yn ddiffygiol o'r offerynau priodol i gyflawni ei gwaith.

Bu cyfandir Affrica yn hynod o'r dieithr am oesau i'r rhan wareiddiedig o'r byd gorllewinol. Pan yr oedd gwareiddiad â'i gartref yn y dwyrain, mae yn wir fod rhyw rannau o'r cyfandir yn hysbys y pryd hynny. Yno yr oedd Ethiopia a'r Aipht, Carthage, ac Alexandria. Yn hen hanesyddiaeth y byd yr oedd Affrica yn enwog— y lle y bu gallu Rhufain a Groeg yn eu tro yn llywodraethu dan Alexander, Scipio, a Caesar. Yno yr oedd prif ystorfa masnach y dwyreinfyd ar ol cwymp Tyrus, a phrif drysorgell lênyddol y byd o dan y Ptolemeaid. Eto yr oedd yn y canolbarth, hyd yn oed y pryd hwnnw, diriogaeth o filiwnau o filldiroedd ysgwâr heb i droed yr un teithiwr ei gyffwrdd, nac i lygaid y byd gwareiddiedig o gwbl ddisgyn arno. Darfu i wareiddiad dwyreiniol wneyd rhyw gymaint er ei archwilio allan; ond yr ydoedd yn ymosod ar y dirgelwch bob amser o du dwyreiniol y cyfandir. Tarddiad y Nile ydoedd yn cynhyrfu chwilfrydedd yr hen fyd yn barhaus, ac nid hawdd penderfynu pa mor bell yr aeth ei ddarganfyddwyr mewn chwilio allan ei tharddle. Modd bynnag, y mae yn amlwg na ddarfu i'r teithwyr dwyreiniol olrhain ond cŵr bychan, mewn cymhariaeth, ar ben dwyreiniol Affrica. Pan dreiglodd gwareiddiad tua'r gorllewin, un o'i ffrwythau amlwg ydoedd ysbryd ymchwilgar ymhob cylch; ac ni bu y byd gorllewinol mewn un modd yn fŷr o deithwyr a darganfyddwyr.

Fel y mae swyn yn wastad o gwmpas yr anadnabyddus, felly yr oedd perfedd-dir Affrica yn cadw y byd yn effro yn barhaus, ac eto yn herio pob medr i'w gael allan. Fe ymosodwyd ar y gwaith o archwilio Affrica o *bob pwynt* gan y teithwyr gorllewinol, ac nid o du y dwyrain yn unig, fel y gwnaethid gynt. Anturiodd Bruce tua tharddiad y Nile o'r dwyrain, Mungo Park o'r gorllewin, ac yn olaf, nid y lleiaf, dyma Livingstone yn gweithio ei ffordd i ganol y cyfandir o'r dê a'r dêddwyrain. Dyma, digon tebyg, "y tri chedyrn cyntaf" fel darganfyddwyr Affricanaidd.

Darfu i'r cysylltiad a fodolai rhwng Livingstone âg Affrica barhau yn lled ddifwlch er adeg ei diriad cyntaf ym Mhenryn Gobaith Da yn 1840, hyd ei farwolaeth ddiweddar yng nghymydogaeth Llyn Bangweleo. Dichon, er hynny, y gwasanaetha y dyddiadau canlynol fel math o orsafau i ni tra yn olrhain ei hanes yn y llythyrau hyn. Y mae ei gysylltiad âg Affrica yn rhanedig i dair rhan, yn ol nifer ei hyntoedd i'r cyfandir hwnnw. Cyrhaedda ei arosiad cyntaf yn Affrica o adeg ei diriad yn 1840 hyd 1856, cyfnod o un mlynedd ar bymtheg. Yn ystod yr arosiad hwn y gwnaeth ei daith fawr, yn gyntaf i fyny o'r deheu i'r canolbarth, yna ymlaen oddiyno tua'r gorllewin, hyd nes cyrhaedd glan y cyfandir yn y cyfeiriad hwnnw ym mhorthladd Loanda, ac oddiyno yn ol, ar hyd agos yr un ffordd, i'r canolbarth drachefn, ac o'r canolbarth hyd y lan ddwyreiniol yn Quilimane. Hyd nes y ceir hanes ei deithiau diweddaraf oll, fe erys y daith hon yn un o brif orchestion ei oes. Wedi dyfod adref i Loegr, a threulio y flwyddyn 1857 yma, fe gychwynodd ar ei ail ymgyrch yn 1858 i chwilio glanau y Zambesi a'r Shirwa, ac ymweled â llyn Nayassa; ac yn 1864 dychwelodd i Loegr. Yn y flwyddyn 1865, cychwynodd drachefn o Zanzibar, porthladd ar lan ddwyreiniol y cyfandir, am y perfedd-dir—i gyfeiriad gwreiddiau a ffynnonellau y Nilus. Ymhen tua dwy flynedd taenid y newydd ei fod wedi ei ladd; ond gwrth-ddywedwyd yr adroddiad hwnnw yn effeithiol cyn

pen y flwyddyn trwy dderbyniad newyddion oddiwrtho ef ei hunan. Bu ei dynged yn amheus am flynyddoedd ar ol hynny, hyd nes ei cyfarfyddwyd ac ei gwaredwyd yn Ujiji ar y 10fed o Dachwedd, 1871, gan y Cymro Americanaidd, John Rowland, neu fel y dewisa efe ymgyfenwi, H. M. Stanley. Wrth hyn gwelir mai y *prif bwyntiau* yn ei hanes ydynt o 1840 hyd 1856, yspaid o un mlynedd ar bymtheg, tymor ei hynt gyntaf; o 1858 hyd 1864, yspaid o chwe' mlynedd, tymor ei ail hynt; o 1865 hyd adeg ei farwolaeth, ysbaid o 8 mlynedd, mwy neu lai, a chyfnod ei ymgyrch ddiweddaf oll. Buddiol fyddai i'r darllennydd gadw golwg ar y rhaniadau hyn, gan y byddant o hwylusdod mawr i ni wrth ddilyn ei hanes.

Yn y sylwadau hyn cymerwn yn ganiataol gydnabyddiaeth y darllennydd i ryw fesur â daearyddiaeth Affrica. Dymunol fyddai iddo gymeryd yn ei law barthlen *(map)* o'r cyfandir, a gofaled am geisio yr un *ddiweddaraf* y gall osod ei law arni, canys y mae Affrica, yn anad un ran o'r byd, â'i barthlenau yn gwahaniaethu yn ol fel ei darganfyddir ef. Wrth edrych arno ar y *map*, fe wêl y darllennydd fod y cyfandir yn cael ei amgylchynu o'r tu deheuol gan y cefnfor deheuol, o'r gogledd gan Fôr y Canoldir, o'r gorllewin gan y Werydd, ac o'r dwyrain gan y Môr Coch, a'r Cefnfor Indiaidd. O ran *ffurf*, gellid tybio y cyfandir yn ddernyn tair onglog o ddaear, a bron cyfartal-ochrog hefyd, gan mai y pellder o Benrhyn Gobaith Da ar ei eithaf deheuol hyd Fôr y Canoldir ar y tu gogleddol ydyw 5,000 o filldiroedd, tra nad ydyw ei lêd o Benrhyn Verde ar ei eithaf gorllewinol hyd Benrhyn Juardafni ar y tu dwyreiniol ond tua 300 o filldiroedd yn *llai* na'r hŷd.

Yr oedd Livingstone cyn ei laniad yn Affrica wedi ei gynhyrfu gan yr hanesion a ddarllenasai am lafur a llwyddiant Robert Moffat, y cenadwr llwyddiannus ymhlith y Bechuaniaid, ac felly fe benderfynodd yntau ymgysylltu âg ef yn ei lafur. Dacw efe yn glanio yn Cape Town; ac oddiyno hyd yr *Orange River* yr oedd y

wlad yn weddol hysbys, a gwareiddiad Ewropeaidd yn ymwthio i ganol barbariaeth. Oddeutu 150 o filldiroedd y tu hwnt i'r afon uchod sefydlasai Moffat orsaf genadol a elwid Kuruman. Yma y bu arosiad cyntaf y dyngarwr ieuanc. Am bedair blynedd bu yno yn llafurio ac yn ymbarotoi i lafur dilynol mewn cysylltiad â'r genadaeth. Ar ben y pedair blynedd fe deimlodd mai "nid da bod dyn ei hunan," ac er uniged ydoedd, fod Duw wedi trefnu iddo "ymgeledd gymhwys;" ac i ddefnyddio ei eiriau ef ei hunan, "Cesglais ddigon o wroldeb i ofyn y cwestiwn o dan un o'r coed ffrwythydd, yr hwn gwestiwn, mi a gredaf, a ganlynir gan deimlad neillduol yn y fynwes, yr hwn nis gall neb nas teimlodd ei ddarlunio mwy na'r dyn dall a dybiai fod lliw ysgarlad yn gyffelyb i sain udgorn." Canlyniad y cwestiwn hwnnw ydoedd iddo ymuno mewn glân briodas â merch henaf Robert Moffat, yr hwn sydd eto yn fyw yn oroesydd patriarchaidd ei ferch a'i fab yng nghyfraith. O dan bren yn neheubarth Affrica y dyweddïodd Livingstone ei wraig: o dan bren yn nwyreinbarth Affrica y claddodd hi; ac er fod ei weddillion ef ei hunan wedi eu cludo adref a'u claddu ym Mynachlog Westminster, eto y mae ei galon yntau wedi ei chladdu o dan bren yng nghanolbarth yr un cyfandir. Nid bob canrif y cyfarfyddir â bywyd gwirioneddol mor lawn o bethau rhamantus!

Nid hir y gallodd efe aros yn Kuruman heb anesmwytho, yn ol nodwedd neillduol ei feddwl ef, am ymwthio ymlaen i dir anadnabyddus. I'r Gogledd-orllewin o Kuruman, ymestynai anialwch disathr Kalahari, yr hwn na phreswylid ond gan ychydig o lwynwyr crwydraidd. I'r Gogledd-ddwyrain gorweddai gwlad ychydig yn fwy addawol, yr hon a gyfaneddid gan ganghen o'r llwyth Bechuanaidd; ac ar dueddau y wlad honno y preswyliai y Boeriaid—tylwyth a fuant yn ddrain yn ystlysau Livingstone am amser ar ol hynny. Gormod o gamp i un o ysbryd David Livingstone oedd aros yn llonydd i gyflawni gwaith efengylydd yn Kuruman. Mynnai gyfuno y cenadwr a'r darganfyddwr. Yr

allwedd i'r teimlad yma o anesmwythder a ymlechai yn ei fynwes, a'r awydd am fyned rhagddo i deithio yn hytrach nag aros yn ei unman, i'n bryd ni, ydoedd yr ymdeimlad dwfn a'i meddiannodd er y foment gyntaf y rhoddes ei droed ar gyfandir Affrica, mai caethwasiaeth a'r fasnach mewn dynion oedd ei felldith, ac na thyciai dim i'w diwreiddio ond agor y cyfandir i fasnach gyfreithlawn. Nis gallwn esbonio ei waith yn rhoddi heibio y gwaith arbennig o fod yn genadwr yn ystyr gyfyng y gair, ac yn cymeryd i fyny y gwaith ehangach o fod yn *ddyngarwr cenadol*, ond ar yr ystyriaeth hon. Iddo ef nid oedd y ddau waith ond un. Nid oedd y cariad at y ddynoliaeth a enynnai yn ei fynwes namyn gwreichionen oddiar allor fawr Cristionogaeth; a theimlai y gallai efe roddi mwy o ogoniant i'w Feistr Mawr drwy agor y cyfandir ben bwygilydd i wneyd ffordd i eraill ei ddilyn. A hynny a wnaeth. Buom yn ceisio ei bortreadu yn ein meddyliau yn Kuruman, a'r anesmwythdra a deimlai am fyned ymhellach. O'i flaen yr oedd yr holl gyfandir deheuol o Kuruman hyd y cyhydedd—pellder o 1,600 o filldiroedd—ac o gyffiniau Angola hyd y forlan ddwyreiniol yn hollol anadnabyddus, yn *blank* ar y *map*, heb ond ychydig wybodaeth am y morlannau, a chwrs tybiedig ambell i afon, ac awgrymiadau mwy amheus fyth am ambell i lyn. I'r Gogledd o'r cyhydedd yr oedd teithiau Barth, Burton, Speke, a Baker, ac yn ddiweddaf oll Schweinfurth, wedi dilyn cwrs cyfriniol y Nilus nes ymgolli o honynt mewn corsydd a ffrydlifau, a dwfr-ffynnonell ddeheuol nad ydyw mewn un modd wedi cael ei phenderfynu, os nad oes rhywbeth ym mhapyrau anghyhoeddedig Livingstone i daflu goleuni ychwanegol ar y mater. Fel hyn y mae ein gwybodaeth am Ogleddddwyrain Affrica wedi ei hennill o fesur ychydig ac ychydig, a thrwy ymdrechiadau olyniaeth o deithwyr, a'r rhai hynny yn cael eu cynnorthwyo gan ddigonedd o gyfoeth, a byddinoedd o ganlynwyr. Ond y mae holl ddirgelwch y rhan ddeheuol o'r cyfandir wedi ei ddarganfod gan *un dyn*, David Livingstone—heb ganddo, i

lawr hyd y flwyddyn 1856, ond cyflog o ychydig gannoedd yn flynyddol ei hunan, yn ddigynorthwy, wedi ei arfogi yn unig â nerth meddwl a chymeriad; ac yn yr amgylchiadau hyn fe archwiliodd y prif ddwfr-redfëydd a'r ffynnonellau, ynghydag arwynebedd gwlad yn ymestyn rhyw dair miliwn o filldiroedd ysgwâr.

## LLYTHYR III.

### *O 1849 hyd 1853.*

Ar ol gadael Kuruman, y lle nesaf y cawn Livingstone yn ymsefydlu ynddo ydyw Kolobeng, ymysg tylwyth cyfeillgar y Bakwainiaid, canghen o'r llwyth mawr Bechuanaidd. Gelwid y lle ar yr enw uchod oddiwrth afon o'r enw hwnnw ag yr oedd y sefydliad yn gorwedd ar ei glan. Yma y bu efe am amryw flynyddoedd yn dysgu nid yn unig grefydd i'r trigolion, eithr hefyd crefftau ac arferion gwareiddiad. Yno y trefnodd ei babell trwy adeiladu tŷ â'i ddwylaw ei hun—y trydydd tro iddo orfod gwneyd yr un peth er pan y glaniasai yn Affrica. Trwy gyfarwyddyd gôf brodorol, a'r ychydig wybodaeth a gasglasai oddiwrth Moffat, daethai yn gyfarwydd â thrin haiarn; ac heblaw meddyginiaethu a phregethu i'r brodorion, daeth yn gelfydd mewn saernïo a garddu. O herwydd fod ei wraig mor gelfyddgar mewn gwneyd canwyllau, sebon, a dilladau, daethant i fyny â chyrhaeddiadau anhebgorol teulu cenadol yng Nghanolbarth Affrica, sef i'r gŵr fod yn was-pob-crefft oddiallan, a'r wraig i fod yn forwyn-pob-gwaith yn y tŷ.

Ond er mor uchel ei obeithion am y sefydliad yn Kolobeng, gorfu iddo symud yn fuan, o herwydd toriad allan ryfel blinderus. Yma bu agos i'w yrfa gael ei therfynu gan ymosodiad llew arno, drwy iddo neidio arno tra yr oedd efe yn llwytho ei ddryll, a thorri ei fraich rhwng yr ysgwydd a'r penelin. Y toriad hwnnw byth ni chyfanwyd, fel ag i fod fel cynt; ac wrth yr asiad hwnnw yn bennaf yr adnabyddai y meddygon mai ei weddillion gwirioneddol ef oedd y rhai a gludwyd i Lundain, ac a gladdwyd ym Mynachlog Westminster. Efe oedd y cyntaf i sylwi fod rhyw ddarpariaeth gan y Creawdwr, dybygid, fel nad oedd dannedd y creaduriaid ysglyfaethus hyn yn peri unrhyw boen i'r dioddefwyr, er eu bod yn hollol ymwybodol o honynt eu hunain tra rhwng

eu dannedd. Darluniai efe ei hunan, pan yn safn y llew, fel y clâf pan o dan ddylanwad rhannol *chloroform*, heb deimlo nemawr o boen, ac eto yn canfod yr hyn a ai ymlaen. Tra ar un o'i ymweliadau â Lloegr, gofynid iddo yn awyddus pa beth oedd yn ei feddwl pan yn safn y llew; ac atebai yn hanner cellweirus, ei fod yn myfyrio gyda theimladau o gywreingarwch pa ran o'i gorff, tybed, a fwytai y bwystfil gyntaf! Am ei farn ynghylch gwroldeb cymhariaethol y llew, a'i opiniwn am fwystfilod Affrica, cawn ychwanegu mewn llythyr dyfodol. O herwydd y sychder mawr a'r ymladdfeydd blinion, ac yn bennaf oblegid ymosodiadau y Boeriaid, gwelai Livingstone nad gwiw iddo feddwl am aros yn hŵy yn y parth hwnnw, ac mai ei unig ymwared ydoedd agor ffordd i'r gogledd, a cheisio am le iach i roddi i lawr sefydliad newydd. Penderfynai y Boeriaid, o'r tu arall, na chai dylanwad Prydeinig, ac felly na chai yr un Prydeinwr, ac yn neillduol Prydeinwr o ysbryd Livingstone, fyned gam ymhellach os gallent hwy ei lesteirio. Ymddengys mai gweddillion llinach o fasnachwyr Ellmynaidd oedd y rhai hyn, ac mai eu prif nwydd masnachol oedd dynoliaeth—cipio dynion, a chwalu pentrefydd diamddiffyn, a'u gwerthu fel caethion. Caethfasnach: dyma felldith Affrica, a thyma yr hyn yr ymddïofrydodd ac yr ymdreuliodd Livingstone i'w ddileu. Nid rhyfedd, ynte, ei fod ef a'r Boeriaid yn elynion marwol. Pan wnai efe ymgyrchoedd tua'r gogledd, deuent hwythau a dryllient y sefydliad yn ei absenoldeb. Unwaith, tra yr oedd efe ar ei hynt ymchwiliadol, ymosododd tua phedwar cant o'r gelynion hyn ar yr orsaf genadol; ac heblaw lladrata dau cant o'r plant oedd dan addysg, yspeiliasant a drylliasant ei lyfrgell, ei ddodrefn, a'i ddillad. Ond nid oedd amgylchiadau o'r fath hyn namyn cyfleusderau i'w ysbryd anorchfygol ef ddyfod yn fwy i'r golwg. Ni bu ei ail am gyflogi anfanteision yn weision iddo. Hynod y defnydd o ba un y gwnaethid y dyn hwn! Nid ystyriai efe ei golled trwy yr yspeiliad ond yn ysgafnhâd ac yn hwylusdod erbyn

taith fawr i'r gogledd, yr hon ydoedd yn berwi yn ei fryd er ys tro. Dyma ei eiriau uwchben y golled: "Nid wyf yn crybwyll y pethau hyn er mwyn gwneyd math yn y byd o alarnad uwchben fy ngholledion, ond yn unig er ennill cydymdeimlad. Er fy mod yn teimlo chwithdod ar ol geiriaduron a llyfrau ag oeddynt wedi bod yn gymdeithion fy efrydiaeth, eto darfu i'r yspeiliad fy rhyddhau yn hollol erbyn fy nhaith i'r gogledd, a byth ni feddyliais foment am ddim a adewais ar ol. Penderfynai y Boeriaid gloi y canolbarth i fyny, a phenderfynwn innau agor y wlad; a cheir gweled pa un ai hwynthwy ai myfi a lwyddodd." Y mae y geiriau diweddaf yn y dyfyniad uchod yn allwedd gywir i'w holl hanes.

Argyhoeddwyd Livingstone nad oedd dim iddo i'w wneuthur ond rhoddi anialwch mawr y Kalhari rhyngddo a'r Boeriaid. Darn anferth o dir oedd hwnnw a dybid yn anialdir; ac yr ydoedd yn hollol anadnabyddus i bawb ond i ychydig o Lwynwyr *(Bushmen)* a drigent ynddo. Livingstone ydoedd y dyn gwyn cyntaf a dramwyodd drwyddo; ac ystyriai y Bechuaniaid eu hunain ef yn annhramwyadwy. Darfu i fodolaeth y darn hwn o'r cyfandir wneyd llawer er rhoddi bôd i'r hen syniad mai anialwch tywodlyd a difywyd ydoedd Canolbarth Affrica, ymha un yr ymgollai pob afon mewn tywod crasboeth, ac y trengai pob bywyd gan mor sych ydoedd. Ond ni chymerai Livingstone mo'i orchfygu gan ddim. Er na chafodd efe y Kalhari yn ateb yn hollol i'r hen syniad am dano, gorfu iddo ddioddef yn ddirfawr oddiwrth brinder dwfr a rhwystrau eraill ynddo. Gelwid ef yn anialwch am nad oedd dwfr rhedegog ynddo, nac ond ychydig iawn o ffynonnau. Er hynny tyfai llawer o wellt, llysiau, ac hyd yn oed rai mathau o goed, ynddo. Rhychid ef gan olion afonydd mawrion, a thramwyai minteioedd mawrion o antelopiaid drwyddo, y rhai ni ofynent lawer o ddwfr at eu cynhaliaeth. Unig breswylwyr *dynol* yr anialwch mawr hwn oeddynt y Llwynwyr a'r Bakalahari. Y cyntaf, dybygid, oeddynt frodorion cyntefig y rhan ddeheuol o'r cyfandir, a'r olaf

weddillion yr ymfudiad cyntaf o'r Bechuaniaid. Y mae gan y ddau lwyth gariad angerddol at fywyd rhydd; ond y mae y Bakalahari yn *gorfod* byw yn yr anialwch, tra y mae y Llwynwyr yn *dewis* byw ynddo; a digon tebyg mai hwy ydynt yr unig lwythau gwir grwydrol yn y wlad. Nid ydynt yn magu unrhyw anifeiliaid, nac yn amaethu tir, ond yn byw yn unig ar helwriaeth a gwreiddiau. Tybir mai y Bakalahari, o'r tu arall, ydyw y ganghen henaf o'r cŷff Bechuanaidd, a meddiannant gariad nodweddiadol y Bechuaniaid at feithrin anifeiliaid a thrin tir. Er byw o honynt yn yr un hinsawdd, ac ar yr un gwastadedd, a dioddef yr un newyn, a mwynhau yr un ymborth, â'r Llwynwyr, eto y maent yn brawf cadarn nad ydyw dylanwadau lle yn ddigonol, o hono ei hunan, i roddi cyfrif am wahaniaeth rhywogaeth. Dyma ffaith ag y rhaid i'n gwyddonwyr ei chredu, gan nad pa mor groes i'w damcaniaethau ydyw.

Yn ystod un o'i hyntoedd ymchwiliadol fel hyn, i gyfeiriad y gogledd, y darganfyddodd Livingstone Lyn Ngami—dernyn eang, ond bâs, o ddwfr yng nghanol gwlad ag oedd yn heigio o helwriaeth o'r rhywogaeth frasaf: cawrfilod, afonfeirch, bualod, &c. Dyma y gyntaf o'r dwfr-drysorfeydd mawrion y bu Livingstone yn offerynol i'w dwyn i sylw y byd gwareiddiedig. Ond bychan y gwyddai efe y pryd hwnnw pa mor eang oedd y wê o afonydd ag oeddynt gysylltiedig wrth y llyn hwn. Yn yr hynt hon yr oedd ganddo ddau Brydeiniwr yn gwmni, Mri. Oswell a Murray; a llwyddodd, er yr anhawsderau i gyd, i gario ei wraig a'i blant gydag ef. Gorchwyl a gostiodd yn ddrud i'r anturiaethwr ydoedd croesi yr anialwch hyd y llyn hwn, a bu agos i hynny a bod yn ddiwedd i'w wraig a'r plant, os nad i'r holl fintai hefyd. Eu harweinydd ydoedd Llwynwr o'r enw Shobo, a dyna hwnnw yn colli y ffordd ac yn dyrysu, ac yn y diwedd yn dianc ymaith. Bu yr ychain unwaith am bedwar diwrnod heb ddwfr,—y plant bron a sychedu i farwolaeth; "ac," meddai y teithiwr, wedi hynny, wrth adrodd yr hanes, "po leiaf o ddwfr fyddai i'w gael,

mwyaf sychedig yn y byd fyddai y cnafiaid bychain. Yr oedd y syniad iddynt feirw o flaen ein llygaid yn ddychrynllyd. Buasai yn rhyw fath o esmwythâd i mi gael fy nghyhuddo o fod yn achos o'r holl aflwydd, eto nid ynganodd eu mam yr un sill o rwgnach, er fod ei llygaid llawn yn dyweyd am y boen oddifewn. Yn hwyr y pumed dydd, er ein dirfawr esmwythâd, daeth y dynion a chyflenwad i ni o'r hylif hwnnw na theimlasom erioed, hyd y pryd hwnnw, ei wir werth."

Buan y canfyddodd Livingstone yr anhawsder i gael lle iach i ymsefydlu ynddo. Os nad oedd gelynion cyffelyb i'r Boeriaid, yr oedd rhyw bethau yn ei gwneyd yn anmhosibl cael sefydliad iach ym mherfedd-dir Affrica. Un o'r pethau a boenodd fwyaf ar Livingstone yn ei holl deithiau ydoedd *wibedyn bychan!* Yr anturiaethwr hyf, a siaradai mor isel am lewod, ac a gysgodd lawer tro yng nghanol cydgor o fwystfilod yr anialwch, —rhyfedd ydyw dyweyd i'r gwibedyn bychan hwn ddyrysu mwy ar ei gynlluniau, ac yspeilio mwy o'i gysuron, na hwynt oll. Enw y creadur bychan ydyw y Tseti,—*Glossina Morsitans.* Er lleied ydoedd, ymddengys na feddai Baalzebub, duw y gwibed yn Ecron, yr un creadur tebyg iddo. Y mae yn debyg ei fod yn un o'r creaduriaid bychain sydd â mwyaf o neillduolion yn perthyn iddo, a'r rhai hynny yn bur beryglus. Dygwyd rhai esiamplau o hono i Loegr, a hynny am y tro cyntaf, gan Major Vardon, yn 1848. Dyma ddarluniad Livingstone o hono: "O ran maintioli, nid ydyw yn fwy na'r tŷ-wibedyn cyffredin, a bron yr un lliw a'r fêl-wenynen. Rhed llinellau melynion ar draws rhannau olaf y corff, ac oherwydd adenydd lled hirion anhawdd iawn yw ei ddala mewn ardymheredd cyffredin; ond yn oerni boreu neu hwyr nid ydyw lawn mor chwimwth. Y teithiwr fydd yn teithio trwy gynorthwy anifeiliaid dofion, nis gall byth anghofio ei sï ond unwaith ei glywed; canys y mae brathiad yr edn gwenwynig hwn yn farwolaeth sicr i'r ŷch, y ceffyl, a'r ci. Yn y daith hon (y daith olaf o'r Penrhyn i'r Canolbarth), er na

welsom ond ychydig o'r gwibed yn disgyn ar yr anifeiliaid, collasom 43 o'r ychain goreu drwy ei frathiad. Nid ydym yn meddwl ddarfod i ddwsin ar unwaith ddisgyn ar ein hanifeiliaid; canys gwyliasom hwy yn ofalus." Y pethau rhyfeddaf ynglŷn â'r creadur bychan hwn ydyw ei fod yn hollol ddiniwed i ddyn, ac anifeiliaid gwylltion, ac hyd yn oed i rai ieuainc anifeiliaid dofion. Hefyd, nid ydyw i'w gael ond mewn rhai parthau o'r un gymydogaeth. Bydd i'w gael ar lan ddeheuol afon, fe allai, tua hanner cant o latheni, mwy neu lai, o bellder oddiwrth hynny. Nid oes dim o hono wedi ei ddarganfod yn Affrica ond o'r *tropics* i'r cyhydedd, er nad ydyw ei diriogaeth yn ymestyn yn llawn hyd y cyhydlin. Nid ydyw ei frathiad yn farwol ar unwaith, eithr yn cynnyrchu marwolaeth ddihoenllyd. Nid ydyw yn dychrynu yr anifail fel rhai gwibed; ond ymhen ychydig ddyddiau dechreua chwyddo; ac er y dichon iddo fyw am amryw wythnosau, os nad misoedd, y canlyniad fydd marwolaeth anocheladwy. Y tebygolrwydd ydyw mai gwenwyno y gwaed y mae; ac nid oes yr un ddarpariaeth eto wedi ei darganfod yn ddiogelwch rhagddo. Y mae y mul, yr asyn, a'r afr, fel dyn, yn ddiogel oddiwrtho. Dyna sydd yn rhyfedd: Pa beth mewn anifeiliaid dofion sydd yn eu gwneyd yn agored iddo, tra y mae dyn, y creadur mwyaf gwâr o'r cyfan, yn rhydd oddiwrtho? Ymysg llawer o bethau cyffelyb yn Affrica, y mae yn aros yn destyn efrydiaeth i'r naturiaethwr. Yr unig awgrym a ddyry Livingstone ydyw y dichon, gyda chynnydd drylliau i ladd yr anifeiliaid gwylltion, y diflana yntau hefyd o'r wlad yn y canolbarth, fel y mae wedi gwneyd yn neheubarth Affrica.

Ar ol i Livingstone adymweled â Llyn Ngami, mewn ail a thrydydd hynt, efe a ddychwelodd i'r Penrhyn, gan anfon ei wraig a'i rai bychain adref i Loegr, ac ymroddi i dreiddio mewn un daith fawr, ag oedd bellach wedi llanw ei fryd, i'r perfedd-dir. Yn 1852 gwnaeth y daith i lawr i'r Penrhyn, taith o 1,300 o filldiroedd rhwng myned a dychwelyd. Erbyn cyrhaedd Penrhyn

Gobaith Da, yr oedd ei blant yn hanner noethion, ac yntau â'i hen hugan ddu, ebe fe, tuag un mlynedd ar ddeg ar ol y ffasiwn, ac heb geiniog o gyflog yn aros iddo heb ei gwario. Pa fodd bynnag, trwy garedigrwydd ei gyfaill, Mr. Oswell, gwnaed y teulu i fyny â gwerth £200 o ddillad, a hynny gydag arian a dderbyniasai Oswell am yr ifori a gawsai wrth hela cawrfilod gyda Livingstone yn y canoldir; ac yr oedd hawl gan Mrs. Livingstone, ebe Oswell, i gynnyrch yr helwriaeth ag oedd ar ei thir *hi ei hunan!* Ah Brydain goegfalch! pe buasai David Livingstone wedi bod dim ond un *mis* ar ddeg yng nghanolbarth Affrica gyda byddin o wŷr yn *lladd dynion*, buasit yn ei gyfarfod â'th lawryfau, ac yn gwlawio teitlau a gwobrau am ei ben! Ond dyma ddyn wedi dangos mwy o wir wroldeb nag a ddangoswyd gan yr un Prydeiniwr er ys canrifoedd—wedi treulio, nid *misoedd* ond *blynyddoedd*, yng ngwasanaeth ei wlad, ei hiliogaeth, a'i Dduw—ac eto nid oes dim yn ei aros ond coffrau gweigion, na chanddo ddim ond dibynnu ar elusennau cyfeillion. Gogoniant milwrol yn wir! y mae y sôn am dano, a'r barchedigaeth a delir iddo, yn ein teyrnas fechan benfeddw, yn ddigon â syrffedu ungwr! A meddwl mai dyma y driniaeth oreu y mae ein dyngarwyr, ïe, ein *gwir arwyr*, wedi ei gael!

Wedi gwneyd pob peth i fyny yn y Penrhyn, trödd ei wyneb eto yn ol tua'r gogledd, gan lwyr benderfynu ymgladdu, os oedd raid, yng ngholuddion y cyfandir, megis, er dwyn ei hanes i oleuni. Erbyn cyrhaedd Kolobeng yn ol, yr oedd y Boeriaid wedi gwneyd y galanasdra y cyfeiriasom ato eisoes, ac felly, yn ol ei addefiad ef ei hunan, wedi hyrwyddo yn fawr ei daith i'r canolbarth. Penderfynai dreiddio heibio i Lyn Ngami, nes cyrhaedd afon fawr y clywsai am dani o'r enw Zambesi, enw ag sydd i gael lle mawr yn nheithiau dilynol Livingstone. Taith erwin a gafodd nes cyrhaedd yr afon hon. Trwy wastadeddau corsiog y gorweddai ei daith am amser maith, yng nghanol prysglwyni, a math o hesg mawrion, miniog, yn torri fel ellynau. Wrth geisio osgoi y Tseti,

y gwibedyn peryglus, syrthiasant i beryglon eraill oddiwrth leoedd afiach a ffyrdd anhygyrch,—ei gymdeithion yn glaf o dan y dwymyn, ei arweinwyr wedi ffoi a'i adael—yr oedd yma gyfleusdra ardderchog i benderfyniad di-ildio y dyn ddangos ei hunan. Hyd ben y glîn mewn dwfr braidd ar hyd y dydd, yng nghanol math o hesg-frwyn hirion, chwe' troedfedd o uchder, gorfyddai iddynt dorri eu ffordd ymlaen yn fynych. Cysgai un noswaith mewn hen geubren, a thro arall ar ben twmpath morgrug ag oedd wedi ei adael i ymgodi i uchder mawr uwchlaw y llaid dyfrllyd. O'r diwedd, ar ol dringo i ben coeden uchel, gwelent o'u blaen, trwy agorfa yn yr hesg, len fawr loew o ddwfr, sef yr afon Chobe, cainc, dybygid, o afon fawr Zambesi. Y mae desgrifiad Livingstone o'r sŵn a glywai yn y gwastadedd dyfrllyd wrth ei glust pan yn cysgu yn yr hen fwthyn braenllyd ar y twmpath morgrug, yn un o'r pethau mwyaf tarawiadol a ddarllenasom braidd un amser. Dyma fe mewn rhan: "Yr oeddym yn agos i'r hesg, ac yn gallu cylwed y sŵn dieithrol a godai o honynt. Yn ystod y dydd yr oeddwn wedi gweled llawer o ddyfrnadroedd yn cyfodi eu penau, ac yn nofio o gwmpas. Ymheigiai y lle gan ddyfrgwn ac adar rhyfedd, y rhai a ymrygnent ac a ysgrechent yn yr hesg. Weithiau clywn leisiau tebyg i leisiau dynol, neu annaearol, yn bwrlwm ac yn neidio fel pe buasai y llawenydd a'r digrifwch mwyaf yn myned ymlaen yn eu llochesau dyfrllyd. Unwaith daeth rhywbeth i'm hymyl, gan roddi naid yn y dwfr, fel *canoe*, neu afonfarch; a chan dybio mai un o'r brodorion oedd, cyfodais i wylio, a thaniais fy llawddryll amryw weithiau." Yn y boreu, o ben un o'r tylau hyn, gwelai agorfa i'r afon Chobe; a chan gyrchu eu hysgraffbont, gollyngasant eu hunain ar drugaredd llifeiriant afon fawr ag oedd o leiaf o bedwar ugain i gant o latheni o led. Felly y buont am hanner diwrnod yn hwylio yn eu cwch bach bregus, hebio i afon-feirch mawrion, a chreaduriaid a glennydd dieithrol iawn, hyd wedi machlud haul. Ni welent ond dau fûr mawr,

uchel o hesg o amgylch yr afon, a phob golwg y byddai raid iddynt dreulio noswaith ddigwynos ar y llif; ond fîn yr hwyr gwelent bentref bychan o eiddo pennaeth o'r enw Moremi, un o'r Makololo, â'r hwn y ffurfiasai Livingstone gydnabyddiaeth flaenorol. Synnai y pentrefwyr fel pe buasent ysbrydion, a dywedent yn eu dull ffugyrol hwy o lefaru, "Wele efe wedi disgyn o'r cymylau, eto y mae yn marchog ar afonfarch. Yr ydym ni, y Makololo, yn tybied nas gall neb groesi y Chobe heb ein cyfarwyddyd ni; ond wele efe wedi disgyn i'n mysg fel aderyn." Cyn pen ychydig ddyddiau cyrhaeddodd Livingstone a'i glud-gelfi hyd i Linyanti, prifddinas y Makololo, y rhai a brofasant yn llwyth cyfeillgar iawn i'r teithiwr; a'r dref hon a wnaeth efe yn brif gychwynfan erbyn ei daith fawr i fyny i'r gogledd. Yma y gadawn ef hyd y llythyr nesaf, pryd y cawn olrhain ei daith fawr i Paul de Loanda, ac oddiyno i lawr y Zambesi hyd Quilimane, ar y tu dwyreiniol i'r cyfandir, yr hon a gymerodd o 1853 hyd 1856.

## LLYTHYR IV.

### *O 1853 hyd 1856.*

Yr ydym yn y llythyr hwn yn canlyn Livingstone yn ei daith fawr hir-ddisgwyliedig ar draws y Cyfandir. Gadawsom ef y tro diweddaf yn Linyanti, prif dref y Makololo; ac o herwydd ei phwysigrwydd fel cychwynfan y teithiwr, y mae gair yn ddyledus am dani. Yr oedd y dref hon, a dylanwad y llwyth i ba un y perthynai, yn greadigaeth un dyn yn bennaf. Y mae yr un peth ag sydd yn wir am wledydd gwâr yr un mor wir am berfedd-dir Affrica: fe ddaw gallu ac athrylith yn fuan i'r golwg. Ein camgymeriad ni yn fynych wrth son am wledydd anwaraidd ydyw siarad am danynt fel pe na byddai talent o fath yn y byd yn beth posibl ynddynt. Pair darllen teithiau Livingstone i ni feddwl yn dra gwahanol; ac un o'r prif orchestion a wnaeth efe ydoedd *dadblygu y dalent frodorol.* Daeth i gyffyrddiad o dro i dro, hyd yn oed ym mherfedd-dir Affrica, â dynion o ddynoliaeth led gyflawn—dynion o graffder naturiol anghyffredin—dynion ag y dylem ni, gyda'n gwareiddiad gorllewinol, a'n manteision crefyddol lliosog, wrido wrth ddarllen hanes eu hymddygiadau. Gellid enwi y penaethiaid brodorol Sechele, Sekomi, ac yn bennaf Sebituane a'i fab Sekeletu, y ddau oedd yn sylfaenwyr tref Linyanti.

Am y penaeth Sebituane, yr oedd yn ddyn galluog anghyffredin; a phe cawsai fanteision gwareiddiad, diameu y buasai yn addurn i unrhyw wlad. Ganesid ef i lawr yn y dehau—tua naw cant o filldiroedd o'i wlad fabwysiedig; a bu drwy liaws afrifed o ryfeloedd brodorol cyn cyrhaedd y Canolbarth. Croesasai yntau, fel Livingstone, anialdir y Kalahari oddiar ffordd y Boeriaid, i'r rhai, fel y gallesid disgwyl, yr ydoedd yn elyn marwol. Ar ol llawer o ysgarmesydd, a dioddef colledion trymion, llwyddodd o'r diwedd i ymsefydlu

ar lanau ffrwythlawn y Zambesi. Wedi clywed am ddyfodiad Livingstone, ymddengys ei fod gymaint ei awydd am ei weled fel ag yr aeth i'w gyfarfod bellder mawr. Y mae hyn yn fwy rhyfedd pan yr ystyriom fod y penaeth hwn wedi dyfod i gyfarfyddiad â phobl wynion o'r blaen; ac yn ol adroddiadau cyffredin Livingstone, nid llawer o awydd a deimla y brodorion hynny a welsant ddynion gwynion unwaith am eu gweled eilwaith. Galarus meddwl hyn; ond dyma, dybygid, ydyw y ffaith. Yr oedd y teithiwr bob amser yn cael gwell triniaeth oddiar law y llwythau hynny na welsant erioed ddyn gwyn o'r blaen. Os byddai rhai o'r masnachwyr caethion gwynion neu hanner-gwynion wedi bod yn ymgymysgu â hwy, byddent yn sicr o fod wedi gadael rhyw lysnafedd o anonestrwydd neu ddrwg deimlad ar eu hol, fel nad diogel fyddai myned i'w plith. Dyma reswm eto i wareiddiad wrido!

Pa fodd bynnag, ymddengys Sebituane yn eithriad, a mawr oedd ei hiraeth am weled dynion gwynion yn dyfod i'w wlad. Wedi ei ddwyn i fyny o'i febyd yn ysgol ryfelgar yr anialwch, yr ydoedd yn credu yn anghyffredin mewn gallu anianyddol at ddwyn y byd i'w le. Dichon nad ydoedd yn ail i Bonaparte ei hunan yn ei ffydd mewn cyflegrau, ond ei fod yn wahanol iawn iddo yn y defnydd oedd iddynt. Meddyliai Napoleon am danynt i ryfela; tybiai yntau eu bod yn anffaeledig tuag at gadw yr heddwch. Er ei fod wedi ei fagu yng nghanol trwst arfau, eto ni welwyd neb erioed yn caru heddwch yn fwy. Bu farw gyda braidd fod cynlluniau ei oes wedi eu cwblhâu, tra yr oedd Livingstone ar un o'i ymweliadau â chymydogaethau llyn Nghami. Un o arddérchog feib yr anialwch ydoedd, yn ceisio goleuo ei ganwyll ac ennyn ei dân yng ngoleu a nerth ei reswm naturiol ei hunan; ac wrth ddarllen ei hanes, byddwn yn gresynu meddwl fod miloedd o'r fath yn trengu eisieu gwybodaeth. Erbyn i Livingstone gyrhaedd i diriogaeth Sebituane, ac ymwthio ymlaen mor bell a Linyanti, yr oedd y freniniaeth wedi bod drwy ddwylaw un o

ferched Sebituane, yr hon a'i gwrthododd, ac wedi disgyn i'w fab Sekeletu. Ymddengys fod y fenyw hon yn wir ferch ei thad mewn synwyr a gallu; ond yn gymaint ag nad ydoedd wedi llyncu yr athrawiaethau diweddar o berthynas i hawliau merched, mynnai i'w brawd ymgymeryd â llywodraethu llwyth pwysig y Makololo, ac iddi hithau gael ymneillduo i fywyd anghyhoedd. Yr oedd y mab, os dim, yn fwy mawrfrydig na'i dad. Yn wir, y mae darllen hanes ei ymddygiadau at y teithiwr yn tyneru ein meddyliau at anwariaeth ei hunan. Etifeddasai holl allu a thalent naturiol ei dad, gyda'r fantais ychwanegol o gael ei ddwyn i fyny mewn adeg gymhariaethol heddychlawn. Bu yn gyfaill cywir a gonest i Livingstone am y blynyddoedd dilynol; ac anhawdd meddwl beth a ddaethai o hono oni bai am ddylanwad enw Sekeletu a llwyth y Makololo. Yn wir, y peth a'n tery yn fawr wrth ddarllen holl deithiau ein harwr ydyw y caredigrwydd syml a dderbyniodd oddiar law anwariaid, a'r gonestrwydd a'r cywirdeb a ddangoswyd gan rai o'r llwythau Affricanaidd. Y mae hanes ei deithiau yn cyflwyno defnyddiau tra dyddorol i efrydiau moesol *(ethics)*. Er na chyfarfyddodd â nemawr lwyth nad oeddynt yn y trueni a'r anwybodaeth ddygnaf, eto dangosai rhai o honynt, oddiar ryw gymhellion neu gilydd, fwy o fawrfrydigrwydd y ddynoliaeth o lawer. Nid oedd y goreu o honynt ond gweddillion adfeiliedig yr hîl; ond tra y byddent heb gael eu llychwino gan ddylanwadau y caethfasnachwyr hannergwaraidd, dangosai llawer o honynt nodweddau ag y buasai yr efengyl yn gallu gwneyd rhinweddau tra phrydferth o honynt. Er engraifft, craffer ar a ganlyn. Anfonasai Moffat sypynau a newyddion ar ol Livingstone i Linyanti, y rhai a anfonasid trwy lwythau ag oeddynt yn elynol i'r Makololo, a'r rhai a gyrhaeddasant i Linyanti wedi i Livingstone ymadael ar ei daith i Loanda yn y gorllewin. Pa fodd bynnag, cyrhaeddodd yr eiddo yn ddiogel i diriogaeth y Makololo, ac adeiladasant hwythau fwthyn mewn ynys fechan, ar ganol

afon, i fod yn gysgod drostynt hyd nes y dychwelai. Ymhen y flwyddyn lawn, cafodd y teithiwr hwynt, bob mymryn, heb eu cyffwrdd gan na lleidr nac arall. Dyma ffaith a ddylai beri i aml wlad wareiddiedig wrido.

Treuliodd y teithiwr beth amser yn Linyanti cyn cychwyn ei daith tua Loanda, canys nid ar unwaith y gallesid cael pob peth yn barod. Yr oedd y pennaeth Sekeletu a'i bobl yn dra awyddus am lwybr i fasnachu â'r arfordir; a gwelai Livingstone mai yr unig ffordd i atal y caethfasnachwyr rhag rhoddi eu traed i lawr oedd sefydlu masnach gyfreithlawn, ac agor y wlad i hynny. Dechreuai y caethfasnachwyr ymwthio i'r cyffiniau eisoes, ac felly nid oedd dim amser i'w golli. Galwyd cynnadledd o'r Makololo ynghyd i ystyried y mater; ac er fod un o'r prif ddaroganwyr yn crowcian yn erbyn, eto yr oedd y teimlad cyhoeddus o blaid y teithiwr; a phriodolid y grwgnach i ddiffyg gwroldeb yn y daroganwr. Cafwyd 27 o ddynion yn gymdeithion ac yn arweinwyr iddo. Nid oedd y dynion hyn yn gyflogedig, eithr yn cael eu hanfon gan y pennaeth, a chan y llwyth, er cyrhaedd amcan ag oedd yn ddymunol i'r naill a'r llall o honynt.

Cynnwysai y daith o Linyanti, yn y Canolbarth, hyd Loanda, ar yr arfordir gorllewinol, tua deuddeg cant o filldiroedd. Cychwynodd ar yr 11eg o Dachwedd, 1853, a chyrhaeddodd ben y daith at lan y môr erbyn Mehefin y flwyddyn ddilynol—tymor o tua saith mis o amser. Yr oedd dau bla i'w hosgoi, y gwibedyn bychan y soniwyd am dano o'r blaen,—y *tsetsi*,—a'r caethfasnachwr, yr hyn a barai nas gallent fabwysiadu y cyfeiriad byraf ac agosaf. Pair i'r darllennydd yn ddiameu synnu, yng nghanol cymaint o deithio drudfawr, ac ymchwiliadau costfawr, glywed mai yr unig swm a gymerodd y teithiwr gydag ef i dalu ei holl dreuliau ydoedd gwerth deugain swllt o *beads*, nwyddau o werth mawr yn wastad gan anwariaid. Ymddibynnai ar ei ddryll am ymborth iddo ef ei hunan a'i fintai. Aml waith y bu yn dra chyfyng arnynt. "Can-

fyddais yn wastad," ebai, "fod y gelfyddyd o deithio yn llwyddiannus yn gynnwysedig mewn cymeryd can lleied byth ag y bo bosibl o gludgelfi i'm canlyn, a pheidio anghofio cario fy synwyrau gyda mi. Yr oedd gennyf argyhoeddiad dirgelaidd, os na byddai i mi lwyddo, mai nid yr achos fyddai y diffyg o'r pethau a gyhoeddir fel yn anhebgorol i deithwyr, ond y diffyg o *pluck*, neu am y byddai i swm y cludgelfi ennyn trachwant y llwythau y byddem yn pasio trwy eu gwlad." Yn y dull ysgafn hwn y cychwynwyd i'r ymgyrch fawr tua'r gorllewin mewn nifer o fâsfadau bychain, gan ddilyn afonydd mawrion, a changhennau o honynt, a'u hwyneb o hyd tua Loanda. Llawer amgylchiad a'u cyfarfu yn y perfedd-dir, weithiau hanner-digrifol, bryd arall hanner-pruddaidd. Bu presenoldeb y Makololo, a dylanwad eu henw, o ddefnydd mawr iddynt am lawer o bellder; ond, o'r diwedd, daethant i diriogaethau llwythau gelynol, a gwaeth, y rhai a lychwinasid gan y dyn gwyn a'i anonestrwydd yn ei ymdrech i draisgipio neu brynnu caethion. Fel y crybwyllwyd, ymhob man lle y buasai ymweliadau y caethfasnachwyr, yr oedd yr awyrgylch gymdeithasol wedi ei gwenwyno i raddau peryglus. Un o'r llwythau gelynol hyn ydoedd y Chiboque, gyda pha un y cafodd Livingstone ddirfawr drafferth. Yn fuan wedi cyrhaedd un o'u pentrefi, anfonwyd cennad ato yn hawlio "dyn, ŷch, dryll, pylor, brethyn, neu gragen." Dyma yn wastad eu gofyniad ar y cyntaf. Wedi cael eu gwrthod yn y cais hwn, daethant ynghyd ac a amgylchynasant y teithydd a'i fintai fechan. Gwrandawer ar yr hanes ganddo ef ei hunan: "Tua chanol dydd, casglodd y pennaeth ei holl bobl o'n hamgylch, a chlywem ambell i sylw felly ganddynt,—'Nid oes ganddynt ond pump o ddrylliau,' ac ymddangosai mai eu holl feddylfryd ydoedd ein hysbeilio o bob peth. Cyfeiriai rhai eu drylliau ataf fi, cystal a dywedyd pa fodd y gwnaent â mi. Eisteddais ar fy ystôl â'm dryll ar draws fy ngliniau, a gwahoddais y pennaeth a'i gynghoriaid i wneuthur yr un peth. Wedi iddynt eistedd ar fy nghyfer, gofyn-

ais pa drosedd a wnaethom i beri iddynt ddyfod yn arfog felly. Dywedai y pennaeth ddarfod i un o'm dynion, o'r enw Pitsane, wrth eistedd wrth dân gyda'i ddynion ef y boreu hwnnw, tra yn poeri, adael i beth o'r poer syrthio ar goes un o'i bobl ef, ac mai dyna y trosedd am ba un y gofynnid cymaint o iawn. Addefid y digwyddiad, ond yr oedd y dynion wedi dyfod yn gyfeillion. Eglurais iddo o berthynas i'w ofyniad am gael un o'm dynion, ein bod ni oll yn rhyddion, ac y byddai yn llawn mor hawdd i'm dynion fy rhoddi i ag a fyddai i minnau roddi un o honynt hwy, ac yn hytrach na rhoddi yr un, y byddai i ni farw dros ein gilydd. Am roddi iddo un o'n drylliau, dywedais wrtho, gan mai eu hamcan oedd ein hyspeilio, na byddai hynny ond eu helpio i gyrhaedd eu hamcan. Gwadent hyn, gan haeru nad oeddynt yn gofyn ond y deyrnged arferol; ond gofynais innau pa hawl oedd ganddynt i ofyn tâl am sangu tir Duw, yr hwn ydoedd yn dad i ni oll,—pe buasem yn cerdded eu gerddi buasem yn talu, ond nad oeddym yn cerdded tir oedd yn eiddo i neb ond Duw. Yn ol eu syniadau hwy eu hunain, nis gallent wrthwynebu hyn, ond cyfeirient wedi hynny at y poer. Erfyniai fy nynion arnaf roddi rhywbeth; ond po fwyaf a roddwn, mwy afresymol y deuai eu gofynion. Rhoddais un o'm crysau iddynt, a nifer o *beads*, a chadach llogell. Gwnaeth un o'u dynion ergyd at fy mhen, ond tröais a dodais ffroen fy nryll yn ymyl ei enau, a pharodd hynny iddo gilio yn ol. Er y gwyddwn y gallwn gyda'r dynion oedd gyda mi, wedi eu disgyblu gan Sebituane, yru yn ol ddwbl y nifer, eto ymdrechais hyd y gallwn osgoi tywallt gwaed; ac mewn trefn i hynny, dangosai fy mintai a minnau yr hunanfeddiant mwyaf. Dywedais, yn gymaint a bod pob peth yn methu eu boddloni, fod yn amlwg mai ymladd a fynent *hwy*, tra nad oedd arnom *ni* ond eisieu myned heibio yn heddychlawn, ac felly byddai raid iddynt hwy daraw yn gyntaf, a chymeryd y cyfrifoldeb o flaen Duw. Yna eisteddais am beth amser yn berffaith ddistaw. Nis

gallaswn lai na theimlo, gan y gwyddwn y buasai y Chiboque yn anelu yn gyntaf at y dyn gwyn; ond yr oeddwn yn ofalus rhag ymddangos yn frysiog, a chyda phedair baril yn barod ar darawiad, edrychais yn dawel ar y barbariaid o amgylch." Pa fodd bynnag, dangosodd yr anwariaid yn fuan eu parodrwydd i dderbyn amodau; a chafodd yr ymgyrch fyned yn y blaen yn ddirwystr a dianaf; a diau fod hynny i'w briodoli i fesur mawr i hunan-feddiant Livingstone.

Wedi hir deithio, cyrhaeddwyd Loanda o'r diwedd. Yr oedd cymydogaethau Angola, lle yr oedd amryw orsafau Portugiaidd wedi bod, yn llawer mwy peryglus na'r perfedd-dir ei hunan. Fel y nesaent at Loanda, ymddangosai y peryglon oddiwrth ddynion drwg yn lliosogi yn hytrach na lleihau. Yr oedd Livingstone mor wael cyn cyrhaedd y porthladd fel nas gallai aros ar gefn yr ŷch ond am ddeng munyd ar unwaith, ac wedi ei ddarostwng i wendid mawr. Yr oedd ei fintai hefyd, erioed heb weled math yn y byd o le gwareiddiedig, yn fawr eu pryder, ac yn ei flino â chwestiynau yn ddiddiwedd. Gofynai un o honynt un dydd a gaffent hwy gyfleusdra i wylio eu gilydd yn Loanda. "Tybier fod un yn myned i gyrchu dwfr, a gaffai y lleill weled na ladrateid ef." Atebai y teithiwr ef yn dra nodweddiadol o hono ei hunan, gan, bob amser, roddi ei hunan fel un o honynt hwythau: "Gwelaf at ba beth yr ydych yn cyfeirio; os ydych yn fy nrwgdybio, gellwch ddychwelyd yn awr, canys yr wyf mor anwybodus am Loanda a chwithau; ond ni ddigwydd dim i chwi ond a ddigwydd i minnau; yr ydym wedi sefyll yn blaid i'n gilydd hyd yn hyn, a gwnawn felly i'r diwedd." Nid oedd ond un Prydeiniwr yn Loanda —un Mr. Gabriel, yr hwn a groesawodd Livingstone gyda mynwes agored; ac yn fuan ar ol cyrhaedd cafodd y teithiwr ei hunan yn cysgu mewn gwely Seisonig; a melus melus y cwsg, ar ol bod yn huno ar y ddaear am saith o fisoedd.

Treuliodd y fintai o'r Makololo eu hamser yn Loanda trwy gasglu tanwydd a'u gwerthu, a dangosasant dalent neillduol at fasnachu. Difyrus iawn oedd eu hymddiddanion yn Loanda, ac yn neillduol eu syniadau pan y daethant i olwg y môr am y waith gyntaf erioed. Fel y canlyn yr adroddent wedi hynny eu teimladau uwchben yr olygfa: "Teithiasom ymlaen gyda'n tad (enw a roddent yn wastad ar Livingstone), gan gredu fod yr hyn a ddywedai ein tadau bob amser wrthym yn wirionedd, fod y byd heb ben draw arno; ond ar unwaith dywedodd y byd wrthym, 'Dyma fy niwedd—nid oes ychwaneg o honof fi.'" Gwrthddrychau o ddyddordeb neillduol iddynt ydoedd yr adeiladau cerrig,—wedi cynefino â bwthynod yn unig, yr oedd tai o uchder canolig yn anesboniadwy iddynt. Wrth geisio eu hesbonio i'w cydwladwyr wedi hynny, dywedent am dŷ bychan y cenadwr yn Kolobeng, "Nid bwthyn ydyw—ond mynydd ac ogofâu ynddo." Gwahoddwyd hwy i weled dwy long ryfel a orweddai ar y pryd ym mhorthladd Loanda, diben pa rai oedd darostwng y gaethfasnach yn y gororau hynny. Gwyddai Livingstone pa mor ofnus oeddynt; a dywedai wrthynt os oedd ganddynt ryw amheuaeth am eu diogelwch, y gallent beidio myned. Aeth yr holl fintai bron; a phan ar y bwrdd dangosai y teithiwr y morwyr iddynt, gan ddywedyd, "Dyma fy nghydwladwyr a anfonwyd gan ein brenines er mwyn rhoddi i lawr y fasnach o brynnu a gwerthu pobl dduon." "Yn wir!" ebent hwythau, "y maent yn debyg i chwi;" a diflanodd eu holl ofnau ar unwaith, ac ymgymysgent â'r morwyr fel pe buasent eu cydfrodorion. Caniatawyd tanio cyflegr; a chan fod ganddynt y fath syniad uchel am ei gallu, boddheid hwy yn fawr wrth glywed mai dyna y peth y darostyngid y gaethfasnach gydag ef.

Cafodd y teithiwr wahoddiadau taerion i fyned adref, gan ei fod mor nychlyd y pryd hwnnw; ond wrth weled nad ellid agor ffordd fasnachol i'r canolbarth y ffordd y daethai, teimlai nad ydoedd wedi cyrhaedd ei amcan; ac yn bennaf wrth feddwl ei fod wedi

dyfod â mintai o ddynion Sekeletu, a'r peryglon iddynt fyned yn ol mor fawrion, a'r llwythau mor elynol, penderfynodd ddychwelyd gyda hwynt, deued a ddelai, ac ymdrechu agor ffordd fasnachol o'r canolbarth i'r dwyrain, os gellid.

Ar ol yspaid o arosiad, cychwynasant yn ol am y perfedd-dir eilwaith, gan ddilyn agos yr un ffordd ag y daethant. Pa fodd bynnag, mewn un man gwnaethant ychydig bach o dröad o'r llwybr y daethant ar hyd-ddo; a phe buasent yn dilyn ychydig ymhellach ar yr un cwrs, dygasid hwy i ganol darganfyddiadau diweddaraf Livingstone! Buasai taith o un mis o amser i'r dwyrain-ogledd o Cabango, y pwynt mwyaf gogleddol yn y tröad hwn, yn eu dwyn i brifddinas y pennaeth Matiamoo, un o'r teyrnasoedd mwyaf yng nghanolbarth Affrica, a chyffiniau yr hon sydd yn ymestyn, meddir, i lannau llyn Tanganyika. Fel hyn, bu Livingstone y pryd hwn yn ymyl y darganfyddiadau hynny y collodd ei fywyd wrth eu chwilio allan. Ond ystyriai efe ei hunan yn rhwymedig i Sekeletu a llwyth y Makololo; felly penderfynodd brysuro yn ol i Linyanti. Cyrhaeddasant yn ol i brifddinas Sekeletu yn ddiangol; a mawr oedd y syched am glywed y newyddion rhyfedd! Galwyd cynnadledd, ymha un y darfu i'r fintai fyned tros eu hanes, a'u syniadau am y môr, a grybwyllwyd eisoes, ac am eu bod wedi gweled y dynion gwynion yn swyno eu hysbrydion, yr hyn oedd eu desgrifiad o wasanaeth crefyddol (Pabaidd) yn eglwys gadeiriol Loanda. Mor foddhaol oeddynt ar eu taith, fel nad oedd prinder gwirfoddolion ar gyfer y daith arall i lawr wedi hynny i'r arfordir dwyreiniol.

Nid hir y bu Livingstone yn dawel yn Linyanti cyn cychwyn ar y daith i lawr y Zambesi; ac ym mis Tachwedd, 1855, dechreuodd yr hynt honno. Cynnysgaethwyd ef gan Sekeletu â 200 o ddynion, a llawer o bethau eraill angenrheidiol iddo; a gwnaed hyn gan y brodorion ar y dealltwriaeth mai yn eu *hinterest* hwy yr ymgymerai â'r fath drafferth. Un o'r pethau rhagoraf a

wnaeth Livingstone ydoedd deffro yn y bobl hyn ryw awydd angerddol am wellhâu eu hunain ac ymgyrhaedd at fywyd uwch.

Yr oedd y daith i lawr i'r dwyrain rywbeth yn debyg i'r un i Loanda, ond yn unig eu bod y tro hwn, dybygid, yn cael canlyn y Zambesi i *lawr*, a'u bod wedi darganfod un o'r gwrthddrychau mwyaf ardderchog yn Affrica, os nad yn yr holl fyd. Hwn ydoedd rhaiadr mawr y Victoria, neu fel y gelwid ef gan y brodorion, Mosio-atunya, ystyr yr hyn, yn eu hiaith hwy, a olyga ewyn-dyrfus *(smoke-sounding)*. Tebyg mai dyma yr unig engraifft yn Affrica i Livingstone roddi enw Ewropeaidd ar ddim, neu gyfnewid yr enw o'r hyn ydoedd yn flaenorol; ond gellid yn hawdd maddeu iddo pan yr ystyriom arddunedd yr olygfa, a'r un a roddes, a'r ffaith mai efe oedd yr Ewropead cyntaf a'i canfu. Y mae y fath neillduolrwydd o rywbeth heblaw maintioli yn perthyn i'r rhaiadr hwn, fel y gellir ei ystyried yn enhuddo rhaiadr mawr yr America—y Niagara. Nid disgynfa dros ddibyn o glogwyn naturiol ydyw fel rhai-adrau yn gyffredin. Tybier fod afon fawr y Zambesi, yr hon, ar ddwfr isel, sydd yn y fan honno yn ddim llai na mil o latheni o lêd, a'i gwely yn graig halenaidd; a thybier fod agen doredig yn rhedeg ar ei thraws o'r lan ddeheuol i'r lan chwith, agorfa dyweder o 80 troedfedd i 100 o lêd, ac afon o'r llêd a nodwyd yn disgyn i'r agen, dyfnder o tua chan' troedfedd, ac yna yn cael eu gwasgu i le cul o tua phymtheg llath. Y canlyniad ydyw fod yr olygfa yn anghydmarol, ac eto yn guddiedig ar y cyntaf. Yr ydys yn colli yr olwg ar yr afon—y mae fel yn cael ei llyncu i'r ddaear, a'r unig beth a welir ydyw pum' colofn o ewyndarth yn ymgyfodi i fyny i'r awyr, a'r rhai hynny â dwy enfys ysplenydd yn chwareu eu pelydrau arnynt pan y gwelodd Livingstone hwynt. Ond i ba le y mae y dwfr yn myned? Ar ol i'r teithiwr, o herwydd ei bod yn drai isel, lwyddo i gyrhaedd ynys fechan brydferth ar ganol yr afon, yr hon a orweddai megis ar wefus yr agen, ac edrych i lawr y dyfnder, can-

fyddai fod yr agen, ar ol rhedeg ar draws yr afon, yn rhedeg yn fath o agorfa gul, ddofn, ar hyd ochr chwith yr afon am bellder o tua deng milldir ar hugain, a hynny drwy wlad fryniog; yna yr ydys yn cael yr afon yn cael ei hadfer yn ol i'r wyneb drachefn megis. Ymgyfyd y colofnau hyn o ewyn i uchder o tua 300 o droedfeddi, a disgynant yn ol yn wlaw trwm dros gymydogaeth y rhaiadr. Ymddengys y coedydd a'r ffrwythlondeb o amgylch y lle y tu hwnt i bob desgrifiad o brydferth; ac y mae Livingstone, er mor fanwl y ceidw at ffeithiau noethion yn ei holl adroddiadau, ymron a barddoni wrth ddesgrifio y rhaiadr hwn, ac yn haeru, er mai efe oedd yr Ewropead cyntaf i'w weled, y rhaid fod angelion lawer tro wedi sefyll mewn edmygedd uwchben y lle. Pa fodd bynnag, nis gwyddom ond am un dosbarth o bethau y maent hwy yn *chwennychu* edrych—yn *plygu* i lawr i edrych arnynt.

Ar ol myned heibio i'r olygfa ardderchog hon, prysurasant i lawr yr afon i gyfeiriad yr arfordir dwyreiniol. Ymddengys mai dyma y darn mwyaf ffrwythlawn o'r cyfandir i gyd; o leiaf dyry Livingstone rai o'r desgrifiadau prydferthaf a welsom erioed o hono, yn unig fod olion pechod yn mallu pob golygfa. Fel yr oeddynt yn agosâu at yr arfordir hwn, fel yr un arall ar yr ochr orllewinol, yr oeddynt yn cael teithio yn anhawddach. Yn debyg i Angola a Loanda, felly yma, yr oedd y gorsafau Portugïaidd wedi creu gelyniaeth rhyngddynt â'r gwahanol lwythau, fel mai gyda'i fywyd yn ei law megis y cyrhaeddodd Livingstone i Quilimane ar du y dwyrain i'r cyfandir. Ond fe orchfygodd gonestrwydd a hunan-feddiant y teithiwr bob gwrthwynebiad, a gwnaeth lawer o gyfeillion iddo ei hunan ymysg y llwythau gelynol hynny; a chafodd grwydro ar draws cyfandir Affrica, yn ol a blaen, *heb gymaint a thanio ergyd mewn hunan-amddiffyniad.*

Ar Fai yr 20fed, 1856, cyrhaeddodd Quilimane, ymhen tua phedair blynedd ar ol ymadael o Cape Town yn y Penrhyn; ac un o'r prif ddarganfyddiadau a

wnaeth, yn ei eiriau ef ei hun, ydoedd—"Fod llawer iawn o bobl dda yn y byd; ac yr wyf yn dyrchafu fy niolchiadau gwresocaf i'r Un Trugarog a gysgododd troswyf ymhob cyflwr, ac a dueddodd feddyliau dynion duon a gwynion i fod yn garedig wrthyf."

Cafodd long yn fuan i gyrhaedd Mauritius, ac oddiyno i Loegr. Ar y cyntaf, teimlai ei hunan yn anystwyth yn yr iaith, heb siarad yr un gair o honi er ys tair blynedd a hanner, na nemawr o honi er ys tair blynedd ar ddeg. Daeth un o'r brodorion gydag ef; ond gan ddyeithrwch y golygfeydd, ac yn neillduol yr olwg ar y môr, aeth yn wallgof, a rhuthrodd dros y bwrdd i'r môr cyn cyrhaedd y Mauritius. Dyma fraslun o helyntoedd ei hynt gyntaf i Affrica,—yn cyrhaedd o'r flwyddyn 1840, pryd y glaniodd gyntaf, hyd y flwyddyn 1856, tymor o un ar bymtheg o flynyddoedd.

# CAMLAS SUEZ.

## I.

PAN y mae y gamlas sydd yn rhedeg drwy y can' milldir o dywot-tir a orwedd rhwng y Môr Coch a Môr y Canoldir ar dafod bawb, gwreng a boneddig, efallai nad annyddorol fyddai cyfleu gerbron y darllennydd rai ffeithiau o berthynas iddi. Yng nghorph ychydig o amser y mae tô newydd o ddarllennwyr yn cyfodi, ac i'r rheiny, o leiaf, bydd ychydig o hanes yr anturiaeth hon yn adeiladol; ac efallai nad ydyw cof yr hen ddarllennwyr mor ragorol fel nad oes eisieu adgofio iddynt hwythau bethau ag y mae prysurdeb eu bywyd, a ffwdan eu hamgylchiadau, o bosibl wedi eu rhwbio i fesur o'u cof.

Nid peth diweddar, fodd bynnag, ydoedd y syniad am agor mynedfa drwy y gyddf-dir sydd yn gwahanu y ddau fôr. Darfu i'r syniad feddiannu yr Aiphtiaid eu hunain yn fore iawn; ganrifau cyn y cyfnod Cristionogol yr oedd cenedloedd ereill, o gymydogion iddynt, oeddynt genedloedd morwrol, yr hyn nad oeddynt hwy, â'u llygaid yn agored am agorfa i gysylltu morwriaeth y Gorllewin a nwyddau gwerthfawr yr India. Yr Aiphtiaid nid oeddynt genedl o forwyr; felly, nid camlas i longau masnachol i fyned drwyddi o un pwynt i bwynt arall cyferbyniol iddo o'r belen ddaearol oedd eu syniad hwynt; eithr camlas o ddwfr croyw i wasanaethu amcanion eu gwlad eu hunain.

Wrth edrych ar ei safle, fe welir fod yr Aipht, ar ei thu gogledd-ddwyreiniol, yn hollol noeth ac yn agored i ymosodiadau gelynion o'r tu allan. Mewn trefn i'w hamddiffyn, adeiladwyd rhes o amddiffynfeydd, y rhai heblaw amddiffyn y wlad, oeddynt hefyd yn nodded i'r

marchnatawyr, y rhai a ddeuent i lawr i'r Aipht er yn fore. Drachefn, nis gallesid mewn gwlad ydoedd yn dywot-tir crasboeth gynnal i fyny amddiffynfeydd felly heb ddwfr croyw. Y canlyniad ydoedd tori camlas mor fore a Ramses Fawr, beth bynnag, os nad cynt er cario cyflawnder o ddwfr yr afon; ac yna, lle bynnag y deuai y dwfr croyw gynt fel yn awr, parai ffrwythlondeb a chynnyrch. Felly agorwyd y camlesydd gynt, gan yr hen Aiphtiaid, er ffrwythloni y tir, cyflenwi yr amddiffynfeydd, a bod yn fath o amddiffyn rhag ymosodiadau y llwythau barbaraidd o'r anialwch. Dyna sydd yn cael ei olygu, dybygid, yn Esaiah xix. 6, pan y dywedir, "Y ffrydiau amddiffyn a ddyhysbyddir ac a sychant." Ac felly hefyd y maent—ceir gweddillion hen gamlesydd mewn amryw gyrion o wlad yr Aipht, yr hyn sydd yn dangos syniad bore yr Aiphtiaid am danynt.

Ond yn bur fore fe ddyheuai y cenedloedd amgylchynol iddynt, megis y Pheniciaid a'r Groegiaid, am fynedfa drwodd i'r Môr Coch. Yr oedd eu llongau yn archwilio pob congl o Fôr y Canoldir, a diflas ddigon iddynt ydoedd cael eu gwthio yn ol rhag myned i'r Môr Coch gan ryw wddfdir cul, llai na chan' milldir. Yr oedd ganddynt fynedfeydd i bob man arall o Fôr y Canoldir; ar ei gwr de-ddwyreiniol yn unig yr ydoedd yn gauedig. Onid ellid agor y gongl honno hefyd? Er nad oedd yr Aiphtiaid yn genedl forwrol, eto y mae yn amlwg eu bod er yn fore, fel y prawf eu pyramidiau, eu temlau, a'u camlesydd, yn genedl o beiriannwyr. Hawdd ydoedd perswadio cenedl felly i gymeryd i fyny y drychfeddwl o hollti eu gwlad o fôr i fôr â chamlas. Gwnaed llawer cais, fel yr ymddengys, at gyrhaedd yr amcan. Am un cais, dywedir ddarfod i 120,000 o Aiphtiaid farw wrth geisio ei wneyd; a darfu i'r oracl ddyweyd wrth frenin yr Aipht am ei roddi i fyny, gan na fyddai y gamlas o fantais i neb ond i'r barbariaid. A phwy oedd y barbariaid, ysywaeth, ond yr hen Pheniciaid celfyddgar! Tybir ddarfod cwblhau rhyw fath o gamlas ar un adeg, os nad mwy nag un, ond ddarfod ei

gollwng yn fuan i annhrefn. Dywedir ddarfod i Cleopatra, brenines yr Aipht, ar ol brwydr Actium (c.c. 31), pan y dychwelai gyda Marc Antoni i'r Aipht, geisio dwyn ei llongau dros wddf-dir Suez, er mwyn dianc rhag i'w thrysorau syrthio i ddwylaw Octavius. Dywedir ddarfod adgyweirio y gamlas gan y Rhufeiniaid, os nad hefyd wneyd un arall; canys fe gysylltir, mewn hanesiaeth, gamlesydd ag enwau Trajian ac Adrian. Yn y canol-oesoedd, darfu i'r prif-fordwywyr a drigent ar lennydd Môr y Canoldir—y Venetiaid a'r Genoaid—ailgyfodi y syniad, oblegid yn eu dwylaw hwy, gan mwyaf, y pryd hynny, yr oedd y fasnach â'r Dwyrain. Prif nod uchelgais mordeithwyr yr adeg honno oedd cael ffordd i India. Darganfyddodd Columbus yr America wrth geisio dod o hyd i lwybr i India. Y fath ydyw darganfyddiadau pwysig. Tua'r un adeg darganfyddodd y Portugiaid y ffordd i India heibio i Benrhyn Gobaith Da! Effeithiodd hyn i beri dwyn India mor agos i Holland a Lloegr ag ydoedd i fasnachwyr glannau Môr y Canoldir; a pharodd chwyldroad hollol ym masnach y Gorllewin a'r Dwyrain. Ar ol hyn, pan yr adnewyddodd y syniad am gamlas i uno Môr y Canoldir â'r Môr Coch, yr oedd y peth yn gwisgo gwedd newydd, oherwydd fe'i gosodid allan fel mewn cydymgais â Lloegr, oblegid mai yn ei llaw hi, gan mwyaf, yr ydoedd y fasnach âg India erbyn hyn. O hynny hyd yn awr y mae y drychfeddwl fel pe byddai wedi bod yn llaw gelynion Prydain yn bennaf. Dywedir i'r athronydd Leibnitz, yng nghanol prysurdeb ei ymchwiliadau athronyddol, awgrymu i'r penadur Louis XIV. y prioddoldeb o agor camlas drwy y llain tir hwn. Bu amryw benaduriaid a thywysogion yn breuddwydio am y peth, a darfu i Napoleon I. fyned mor bell a rhoddi Lepere, ei beiriannydd, i archwilio y lle; yr hyn a wnaeth dan anfanteision dirfawr, a hyd yn nod perygl o'i fywyd, meddir. Rhoddes adroddiad anobeithiol ar y cyfan, gan wneuthur hefyd y camgymeriad o roddi *level* y Môr Coch yn uwch o 33 o droedfeddi na Môr y Canoldir.

Tystiai Laplace, a gwyddonwyr ereill, fod hynny yn anmhossibl, yr hyn a droes allan yn ynfydrwydd perffaith, gan fod *level* y ddau fôr o fewn ychydig i fod yn gydwastad. Tebyg hefyd ddarfod i Napoleon, gyda'i graffder arferol, ganfod y byddai y gamlas yn sicr o syrthio i ddwylaw y gallu morwrol cryfaf, a Lloegr oedd hwnnw; felly, odid na chanfu y cadnaw hwnnw mai gwell iddo ef ydoedd gadael India yn gloedig, mor bell ag yr oedd ffordd iddi drwy yr Aipht yn y cwestiwn. Darfu i'r syniad am Gamlas Suez fyned o'r golwg am agos i hanner canrif; ond nid aeth o'r golwg yn llwyr, yn enwedig yn Ffrainc.

## II.

Gadawsom y gamlas, y tro o'r blaen, yn ddrychfeddwl yn unig, ac yn dreftadaeth naturiol gelynion Prydain, y rhai yn eu hawydd am dreiddio i'r Dwyrain o'i blaen hi oeddynt yn tybied y gellid hollti agen o'r naill fôr i'r llall, er mwyn cyrhaedd India drwy y Môr Coch yn gynt nag y gallai Lloegr gyrhaedd yno heibio y Penrhyn. Y mae corphori y drychfeddwl hwn, a'i wneyd yn ffaith, yn gylymedig â hanes un dyn, a'r dyn hwnnw yn Ffrancwr, wedi ei ddwyn i fyny a'i ddysgu i fod yn gydymgeisydd, os nad yn elyn, i Loegr—y dyn hwnnw yw Ferdinand de Lesseps. Fe adawyd i'r Ffrancwr hwn droi breuddwydion tywysogion cyfoethog, dylanwadol, yn ffeithiau; iddo ef y perthyn yr anrhydedd o gyfieithu y drychfeddwl i ffaith beiriannol, a throi drachefn y ffaith beiriannol i fod fel y mae yn awr yn gwestiwn arianol a masnachol.

Ganwyd F. de Lesseps yn Versailles, y 10fed o Dachwedd, yn y flwyddyn 1805; felly y mae yn hynafgwr deunaw a thriugain oed yn awr (1883). Yn fuan cymerwyd ef i mewn i'r gwasanaeth trafnoddol *(diplomatic)* Ffrengig, a throwyd ei sylw a'i lafur yn fuan yng nghyfeiriad yr Aipht a'r Dwyrain. Wedi bod draw ac yma yn y gwasanaeth, weithiau mewn swyddau is-raddol, yna yn cael dyrchafiadau; weithiau yn llwyddiannus, weithiau yn aflwyddiannus; dibennodd ei gysylltiad trafnoddol yn 1850, oherwydd i'r Llywydd Ffrengig—llywydd y Weriniaeth y pryd hynny, ymherawdwr wedi hynny—Louis Napoleon, chwareu y ffon ddwybig âg ef, a'i ddefnyddio i dynnu cnau o'r tân iddo ef trwy ei ddanfon i Rufain. Ond daethant yn gryn ffryndiau ar ol hynny. Y fath ydyw ynni y Ffrancwr hwn fel y darfu iddo droi yr hyn a fuasai yn ddinystr i yrfa llawer un yn ddechreuad cyfnod newydd o lwyddiant dihafal. Yn un o'i deithiau boreuol yn yr Aipht gorfu iddo aros

amryw ddyddiau mewn *quarantine* gerllaw Alexandria, a chan nas gallai oddef seguryd, danfonodd at y trafnoddwr Ffrengig am lyfrau i'w darllen. Yn mysg pethau ereill fe ddanfonwyd iddo *Consulati*, Adroddiad Lepere, peiriannydd Napoleon I., yr hyn a barodd iddo droi ei sylw yn neillduol at y priodoldeb o gael agorfa drwy Yddfdir Suez. Yr oedd hyn yn 1831. Yn 1838 cyfarfu â swyddog yn perthyn i'r fyddin Brydeinig—Lieut. Waghorn—dyn a dreuliodd ei oes i chwilio am ryw ffordd ferach i India na heibio Penrhyn Gobaith Da; a dyn, y mae yn ddrwg gennym ddywedyd, a adawyd gan John Bull i farw mewn tlodi yn Llundain yn y flwyddyn 1850. Tebyg pe buasai wedi lladd mwy o ddynion, a dyfeisio llai o gynlluniau heddychol, y cawsai efe a'i deulu ymgreinio mewn blwydd-daliadau! Chwareu têg i M. de Lesseps, y mae ef wedi enwi lle ar ben y Môr Coch i'r gamlas yn Gei Waghorn *(Waghorn Quay)*, ac wedi adeiladu yno gof-adail am y swyddog Seisnig. Er cywilydd i ni yr ydym yn dywedyd hyn. Y mae y peth yn anrhydedd i ben a chalon y Ffrancwr y mae cymaint o feirniadu arno y dyddiau hyn.

Un o ffodion oes M. de Lesseps ydoedd ei gyfeillgarwch â theulu Mehemet Ali, llywydd yr Aipht, yn enwedig â Mohammed Said, yr hwn a ddaeth i'r orsedd ar ol marwolaeth ei frawd, Abbas Pasha. Yr oedd Lesseps yn gyfaill personol i Said Pasha, a'r foment y daeth ef i awdurdod caffai bob mantais i'w gynllun y gallai yr Aipht ei rhoddi iddo; ac wrth gwrs, yn gymaint ag mai drwy y wlad honno yr oedd y gamlas i fyned, yr ydoedd hyn yn gaffaeliad anmhrisiadwy iddo. Hwyrach y dylasem ddyweyd yn gynt nad ydoedd y gwahanol wledydd yn hollol ddall i'r pwysigrwydd o gael rhyw ffordd gynt i drafodaeth â'r Dwyrain na heibio trwyn y Penrhyn. Yn 1847 darfu i Loegr, Ffrainc, ac Awstria, ddanfon allan beiriannwyr i wneyd adroddiad —i wneyd allan *levels* y ddau fôr, ac i edrych i mewn i'r posibilrwydd o dorri camlas o'r naill fôr i'r llall. Cawsant allan yn fuan fod *level* y ddau fôr yn hollol gyd-

wastad. Yr unig wahaniaeth a gawsant ydoedd fod 6½ o droedfeddi o lanw yn un pen, a dim ond 1½ yn y pen arall i'r gamlas gynygiedig. Enwau y peiriannwyr oeddynt Robert Stephenson, M. Talbot, a Signor Nagrelli. Yn anffodus i'r gamlas, yr ydoedd Stephenson gyda'r rheilffyrdd fel y crydd gyda'r lledr, yn barod i gadarnhau nad ydoedd dim fel *railway*, ac felly, yn ol ei gynllun ef, fe wnaed ffordd haiarn o Suez, glan y Môr Coch, i Cairo, i gael ei chysylltu â'r *railway* oddi yno i Alexandria. Hon yw yr *overland route* a agorwyd yn 1858 i gario teithwyr a llythyrau o India ac Awstralia. Ond nid oedd hyn i ddinystrio, yn enwedig yn Ffrainc, y drychfeddwl am gamlas; ac mor fuan ag y daeth Said Pasha i orsedd yr Aipht prysurodd M. de Lesseps yno i'w longyfarch ac i osod ei gynlluniau o'i flaen. Neillduolrwydd cynllun Lesseps, yn anad yr un o'r blaen, ydoedd ei fod yn cynllunio torri camlas mewn *llinell unionsyth* o'r Môr Coch i Fôr y Canoldir, ac nid gwneyd un i fyny i'r Nile yn ymyl Cairo, ac yno ymuno â'r afon a dyfod allan i Fôr y Canoldir yn Alexandria. Dyna, dybygid, ydoedd llinell yr hen gamlesydd. Er fod cynllun Lesseps yn byrhau hyd y gamlas, eto yr oedd yr anhawsderau peiriannol, yn ol y cynllun hwn, yn ychwanegu yn ddirfawr. Yr oedd rhaid ffurfio porthladdoedd celfyddydol ymhob pen i'r gamlas, ac nid gorchest fechan ydoedd hon, yn enwedig yn y pen ydoedd yn ymagor i Fôr y Canoldir. Gan fod y Nile yn cario tua deng miliwn ar hugain o latheni *cubic* o dywod-faw i lawr bob blwyddyn i'r môr, a hwnnw yn cael ei gludo gan y llanw, a'i chwythu gan y gwynt, i gyfeiriad dwyreiniol, nes cyrhaedd y fangre lle y mae yn awr Port Said—y porthladd sydd ar ben Môr y Canoldir i'r gamlas, yr oedd raid cario y porthladd allan tua 5 milldir i'r môr. Nid oedd meini o fath yn y byd i'w cael bellder mawr o'r lle; felly yr ydoedd yr anhawsderau braidd yn anorchfygol. Ond rhaid i ni roi y gair "braidd" i fewn gyda Ffrancwr, yn enwedig un a grewyd, dybygid, heb ofn. Hyd yn hyn, nid oedd ond

breuddwydio a chynllunio wedi bod, ond dyma ddyn i'r maes sydd yn benderfynol o'i gario o dir breuddwydion, a'i gario allan ei hunan, heb ddisgwyl wrth na llywodraeth na chyfrin-gynghor. Daeth ei gyfaill Said Pasha i'r orsedd yn 1854, a phan ydoedd M. de Lesseps gartref yn Ffrainc, naw mlynedd ar hugain yn ol, yn gwneyd rhyw ychwanegiadau at balas ei hynafiaid yn La Chenaic, rhoddwyd llythyr yn ei law yn hysbysu y newydd, a buan y gadawodd bob peth ac y prysurodd i'r Aipht. Derbyniwyd ef fel cyfaill gan Mohammed Said, ac nid hir y bu yntau cyn cael adeg ffafriol i osod ei gynllun gerbron y llywydd. Bump o'r gloch y boreu, yn ol ei eiriau ef ei hun, y 13eg o Dachwedd, y flwyddyn 1854, y mae yn canfod enfys ysblenydd yn rhychwantu y ffurfafen o'r dwyrain i'r gorllewin. Dyna ddigon i Ffrancwr hanner-ofergoelus—dyna arwyddlun mawreddog o undeb; yr un dydd, gan hynny, gesyd ei ddyfais o flaen Said Pasha am ei gymeradwyaeth. Syrth y Pasha, yr hwn sydd ddyn uwchlaw ei hiliogaeth mewn craffder a chydymdeimlad â gwelliantau, mewn cariad â'r cynllun; addawa bob cynorthwy. Ond gwyr Lesseps nad ydyw geiriau tywysogion bob amser i ddibynnu arnynt; felly myn ef gael ar ddu a gwyn ganiatad a chynorthwy y Pasha. Yn Nhachwedd, 1854, tynwyd allan ddrafft o'r cytundeb y clywsom gymaint am dano yn ddiweddar. Cynnwysa 12 o erthyglau, ac yn *un o'r rheiny* y mae y frawddeg y clybuwyd cymaint am dani yn ddiweddar—*exclusive power (pouvoir exclusif)*—yr unig hawl i dorri camlas ar draws Culdir Suez. Tynwyd allan, fodd bynnag, weithred arall yn Ionawr 5, 1856, yn cynnwys 23 o erthyglau; ond nid oes coffhâd yn yr un o'r rheiny am y frawddeg uchod. Yr ydym wedi mynd gymaint a hynyna o'n ffordd er ceisio taflu goleuni ar yr hyn y dadleuir cymaint arno yn awr. Nid oes gennym ofod, fodd bynnag, yn awr i ddangos gymaint o lafur a gymerodd, a dilyn ysgogiadau chwimwth M. de Lesseps o fan i fan ar ol cael y caniatad hwn—cawn olrhain hynny yn ein nesaf.

III.

Gadawsom Lesseps, y tro o'r blaen, wedi cael caniatad gan Lywydd yr Aipht i dorri y gamlas; ond yr oedd un cwestiwn yn aros—Pa le y ceid yr arian? Hawdd cael caniatad gan y llywydd; ond nid oedd ganddo arian; y mae llywyddion yr Aipht wedi bod er's oesoedd mor dloted a llygoden eglwys! Am un pedair blynedd, ar ol y caniatad, yr oedd y Ffrancwr yn ddrych i dosturi. Chwerddid am ei ben fel penboethyn. Daeth drosodd i Loegr i gardota am yr arian angenrheidiol. Ciliai arianwyr mawrion goludog Llundain oddi wrth y ddyfais fel gwely anobeithiol i filiynau o bunnau. Dirmygai Arglwydd Palmerston y cynllun fel breuddwyd gwrach. Y tu ol i'r holl wawdiaeth yma yr oedd eiddigedd politicaidd, o bosibl, wrth wraidd y cyfan. Ofnid y byddai y buddiannau Prydeinig mewn perygl, ac y mae pob peth i roddi ffordd i'r rheiny. Daeth y gamlas, modd bynnag, yn boblogaidd yn Ffrainc oherwydd ein gwrthwynebiad ni.

Er nad oedd y llwyddiant arianol fel y buasid yn disgwyl, ar y 25ain o Awst, 1858, dechreuwyd ar y gamlas. Y mae hi yn rhedeg am agos i gan' milldir, yn union o'r gogledd i'r dê—o Port Said ar lan Môr y Canoldir, hyd Suez ar lan y Môr Coch. Nid oedd raid torri camlas yr holl ffordd, oblegid yr oedd llynnau mawrion—bedwar ohonynt, yn gorwedd ar linnell y gamlas. Enwau y llynnau ydynt:—Meujalah, Ballah, Timsah, a'r Bitter Lakes. Mae y cyntaf heb fod ymhell o Port Said, Timsah yng nghanol y gamlas, a thref Ismailia ar ei lan, a'r Bitter Lakes rhwng Ismailia a'r Môr Coch. Y mae y llynnau tua 60 milldir, gan adael tua 40 o dywot-tir i dorri drwyddo. Cafnau dyfnion ydoedd rhai ohonynt, nad oedd eisieu namyn gollwng y dwfr iddynt; ereill, yr oedd raid crafu camlas i longau ar hyd eu gwelyau, gan mor fâs oeddynt. Darfu i Lywydd yr Aipht dalu rhyw

gymaint o'r treuliau uniongyrchol, a chwilio am 25,000 o weithwyr, y rhai oeddynt i gael eu porthi gan gwmni y gamlas, a chael eu newid bob tri mis. Yr anhawsder oedd cael dwfr croew i'r fath lu mewn anialwch crasboeth. Darparwyd 4,000 o gasgiau cymhwys i gario dwfr ar gefnau camelod, a huriwyd camelod yn ol 1,600 y dydd, at y gôst o 8,000 *francs* y dydd! Yn 1863 fe gafwyd y gamlas i ddwfr croew, yr hyn a wnaeth gario dwfr ar gefnau camelod yn ddiangenrhaid. Ar y 18fed dydd o Fawrth, 1869, fe ollyngwyd dyfroedd Môr y Canoldir i wely mawr, dwfn, y Bitter Lakes. Yr oedd dyfroedd y Môr Coch wedi cyrhaedd yno o'u blaen. Dywedir mai nid rhyw gynhes iawn oedd y garwriaeth rhwng tonnau y ddau fôr ar y cyntaf; ond ymbriodi fu raid, er hyrwyddo masnach y byd. Yr oedd y draul o wneyd y gamlas yn 19 o filiynau o bunnau; talwyd 12 miliwn o'r swm hwn gan y cyfranddalwyr, a'r gweddill gan y Khedive. Camlas ddrudfawr a fu hi i'r Llywodraeth Aiphtaidd. Bu y llywydd braidd yn hael—yn rhy hael—yn ei ganiatad, ac wrth dynnu yn ol rhaid oedd iddo dalu yn ol i'r cwmni. Gwnaeth y llywydd luaws o aberthau. Yn 1869 yr oedd y cwmni mewn angen. Nid oedd gan Lywydd yr Aipht arian parod; ond yr oedd ganddo 176,602 o gyfrannau, a'r hyn a allai efe a'i gwnaeth, sef torri ymaith y *coupons* a berthynai i'r *shares* a boddloni am bum' mlynedd ar hugain i fod heb dim llôg nac ennill. Darfu i'r cwmni gyfodi arian ar y *coupons*. Mae hyn oll yn ddyddorol, oblegid erbyn hyn eiddo Prydain Fawr ydyw y cyfrannau hynny. Y mae pawb un ai yn cofio neu wedi clywed am y pwrcas rhyfedd, sydyn, a dirgelaidd a wnaeth Mr. Disraeli. Er i'r Khedive roi ymaith ei hawl i lôg ac ennill am 25 o flynyddoedd, eto yr oedd y cyfrannau yn eiddo iddo. Ond yn 1875 gwybuwyd fod y llywydd mewn tlodi mawr, ar gael ei werthu i fyny, neu ei fwyta yn fyw. Clybu Iarll Beaconsfield fod y *shares* yn y farchnad; a thrwy gynhyrfiad ysprydoliaeth athrylith (medd ei edmygwyr) prynnodd hwynt, a tharawyd y fargen. Talasom am

danynt bedair miliwn o bunnau! Ni thalent lôg hyd 1894. Erbyn heddyw y mae *shares* y cwmni yn werth cymaint bum' gwaith a'u gwerth gwreiddiol! Y fath ydyw llwyddiant y Ffrancwr y bu Prif-weinidog un o'r gwledydd mwyaf cyfoethog ac anturiaethus yn y byd yn chwerthin am ei ben; a Phrif-weinidog arall, yr un wlad, ar ol hynny, mor ffodus a phrynnu afalau o'i fasged. Pwy a warafuna i M. de Lesseps ei ddial, a phwy na chred y gall Sion Bwl yntau weithiau wneuthur rhai camgymeriadau?

Am y gamlas, y mae yn llwyddiant perffaith; ond yn unig ei bod yn rhy gul mewn rhai mannau, ac heb fod yn ddigonol i'r nifer aruthrol o dunelli sydd yn myned drwyddi. Mae wedi byrhau y pellder o Lundain i Bombay o 12,903 o filldiroedd i 7,028; y pellder o Lundain i Hongkong o 15,229 i 11,112 o filldiroedd. Mae y fasnach drwyddi wedi agos a dyblu rai o'r blynyddoedd diweddaf. Anffodus ydyw ei bod mor gul, ac yn culhau. Yr ydoedd i fod yn 300 o droedfeddi o led ar wyneb y dwfr; ond nid ydyw yn awr, mewn mannau, yn ddim byd tebyg i hynny. Yr ydoedd i fod yn 76 o led yn y gwaelod ac yn 26 o ddyfnder. O ran y fordaith drwyddo y mae yn debyg ei fod y dernyn mwyaf annyddorol o ddaear Duw, dim ond tywot-tir di-ben-draw; yn unig gall yr ysgrifennydd ddyweyd mai yno y gwelodd y *mirages* mwyaf gogoneddus a welodd erioed. Nis gellir gweled dim braidd oddi ar y llongau bychain sydd yn perthyn i Lywydd yr Aipht, ac yn cario teithwyr ol a blaen o Ismailia i Port Said; ond oddi ar fyrddau rhai o'r llongau mawrion sydd yn dod o India ol a blaen, ceir gweled yr anialwch i'r pellder a fynnir. Y mae y swyddogion a berthyn i'r cwmni, gan mwyaf, yn Ffrencwyr, ychydig nifer yn Maltese, ac allan o tua chant o *pilots* dywedid i ni nad oedd ond rhyw nifer fechan iawn yn gallu siarad Saesoneg, a dim ond un yn Brydeiniwr o waed! A hyn oll, pan y mae 92 y cant o'r llongau sydd yn myned trwodd yn llongau Prydeinig! Ceir ychydig o bysgod mewn rhai rhannau

ohono, ond nid ydyw heigiau mawrion pysgod y Môr Coch, fel yr ymddengys, eto wedi gwneyd mordaith drwodd. Tybir eu bod yn cael eu dychryn, neu fod y Bitter Lakes, oherwydd yr *evaporation* parhaus ohonynt, yn myned yn rhy heilltion i'r pysgod ddyfod drwyddynt. Mae pysgod bychain blasus yn llyn Timsah, a thref fechan brydferth Ismailia ar ei lan. Gerddi teg Ismailia ydynt amheuthyn mawr yng nghanol y crasdir poeth. Mae dau ben y gamlas hefyd wedi rhoddi bod i drefi bywiog Port Said a Suez.

Am y gamlas, fel cwestiwn politicaidd, nid oeddym wedi addaw i ni ein hunain o fod i lefaru dim; yn unig dywedwn hyn, gwell ydyw dyfod i'r telerau goreu y gellir âg M. de Lesseps. Ganddo ef y mae y pen praffaf i'r ffon yn awr. Yn annibynol ar ganiatâd hollol, fel ag i gau eraill allan, y mae ganddo feddiant llwyr o beth arall sydd fwy ei werth, sef y dwfr croew. I bawb sydd yn deall y lle, eglur yw fod hyn yn bob peth. Nis gellir gwneyd camlas arall i'r dwyrain i'r un bresennol, gan gwmni arall, oblegid pa fodd y ceir y dwfr croew? Nis gellir gwneyd un o Alexandria i Cairo, ac oddi yno i lawr i Suez, heb iddi fyned dan y Nile, neu drosti, neu iddi; yr hyn fyddai yr un peth a'i throi i fod yn afon o ddwfr hallt! Dealltwriaeth â'r Ffrancwr raid gael.

# YR ARF-LYNGES YSBAENAIDD YN 1588 YN EI PHERTHYNAS A PHROTESTANIAETH Y DEYRNAS HON.

I.

AR y 29ain o fis Tachwedd, dri chan mlynedd i'r diweddaf, aeth y frenines Elisabeth, yn marchog gyda rhwysg a mawredd mewn cerbyd a dynnid gan bedwar o feirch gwynion, i Eglwys Sant Paul yn Llundain; ac yr oedd llawenydd mawr drwy y ddinas a thrwy y deyrnas oll. O flaen yr eglwys cyhwfennid un ar ddeg o fanerau, a ddygasid oddiar yr Yspaeniaid; ac wedi pregeth o'r pulpud careg, o dan groes St. Paul, lle byddai Latimer a Ridley yn arfer pregethu, cyfododd y frenines i annerch ei deiliaid, ac i'w hannog i gydnabod y Llaw Drugarog ydoedd wedi gwasgar eu caseion, amddiffyn ei gorsedd hithau, a dyogelu eu rhyddid a'u bywydau hwythau. Dydd diolch ydoedd am waredigaeth y wlad rhag ymosodiad yr Arf-lynges Yspaenaidd, a gyfenwid yr Arf-lynges Anorchfygadwy *(The Invincible Armada).* Yr oedd llawenydd cyffelyb drwy holl wledydd Protestanaidd y Cyfandir. Yn yr Iseldiroedd bathwyd dernyn newydd o arian er cof am y fuddugoliaeth, gyda darlun o'r llynges ar un tu iddo, a'r geiriau, "I Dduw y byddo y gogoniant," ar y tu arall; a'r geiriau awgrymiadol canlynol yn argraffedig o amgylch yr ymylon, "Hi a ddaeth, a aeth, ac a fu, A.D. 1588." Yn Genefa dathlodd Theodore Beza, yr esboniwr enwog, yr amgylchiad drwy gyfansoddi yn Lladin emyn ardderchog, gyfaddas i'r achlysur.

Ac onid oedd achos? Un o'r arwyddion mwyaf o wendid ein Protestaniaeth ydyw ein bod yn anghofio ei dyddiau mawrion. Gresynwn ddarfod i'r flwyddyn ddiweddaf fyned heibio heb i'r frwydr fawr, dri chan mlynedd yn ol, gael nemawr o sylw. Hyd ag y gwyddom ni, nid ysgrifenwyd ond ychydig am dani, a hynny yn y cyfnodolion hynny sydd, bob amser, yn cyfodi eu llef yn erbyn Pabyddiaeth, eithr yn gwneyd hynny fel pe cyfodai un "ei fwyell mewn dyrysgoed." Pa le y mae ein beirdd a'n llenorion Ofnwn fod ein gwlad yn hepian gyda golwg ar allu y Babaeth. Cyfleusdra ardderchog fuasai y flwyddyn o'r blaen i anhuddo ein brwdfrydedd Protestanaidd. Gwelsom un yn ysgrifennu, gydag anffaeledigrwydd oracl, nad ydoedd perthynas yn y byd rhwng yr Armada â Phrotestaniaeth; nad oedd a fynnai crefydd â'r amgylchiad o gwbl! Hwyrach mai perygl ein haneswyr, fel ein gwyddonwyr, yn awr ydyw gwthio eu darganfyddiadau yn rhy bell, a cheisio gosod eu damcaniaethau hoff eu hunain yn lle ffeithiau. Fe allai mai y peth nesaf ddywedir wrthym fydd, nad ydoedd y Diwygiad Protestanaidd ei hunan namyn mymryn o chwyldroad cymdeithasol, gyda Luther, Melancthon, Calfin a Swinglius yn flaenoriaid iddo; ac nad ydoedd rhyfel y Deng mlynedd ar hugain ond math o gythrwfl politicaidd bychan, gyda Gustavus Adolphus yn arweinydd iddo! Dyddiau drwg yw y rhai hynny y cytuna pawb i fod yn ddistaw am ffeithiau mawrion hanes Protestaniaeth, rhag digio eu cyfeillion sydd yn meddwl yn wahanol. Mae y gair Protestaniaeth wedi myned yn ysgymun gan lawer yn Eglwys Loegr; hyderwn nad ydyw wedi myned felly gan yr enwadau Ymneillduol. Y peth sydd eisieu ydyw galw i gof y dyddiau o'r blaen, yn y rhai y dioddefodd ein tadau ymdrech mawr o helbulon, i sicrhau i ni y dreftadaeth werthfawr o ryddid crefyddol sydd gennym.

Dylid cofio, modd bynnag, fod y Diwygiad Protestanaidd, o'r dechreu, wedi cymeryd ffurf ychydig yn wahanol ym Mhrydain i'r hyn ydoedd ar y Cyfandir.

Yno yr ydoedd yn gwisgo ffurf grefyddol i ddechreu, a gwleidyddol wedi hynny; yma, drachefn, dechreuodd yn wleidyddol a gorphenodd yn grefyddol; math o ddechreu yn y cnawd, a dybennu yn yr ysbryd. Yn yr Almaen a'r Yswissdir nid oedd unrhyw allu gwleidyddol, canolog, cryf, i ymaflyd yn y Diwygiad, ar ei doriad cyntaf allan, ac i geisio ei droi i'w amcanion ei hunan: felly yr oedd yr arwedd grefyddol arno yn cael perffaith chwareu teg i ymddadblygu. Yn Lloegr, ar y llaw arall, yr oedd un o linach y Tuduriaid, mab neu ferch, ar yr orsedd yn wastad; a chyda'r erthygl fawr honno yn eu credo am uwchafiaeth y goron, yn ceisio marchog y Diwygiad i'w mantais eu hunain, gan geisio crafangu i'w dwylaw eu hunain y gallu hwnnw a gymerwyd o ddwylaw y Pab. Er hynny, yr un a'r unrhyw ysbryd ydoedd yn y cyffrawd Protestanaidd yn yr unfed ganrif ar bymtheg, ymhob man. Ysbryd yr Arglwydd yn ymsymud ar wyneb y dyfnder ydoedd. Yr ydoedd yn ddigon politicaidd, ar y Cyfandir, i roddi ffurf newydd i lywodraethau, a pheri i dywysogion blygu iddo; yr ydoedd yn ddigon ysbrydol, ym Mhrydain, i wneyd Elisabeth, merch Harri VIII., yn Brotestant da, er nad yn Buritan o fath yn y byd; ac i gyfnewid, mewn un teyrnasiad, dôn grefyddol y wlad. A gornest fawr y Diwygiad Protestanaidd ydoedd y frwydr lyngesol yn y flwyddyn 1588. Pell ydym oddiwrth feddwl mai y frenines Elisabeth ydoedd Deborah y Diwygiad; eto dyma'r pryd y dialwyd dialeddau Israel, ac yr ymgymhellodd y bobl o ddifrif i dori ymaith yn llwyr oddiwrth Rufain. Am ddyweyd nad oedd dim perthynas rhwng yr Arf-lynges â Phrotestaniaeth, nid ydyw ond ynfydrwydd, gan fod pob peth yn profi yn wahanol. Nid ydym am wadu fod amcanion politicaidd mewn golwg; ond ymdrech fawr ddiweddaf y Babaeth ydoedd, drwy Phylip II. o Yspaen, fel offeryn, i feddiannu Prydain, ac i lindagu Protestaniaeth yma, yn yr Iseldiroedd, ac yn yr Almaen. Amcanai Phylip, mae'n ddiau, gadw ei uwchafiaeth ar y môr, a'i feddiannau ym myd newydd y Gorllewin;

dichon ei fod yn teimlo hefyd mai efe, ar ol Mari Stuart, o Ysgotland, a ddienyddiesid y flwyddyn flaenorol, ydoedd yr etifedd uniongred nesaf i orsedd Lloegr; ond ni phetruswn ddyweyd na buasai yr holl bethau hyn gyda'u gilydd yn cymhell un mor araf a Phylip i'r fath anturiaeth, ac i barotoi y fath lynges, oni bae fod rhywbeth arall mewn golwg. Wrth geisio lladd yr holl adar hyn meddyliai am un arall, y pennaf o honynt i gyd, yn ei fryd ef, sef lladd y Diwygiad, ac adennill yr holl fyd i fod yn eiddo yr Eglwys Babaidd. Yr oedd hanner nifer teyrnasoedd Ewrop wedi torri yn rhydd oddiwrth Babyddiaeth; breuddwyd brenin Yspaen ydoedd clymu y rhai hynny drachefn wrth gadair Sant Pedr. Dyma yr olwg a gymer yr holl haneswyr, Hume, Macaulay, Froude, Motley, a J. R. Green, &c., ar yr amgylchiad, ac y mae rhai o honynt hwy nas gellir, mewn un modd, ddyweyd eu bod yn rhy ffafriol i Brotestaniaeth.

Byddai yn fantais i ni, fe allai, daflu cipdrem ar Gyfandir Ewrop ym mlwyddyn yr Armada. Y flwyddyn honno yr oedd yr awyrgylch boliticaidd yn neillduol o drymaidd. Daroganai y mân-brophwydi fod pethau rhyfedd i gymeryd lle yn y flwyddyn 1588, fel y daroganai eu hepil ar ol hynny fod pethau rhyfedd i ddigwydd yn y flwyddyn 1866. Haerid fod arwyddion yn "y nef uchod, ac ar y ddaear isod, gwaed a thân a tharth mwg." Honid fod ser-ddewiniaid Germani wedi prophwydo gan' mlynedd cyn hynny y byddai diwedd y byd yn cymeryd lle y flwyddyn honno! Nid oedd eisieu dewin i fynegu yr ysgydwid gorseddfeinciau, y chwelid ymherodraethau, ac yr ymleddid brwydrau gwaedlyd. Nid rhaid ond taflu cipolwg ar Ewrop i ganfod fod pethau aethus wrth y drws. Yr oedd Ffrainc, gyda'i theyrn ieuanc, gwan, a llygredig, Henry III., ar yr orsedd, yn rhanedig drwyddi. Ei fam, Catherine de Medici, rhyw ail Jezebel o fenyw, ydoedd mewn gwirionedd yn teyrnasu. Yng Nghadair Sant Pedr, yn Rhufain, eisteddai Sixtus V., y creadur mwyaf cyfrwys-

ddrwg a diegwyddor o Bab fu erioed yn y Fatican. Yr oedd blaen y dòn fawr a ysgubodd ar draws y Cyfandir, ynghyd a Luther, Melancthon, Calfin, Knox, Coligny, &c., y cewri a gerid ar ei brig, wedi myned heibio. Ond yr oedd llygaid pawb tuag Yspaen. Yno, yn yr Escurial, lle a adeiladesid ganddo yn balas, yn fynachlog, ac yn fedd, yr oedd Phylip II., fel rhyw bryf copyn mawr, yn gwau rhwydau i ddala Protestaniaid, ac yn gwylio yn fanwl holl symudiadau Cyfandir Ewrop. Efe oedd teyrn galluocaf y byd ar y pryd; bu ei allu, dros ryw dymor, yn fwy na gallu Bonaparte ei hunan. Ymestynai ei diriogaethau dros y rhannau helaethaf o dri chyfandir; yr ydoedd yn oruchaf ar dir a môr. Cadwai fyddin sefydlog o hanner can' mil o filwyr, a'r rhai hynny yn enwog drwy Ewrop am eu dewrder a'u pybyrwch, pan nad oedd gan Loegr gatrawd o filwyr rheolaidd. Tybir fod cyllid ei deyrnas gymaint ddengwaith a chyllid y deyrnas hon a'i threfedigaethau yn amser Elisabeth. Llenwid pob man âg arswyd gan ei filwyr, a bygythiai ei lyngesoedd holl arfordiroedd Ewrop. Dygai ei longau masnachol iddo aur y Gorllewin, a pherlysiau y Dwyrain. Yspaen, y pryd hwnnw, oedd pïau masnach yr America a'r Cefnfor Indiaidd. Yn ei wasanaeth, fel cadfridog, yr oedd Alexander Farnese, y Duc Parma, un o gadlywyddion blaenaf ei oes, ac un y dywedid am dano na chollodd frwydr erioed. Yr oedd gan Phylip un amcan, a hwnnw ydoedd gorchfygu y byd, a diwreiddio Protestaniaeth allan o hono; ond claddai ei gynlluniau yn ei fynwes, ac nid oedd neb byw yn cael gwybod am danynt, oddigerth ei hoff gadfridog, y Duc Parma, a'r tri-wriad hynny o weinidogion a'i cylchynai, y rhai a elwid ganddo, o herwydd eu bod yn cydgyfarfod yn nyfnder y nos, y Cynghor Canol-nosol. Yr oedd yn feistr ar y gelfyddyd o ffugio; twyllodd Elisabeth a'i chynghoriaid i feddwl ei fod am heddwch, hyd nes yr oedd yr Armada yng ngolwg glennydd Lloegr!

I gyfarfod â'r gallu mawr yma, nid oedd gan Brotestaniaeth ond edrych am ymwared at Brydain, a

gweriniaeth fechan newydd-anedig Holland. Yr oedd y ddiweddaf newydd ennill ei hannibyniaeth oddiar Yspaen, ac yn barod i wneyd pob aberth er ei gadw, gan ei ystyried yn werth gwaed ei Thywysog William, a gyfenwid Gwilym y Tawedog. Collodd ef ei fywyd drwy gleddyf llofrudd, a gyflogwyd i'r gwaith gan aur Phylip, ac a arfogwyd gyda phardwn oddiwrth y Pab. Ac am Loegr, nid oedd ei holl boblogaeth hi, y pryd hwnnw, ond tua phum miliwn, ei thrysorlys mewn annhrefn, ei llynges yn eiddil, a'i byddin heb fod yn unlle. Yr oedd Ysgotland yn deyrnas ar wahan, ac ar bwnc y Diwygiad yn rhannol; yr Iwerddon, fel arfer, yn wrthnysig; a gwaeth na'r cyfan, nid ydoedd y dealltwriaeth perffeithiaf rhwng Prydain a Holland. Darfu i waith Elisabeth yn hoedena gyda hwn a'r llall, ac yn neillduol yn danfon ei hanwesyn, Iarll Leicester, drosodd yn gadfridog i'r Iseldiroedd, a'i gwaith yn ofera cymaint gyda Phylip o berthynas i'r telerau am heddwch, daflu diflasdod ar feddyliau Barneveld, ac eraill o bobl flaenaf Holland. Ond yr oedd y bywyd newydd yn ymgynhyrfu ym Mhrydain; y dyheuad am ryddid yn ymweithio tuag i fyny. Elai dynion ieuainc o Loegr drosodd i Ffrainc a'r Iseldiroedd i ymladd brwydrau Protestaniaeth. Ymunai y "Morgwn Seisnig" *(The English Sea-dogs)*, Drake, Frobisher, Hawkins, &c., a'r "morfegeriaid Ellmynaidd" *(The Dutch Sea-beggars)* ynghyd i wibio'r moroedd am longau Yspaenaidd i'w hysbeilio. Yr oedd Syr Francis Drake wedi dyfod yn ddychryn y moroedd. Wedi clywed o hono am barotoad y llynges Yspaenaidd, aeth allan, a rhyw 30 o longau bychain gydag ef, i Cadiz a Lisbon; llosgasant y llongau, dinystriasant y darpariaethau a barotowyd gan Phylip ar gyfer goresgyn Prydain, a daeth yn ol gydag ysglyfaeth lawer, gan ddywedyd iddo ef "ddeifio ychydig ar farf brenin Yspaen."

Haid ryfedd oedd y "morgwn Seisnig:" cyfuniad hynod o Buritaniaeth ac anturiaeth. Tybient fod hela y Jesuitiaid, dinystrio dylanwad y Chwil-lys, suddo

llongau Yspaen, a lladrata trysorau Phylip, yn waith cydweddol â'u galwedigaeth fel "etholedigion Duw." Modd bynnag, dengys yr holl bethau hyn pa fath oedd y teimlad ar y pryd; gorfodid Elisabeth a'i chynghorwyr i wynebu brenin Yspaen, a bod yn arwyr Protestaniaeth. Hyn, dybygem ni, ac nid eu cariad at y gwaith yn gymaint, a'u dygodd i gyhoeddi rhyfel yn erbyn y Babaeth. Prydain ei hunan, ysywaeth, yn fwy na'i brenines a'i gweinidogion, ydoedd wedi ei chynhyrfu i'w gwaelodion.

II.

Buwyd am flynyddoedd yn parotoi yr Arf-lynges Yspaenaidd. Nid arbedwyd na thraul na thrafferth i gasglu ynghyd lynges na welodd y byd erioed ei bath, i gario drosodd lengoedd Yspaen, milwyr y Chwil-lys, i oresgyn Prydain Brotestanaidd. Cynnwysai oddeutu 150 o lestri o bob math, y rhan amlaf o honynt, yn ol fel yr ystyrid llongau y dyddiau hynny, o faintioli anferth, ac wedi eu harfogi a'u dodrefnu y modd goreu y gallai celfyddyd y pryd hwnnw, ar gyfer y gwaith oedd iddynt. Ar eu byrddau yr oedd tuag 8,000 o forwyr, a 2,088 o gaethion yn rhwyfwyr, dros 20,000 o filwyr rheolaidd, heblaw llu o wirfoddolwyr, yn cynnwys rhai o brif bendefigion Yspaen. Rhifai y cyflegrau 2,650, a chariai yr holl longau 60,000 o dunnelli, yr hyn ydoedd yn swm anferth pan y cofiom nad oedd holl lynges reolaidd Prydain yn cynnwys ond rhyw 30 o lestri, a'u tunnellaeth *(tonnage)*, gyda'u gilydd, heb fod yn fwy na'r eiddo un o'r agerdd-longau mawrion sydd yn croesi y Werydd! Ac nid hynny yn unig, eithr parotoid math o lynges arall gan y Duc Parma, mewn rhan o'r Iseldiroedd ag oedd eto ym meddiant Yspaen, i gario drosodd 30,000 o filwyr glewion oedd ganddo wedi eu casglu o bob gwlad, gyda'r amcan o oresgyn Lloegr; ond pegwn mawr y fuddugoliaeth a ddilynodd ydoedd i'r llynges hon fethu dyfod i gyfarfod y llall.

O'r diwedd wedi cael pob milwr a morwr ar y bwrdd, cychwynodd yr Armada o Lisbon, gan ymlithro yn fawreddog, long ar ol llong, i lawr y Tagus. Yr oedd y Pab eisoes wedi ysgymuno Elisabeth, ac wedi rhoi ei choron, mewn addewid, wrth draed Phylip; ei orchwyl nesaf ydoedd bendithio y llynges oedd i ddwyn oddiamgylch y cynllun hwn. Yr oedd rhai o brif swyddogion y Chwil-lys ar fwrdd yr Armada, a channoedd o

offeiriaid Pabaidd o Yspaen yn dyfod trosodd i gymeryd meddiant o Frydain. Tra yr oedd y Pab Sixtus âg un llaw yn cymeryd y goron oddiar ben Elisabeth, â'r llaw arall rhoddai het *Cardinal* ar ben alltud o Sais, o'r enw Allen, gan ei apwyntio yn Archesgob Canterbury! Creadur ydoedd Allen a gasäi y wlad a'i magodd, yn enwedig ei Phrotestaniaeth, ac ydoedd yn barod i wneyd unrhyw fudr-waith a geisiai Rhufain ganddo. Cyfieithodd y Tarw *(The Pope's Bull)* ofnadwy a ddanfonasai y Pab allan yn erbyn Elisabeth, ac a'i hargraffodd yn Antwerp, ynghyd a phamphled arall, llawn o'r celwyddau a'r enllib mwyaf gwaradwyddus a ffiaidd am y frenines. Enwasid y rhan fwyaf o longau yr Armada yn ol enwau yr apostolion, *Sant Matthew, Sant Phylip, Sant Iago;* felly edrychid ar yr ymgyrch yn fath o groesgad grefyddol. Bron na thybiem fod yr enwau hyn yn dynodi cymeriad y frwydr; canys yr oedd raid i'r seintiau hyn ymladd â'r "morgwn Seisonig," mewn llongau yn dwyn yr enwau *Y Llew, Yr Arth, Y Tarw,* &c., a hynny mewn gornest lle yr ydoedd sylweddau yn erbyn ofergoeledd, dychymygion yn erbyn ffeithiau, a ffyddlondeb i wlad, i gydwybod, ac i Dduw, yn erbyn ffugnodded oruwchnaturiol y seintiau. Er derbyn o honi fendith y Pab, ni chafodd y llynges rwydd-deb o'r dechreu. Pan ar gychwyn bu farw yr Arch-lyngesydd, yr Ardalydd Santa Cruz, a phenodwyd yn ei le y Duc Medina Sidonia. Gelwid y cyntaf, ar gyfrif ei ddewrder, yr "Ardalydd Haiarn," a'r ail ar gyfrif ei gyfoeth, y "Duc Euraidd;" ac ni bu cyfnewid yr haiarn am yr aur o unrhyw fantais i'r anturiaeth. Bu yr elfennau, o'r dechreu, yn angharedig iawn wrth yr Armada; y ser yn eu graddau, y môr yn ei wyntoedd a'i ystormydd, yn ymladd yn erbyn Sidonia. Mewn gwirionedd, y mae mwy o hanes peiriannau rhyfel y Goruchaf, y gwynt a'r môr, y tywyllwch a'r tònau, y rhai a "gadwodd efe hyd amser cyfyngder, hyd ddydd ymladd a rhyfel," yn hanes y llynges hon na dim arall. Collwyd amryw o'r llongau mwyaf cyn dyfod o honynt i olwg tir Prydain o gwbl.

Darfu i Gymro o'r enw Dafydd Gwynn, oedd yn rhwyfwr yn un o'r llongau, ac ydoedd er's un mlynedd ar ddeg yn gaethwas yn Yspaen, arwain mintai o wrthryfelwyr, a thrwy gymeryd mantais ar y gwynt a'r ystorm, rhedodd ddwy o'r llongau i dir Ffrainc.

O'r diwedd, ar y 30ain o Orphenaf, cafodd Lloegr yr olwg gyntaf ar yr Armada hir-ddisgwyliedig. Gwnelsid pob peth a allai cyfrwystra a chelwydd ei wneuthur i beri i'r Prydeiniaid hepian yn ddiofal, gan geisio eu perswadio nad ydoedd yn d'od, a'i bod wedi ei bwriadu i fyned i le arall; ond bellach wele hi wedi gwneyd ei hymddangosiad. Yr oedd Prydain yn oddaith o frwdfrydedd o ben bwygilydd. Rhaid cydnabod mai y parotoad goreu oedd fod ysbryd y wlad wedi ei gynhyrfu; mwy o ysbryd na dim arall. Am y milwyr, yr oedd eu nifer yn fwy na'u disgyblaeth. Nid oedd Iarll Leicester o nemawr werth fel cadfridog; ac yr oedd y frenines yn grintach hyd at gybydd-dod, ac yn benchwiban hyd at blentynrwydd. Gwir iddi, ar un o'i munydau mawrion, ac yr oedd ganddi, wrth lwc, amryw o'r rhai hynny, wisgo mewn gwisg filwrol, a marchogaeth i'r gwersyll yn Tillbury, a chyfarch y milwyr, gan ymdynghedu y byddai iddi farw ar faes y frwydr cyn y goddefai weled dinystrio Protestaniaeth y deyrnas, a chymeryd ymaith ryddid y deiliaid. Ond yr oedd llyngeswyr Lloegr, Howard, Drake, Hawkins, Frobisher, &c., yn deall eu gwaith yn dda. Nid oedd rhifedi holl longau rhyfel rheolaidd y frenines dros 30; ond y fath oedd y brwdfrydedd, fel yr ychwanegwyd atynt, drwy roddion personol y deiliaid a'r trefi, hyd nes yr oeddynt yn rhifo tua 191. Yr oedd bychander eu maintioli, o'r dechreu, yn fantais iddynt ar longau mawrion anhylaw yr Arflynges, gan eu bod yn gallu symud mor chwimwth, ac yn gallu taflu pedair ergyd am bob un i'r Yspaeniaid. Nid oedd magnelwyr y llynges Yspaenaidd, ychwaith, o'u cymharu â'r Prydeiniaid, ond prentisiaid anfedrus ar y môr, tra yr oedd ei morwyr yn berffaith anghyfarwydd â'r sianel a'i thro-wyntoedd. Daeth yr Armada i mewn

i'r Culfor Seisonig *(the English Channel)* yn rhwysgfawr anghyffredin, yn hwylio yn fawreddog ar ffurf hanner lloer: y *Sant Martin*, llong y llyngesydd, yn y canol, a'r holl longau eraill yn ffurfio hannergylch o'i deutu, a chymaint oedd eu nifer a'u maintioli, fel yr oedd cryn saith milldir o bellder rhwng y ddau gorn! Ond yng ngeiriau morwyr yr oes honno, fe dynnwyd plu yr Yspaenwr o un i un, collwyd llong ar ol llong, mewn ysgarmes ar ol ysgarmes, hyd oni orfu i'r llynges fyned o'r sianel, yn y pen arall, allan i Fôr y Gogledd, yn ddarnau, yn cael ei gyru o flaen y gwyntoedd, a Howard, Hawkins, a Drake yn ei herlid.

Ni fu erioed y fath siomedigaeth! Ni fu, i'n tyb ni, amgylchiadau erioed yn dangos llaw Rhagluniaeth mor amlwg. A chymeryd allan o'r cyfrif frwdfrydedd y genedl Seisonig, a dewrder a medr y morwyr Prydeinig, ynghyd a phybyrwch yr Ellmyn yn rhwystro y Duc Parma i ddyfod allan ó'u porthladdoedd, nid oedd yr holl hanes, o du Yspaen a Lloegr, ond un gyfres olynol o gamgymeriadau a bonglerwch. Y dyddiau yr oedd y llynges Yspaenaidd yn dyfod i olwg pentir Lloegr, cawsai y llyngesydd Seisonig orchymyn oddiwrth y frenines, nad ydoedd yn debyg y deuai y gelyn y flwyddyn honno; felly ar iddo ddiarfogi y môr-filwyr, a rhoi amryw o'r llongau i gadw! Yr oedd y llynges Brydeinig yn ammharod mewn cyflenwad o bylor ac ymborth, ïe, ymhob peth ond brwdfrydedd ysbryd y dynion. O du Yspaen, drachefn, y mae y naill gamgymeriad yn dilyn y llall. Cynllun Phylip ydoedd i'r Armada hwylio am Calais, ac angori yno hyd nes y deuai y Duc Parma a'i fyddin i ymuno â hi, ac yna fod iddynt, gyda'u gilydd, lanio ar draeth Margate, a gorymdeithio i fyny a chymeryd dinas Llundain ar unwaith. Yr oedd hwn yn gynllun difai ar bapyr; ond yr oedd amryw bethau na chymerwyd i ystyriaeth gan y gŵr o'r Escurial. Drwy gryn drafferth, ac wedi cael ei bluo, fel y gwelwyd, y cyrhaeddodd Sidonia i Calais; ac erbyn iddo fyned yno, nid oedd yr un Parma yn y golwg. Yr oedd

hwnnw drachefn fel march yn cnoi yr enfa, yn llawn awydd am ddyfod, ond nis gallai; canys yr oedd llynges Holland yn gwarchae pob bwlch a chulfor yn fanwl. Ganddo ef yr oedd y darpariaethau helaethaf, a'r milwyr goreu ar y pryd, yn yr holl fyd; ond pa les oeddynt, tra yr oedd pob afon a mor-gilfach dan warchae tyn, fel nas meiddiai ddyfod allan? ac nid oedd ganddo yntau ond llynges o ysgraffau, i gludo ei filwyr dros y sianel, ar dywydd teg, diwrthwynebiad. Disgwyliai Parma i Sidonia a'r Armada ysgubo yr holl Gulfor Seisonig yn lân iddo oddiwrth bob gelyn cyn y mentrai allan; disgwyliai Sidonia, ar y llaw arall, bob dydd ei weled yntau yn dyfod i'w gynorthwyo i orchfygu y llongau Prydeinig! Rhyfedd gweled cadlywyddion Yspaen, prif allu milwraidd y byd, yn cael eu dyrysu fel hyn gan groes-amcanion.

Tra yr oedd Coron Lloegr a bywyd Protestaniaeth megis yn gorwedd yn y fantol, ar y Sabbath cyntaf yn Awst, 1588, angorai llynges fawr Yspaen yn angorfa Calais, i ddisgwyl y Duc Parma i ymuno â hi. Ac ni wyddai y llyngeswyr Seisonig nad allai Parma ddyfod drannoeth; felly yr oedd raid cael yr Armada allan o'r angorfa cyn i Parma uno ei lengoedd â hi. Drwy ddyfais ryfedd, wedi ei hawgrymu iddo, meddir, gan y frenines ei hunan, y cafodd y llyngesydd Howard y llongau Yspaenaidd o borthladd Calais. Bedair blynedd cyn hynny darfu i un Gianibelli, Italiad o genedl, oedd yn trigo yn Antwerp, ddyfeisio math o longau, llawn o bylor a defnyddiau hylosg eraill, a'u danfon, gyda'r llanw, yn erbyn pont fawr a wnaethai y Duc Parma er gwarchae Antwerp, a'i chwythu i fyny gyda difrod arswydus; a byth wedi hyn fe adnabyddid y llongau hynny gan yr Yspaeniaid fel "diafl-longau Gianibelli." Ar adeg hwyliad yr Armada, gwyddid fod Gianibelli yn Lloegr; ac er nad oedd a fynnai ef yn uniongyrchol â'r ddyfais a ddefnyddiodd Howard gyda'r Armada, eto diau mai ei ddyfais ef, yn Antwerp, a'i hachlysurodd. Modd bynnag, yr oedd ofn Gianibelli ar yr Yspaeniaid.

Ar hanner nos, Awst 7, tra yr oedd y llynges Yspaenaidd yn gorwedd yn dawel wrth angor gerllaw Calais, canfyddent ryw bethau duon, yn y tywyllwch, yn ymlithro gyda'r llanw hyd atynt, ac yna yn ymffrwydro ar unwaith yn golofnau mawrion o dân. Daeth yr adgof am ddiafl-longau Antwerp yn anorchfygol i gof pawb ar fwrdd yr Armada. Ymdaenodd y dychryn mwyaf drwy yr holl lynges, a cheisiai pawb ffoi gan waeddi, "Llongau tân Antwerp! Llongau tân Antwerp!" Nid oeddynt mewn gwirionedd ond wyth o hen longau wedi eu pŷgu a'u tanio, a'u danfon i beri dychryn i'r Yspaeniaid! Drannoeth yr oedd y llynges Yspaenaidd wedi ei chwalu, a rhai o'r llongau wedi myned i'r lan! a dyma y dydd y bu yr unig frwydr, deilwng o'r enw, rhwng yr Yspaeniaid a'r Prydeiniaid. Hon yw y frwydr a adnabyddir dan yr enw brwydr Gravelines. Bu yn ymladd caled drwy y dydd; lladdwyd pedair mil o Yspaeniaid, suddwyd tair o'u llongau, aeth tair arall i'r lan, tra na chollwyd cymaint ag un o'r llongau Prydeinig. Bu yr Armada, am ddyddiau dilynol i hyn, yn hollol at drugaredd yr ystormydd, a bron a myned yn ddrylliau ar draethau Fflanders. Penderfynodd Sidonia ddychwelyd adref drwy Fôr y Gogledd; ac nid oes ar glawr hanes am olygfa fwy siomedig na gweled y rhyfel-longau beilchion hyn yn cael eu gyru o flaen y gwyntoedd o'r sianel i'r môr ystormus hwnnw. Ni fedd Prydain, yn holl hanes ei thymorau, fis Awst mor ystormus â hwnnw. Ysgafnhawyd y llongau Yspaenaidd o'r pethau a ddarparesid ar gyfer goresgyn Lloegr; maes-gyflegrau a barotowyd ar gyfer brwydrau, offerynau i gymeryd dinasoedd caerog; ïe, brithid wyneb y môr gan gelaneddau ceffylau ac asynod, a gwahanol greaduriaid a fwriwyd oddiar fwrdd y llongau fel pethau dianghenrhaid. Erlidiwyd yr Yspaeniaid gan Syr Francis Drake hyd onid aethant heibio i Gulfor Fforth yn Ysgotland, gan yr ofnid iddynt droi yno; ond nid oedd gan Drake nac ymborth na phylor i ymlid ymhellach ar eu hol. Prin y cawsant heibio i ynysoedd yr Orkneys, nad oedd-

ynt yn nannedd ystormydd ofnadwy Môr y Gogledd; byddent weithiau yn cael eu gyru yn erbyn glennydd Norway, bryd arall mewn perygl o fyned yn ddrylliau ar greigiau Shetland, neu bentir Ysgotland, yr hwn, iddynt hwy, a atebai yn llythrennol i'w enw, yn Benrhyn Dialedd *(Cape Wrath)* mewn gwirionedd. Os drwg eu helynt ar ororau Ysgotland, gwaeth fyth ar lennydd yr Iwerddon. Collwyd cannoedd o fywydau ar y pentiroedd a'r creigiau peryglus hynny. Cafodd môr-ladron yr Orkneys, tylwythau *(clans)* yr Ucheldiroedd, a lladronach crwydrol Donegal a Galway, gynhauaf toreithiog iawn. Ar y traeth gerllaw Sligo cyfrifwyd un cant ar ddeg o gyrff Yspaenaidd wedi eu bwrw i'r lan! Aeth miloedd o fywydau, a'r rhai hynny yn cynnwys toraeth pendefigaeth Yspaen, yn aberth i'r tonnau! O'r diwedd cyrhaeddodd tua 10,000 adref i Corunna, rhai i farw o'r pla, eraill i ddihoeni o gywilydd!

Dyma ddiwedd yr anturiaeth fawr i geisio diwreiddio Protestaniaeth o'r byd. Ni ddylem fostio o drychinebau, nac ymddifyru mewn dialeddau; ond yn yr hanes hwn nis gallwn lai na gweled fod y Goruchaf wedi cymeryd, o'r dechreu, y cweryl i'w law ei hun. Os bu Rhagluniaeth ddwyfol erioed â'i llaw yn cyfryngu, yr ydoedd felly, gellid meddwl, yn yr achos hwn. Yr oedd marw y llyngesydd Yspaenaidd, ar y cychwyn; y llynges, can gynted ag y daeth allan i'r Werydd, yn cael ei goddiweddyd yn ebrwydd gan wyntoedd cryfion; camgymeriad yr Yspaeniaid yn hwylio yr ochr Seisonig i'r sianel; cyfeiriad yr awelon i roi mantais i'r Prydeiniaid; gwaith y Prydeiniaid yn methu erlyn ar ol yr Yspaeniaid, gan eu gadael felly i ofal yr ystormydd;—'roedd yr holl bethau hyn fel yn cydgyfeirio at ryw Law anweledig oedd yn cyfryngu yn y cyfan. Ymgysurai Phylip yn y syniad ddarfod iddo ef anfon ei ddynion a'i longau i ymladd â dynion, ac nid â'r elfennau; ond nid felly y cydnabyddai Lloegr ei dyled i'r ystorm a ddinystriodd yr Armada. Cafodd bôst y gorchfygwyr ei

wyleiddio gan fawredd y waredigaeth. "Ti a chwythaist â'th wynt; y môr a'u tödd hwynt, soddasant fel plwm yn y dyfroedd cryfion." Yr Arf-lynges oedd un o'r ymosodiadau mwyaf ofnadwy a wnaeth y Babaeth erioed ar Brotestaniaeth; a phrofodd yn dro-bwynt yr ymdrech rhwng Rhufain a'r Diwygiad Protestanaidd. Penderfynwyd rhai o'r cwestiynau pwysicaf mewn hanesiaeth gan y frwydr o flaen Gravelines. Nad ydoedd Prydain yn myned i ymostwng, unwaith yn rhagor, dan iau y Babaeth, a atebwyd, unwaith am byth, gan wynt y nefoedd, a chan fagnelau Syr Francis Drake. Neidiodd y deyrnas hon i fywyd newydd drwy yr ymdrechfa; bu iddi fel mynediad trwodd o farwolaeth i fywyd. Yr ydoedd dinystr yr Armada yn bregeth fawr i'r holl wledydd—Pabaidd a Phrotestanaidd; ond felly i Loegr yn anad yr un. Gwaredasid hi gan Law Ddwyfol, ac i amcanion goruchel. Diosgwyd y Fraich, parthwyd y môr, gwnaed arwyddion mawrion drwy law Duw Hollalluog, nes teimlo o'r genedl ei mawredd a'i bychander yr un pryd. Dinystriwyd am byth y gyfaredd oedd gan Rufain ar wledydd Ewrop; profwyd nad ydoedd y Babaeth yn anorchfygol, ac felly calonogwyd pob Protestant ar y Cyfandir. Ni fu Prydain byth yr un wedi hynny. O'r dwthwn hwnnw allan, pasiodd uwchafiaeth y môr o feddiant y galluoedd Pabaidd drosodd i'r rhai Protestanaidd—o feddiant Yspaen i Holland a Lloegr. Daeth Prydain yn ebrwydd yn feistres y môr, a chymerodd ei lle fel un o alluoedd Protestanaidd blaenaf Ewrop. Yr oedd tynged y Diwygiad Protestanaidd a thynged Lloegr wedi eu cydwau â'u gilydd, i sefyll neu syrthio gyda'u gilydd. Cydsafasant ar ddydd y prawf, a safant hyd yn awr. Aeth Yspaen i lawr byth er hynny. Llesteiriwyd y Diwygiad yno drwy law greulawn erledigaeth, a byth er dyddiau Phylip yr Ail y mae y wlad ffrwythlawn honno yn dihoeni dan iau y Babaeth. Mae rhyw arwyddion fod amseroedd yr anwybodaeth ar fyned heibio; a'n dyledswydd ni ydyw estyn ati y gangen olewydden, a thalu da am ddrwg

iddi, drwy wneyd a allom er ei hefengyleiddio a'i dyrchafu.

Ar ben y tri chan' mlynedd, gwers fawr yr hanes i ni ydyw gwerthfawrogi ein Protestaniaeth. Y peth y daeth y Nefoedd allan i'w amddiffyn mewn modd mor amlwg; y peth a unodd Brydain, nid yn unig â gwledydd Protestanaidd y byd, eithr hefyd â hi ei hunan, gan ddwyn ei bywyd dyfnaf i'r golwg; y peth a adawyd yn dreftadaeth ardderchog i ni gan ein hynafiaid, nid i'w gymysgu a'i lygru, eithr i'w buro a'i eangu,—a fwriwn ni hwnnw ymaith? Na wnawn; yn y dyddiau hyn o Ddefodaeth mynnwn ei gadw yn ddilwgr; yng nghanol Enwadaeth mynnwn ei gadw yn eang; yng nghanol Ammheuaeth a Sosialaeth, gwnawn i'r byd gofio mai o dan aden Protestaniaeth yn unig y mae yn bosibl i wir Ryddid, Cydraddoldeb, a Brawdoliaeth ffynnu.

# SIR FON: TREM AR AGWEDD CYMDEITHAS YN Y CANRIF HWN A'R CANRIF O'R BLAEN.

MON, MON. Pa beth am Sir Fon? Nis gwyddom, ddarllennydd hyfwyn, ac am hynny nis dywedwn. Fel yr afon, y sonia y bardd Wordsworth am dani, yn treiglo wrth ei hewyllys felus ei hunan; felly ninnau, gan ein bod yn myned yn ol ein hewyllys felus ein hunain, ofer ydyw ymholi â ni, ac ofer i ninnau dorri unrhyw lwybr, na gwneyd unrhyw ddiofryd. Feallai y soniwn am drigolion Mon,—gair am ei hynafiaethau, ei chyflwr cymdeithasol, a'i harferion, yn y canrif hwn a'r canrifau blaenorol, &c.

Gallwn ddweyd, pa fodd bynnag, mai yr hyn a barodd i ni ymlwybro yn y ffordd hon ydoedd darllen, drosodd drachefn, yn yr argraffiad newydd harddwych a gyhoeddwyd yn ddiweddar, hanes teithiau Thomas Pennant drwy rannau o Ynys Mon. A oedd efe yn *myned* drwy y teithiau a ddesgrifia, wys, ynte yn eu *creu* er mwyn eu desgrifio? Os oedd, rhaid ei fod yn myned igam ogam, ac yn drafferthus iawn, gan dreulio llawer o amser i fanylu, ac nid, fel rhai o ymwelwyr y dyddiau hyn, yn meiddio dweyd eu bod wedi "gwneyd" Gogledd Cymru yng ngherbyd y *railway*, ac wedi "gwneyd" y Wyddfa, os byddant wedi ei gweled drwy ffenestr y cerbyd.

Gwych o fanyled y desgrifia Pennant yr hen gestyll a'r hen gromlechau,—yr hen balasdai, a rhai o'r hen foneddion. Ond gwyn fyd na chawsem ganddo ddesgrifiadau o ansawdd cymdeithas, gwreng a boneddig—

pa fodd yr oedd y bobl yn byw, yn cysgu, yn cerdded, yn bwyta, yn gwisgo. Gymaint gwell yw dyn na chastell; a derbyn y cestyll a'r cromlechau eu gwerth oherwydd y goleuni a daflant ar arferion a theimladau dyn. Oh! na chawsem ychydig o ffeithiau cymdeithasol Mon, yn y dau can' mlynedd diweddaf—rhywbeth a daflai oleuni ar ei *sociology*. Gymaint o le, yn hanes y byd, a roddir i frwydrau a breninoedd, ymerawdwyr ac ymhonwyr, darganfyddiadau mewn daear, awyr, a môr —rhywbeth digon pell oddiwrth ddyn fel y mae yn ddyn. Er yr holl wybodaeth a feddwn, nis gwyddom beth mor bwysig yn hanes dyn a phwy ddyfeisiodd gyntaf wau hosan iddo am ei droed, neu pwy a ddyfeisiodd gorddi ei laeth er dwyn allan ymenyn iddo. Erdolwg, anwyl ddarllennydd, ai nid meddwl yr wyt ti fod hyn yn gymaint o ddarganfyddiad, yn ei ddydd, a dyfeisio y *locomotive* cyntaf, y pellebyr, a'r *electric light?* Ac eto nid oes adsain pwy! Carasem yn fawr gael gwybod pa bryd y cyfnewidiwyd dillad crwyn am ddillad gwlan, a pha bryd y newidiwyd y dull o wneyd y rhai diweddaf, o'u gwau gartref i'w gwau gan beiriannau, mewn gweithfaoedd. I'n bryd ni, y mae i'r droell fechan, a chwyrnellid mor hylaw gan ein hen neiniau, ei rhan yng ngwareiddiad y byd! Hanes dyn, a'r pethau sydd yn dal agos berthynas âg ef, yw gwir hanes gwlad, wedi y cyfan. Nid ydyw yr Alpau ond crugiau o fater, na'r Niagara namyn pistyll o ddwfr: rho'wch i ni hanes dynion, pe baent ond dynion syml, distadl, a gwerinaidd. Nid o dan y meini mynor, ac yng nghorau yr eglwysdai, bob amser, y mae y dynion a roisant hanes i wlad wedi eu claddu; na, odid nad yn ddienw ac anghofiedig y gorweddant, o dan y tyweirch gwyrddion, mewn rhyw gilfach neillduedig.

Pwy fedr ddweyd wrthym a oedd melinyddion gonest ym Mon yn y canrif o'r blaen? byddai hynny yn werth tudalenau cyfain o achau a bonedd marchogion yr Ynys. A oedd y gwehyddion yn gwau yn ddidwyll, y trethwyr

yn gyfiawn? Tewch son am drethwyr: nid oedd son am dreth fel treth: na, un o ffurfiau gwareiddiad uchel y canrif presennol ydyw trethu un dyn tuag at gadw un arall! Yn yr oesoedd blaenorol nid felly yr ydoedd. Pwy fedr ein hysbysu pa fath rai oedd y cyfreithwyr? Beth am yr usurwyr a'r ocrwyr? Y mae y rhai hyn mor amled a phobl yn awr. A oedd *biliau* hirion yn y siopau y pryd hynny, a dianc ymaith heb dalu? Gwyddom nad oedd yr un llys i fethdalwyr, modd y gallai un weddïo Duw ar dduw-sul, a *filio petition* yn y *Bankruptcy Court* ar dduw-llun. Yr oedd ganddynt hwythau, yr hen bobl, druain, rywbeth tebyg: oblegid yr oedd ganddynt feilïaid a cheisbyliaid; ac y mae dyledion a drwg-dalu mor hened a dynoliaeth lygredig. Ond ni pherthyn i Thomas Pennant fynegi dim i ni ar hynyma: nid dyna ei amcan ef. Tybiwn ei fod yn brinnach o hyn yn hanes Mon nag yn hanes odid un o'r siroedd eraill. Dichon fod y teithydd, gan ei fod yn foneddwr uchelwaed ei hunan, yn troi, gan mwyaf, ymysg uchelwyr; ac felly, yn ddieithr i'r werin. Ceir ganddo rai ffeithiau cymdeithasol; a hynod mor ddyddorol ydynt. Meddylier am ei hanes o Hen Batriarch Tregaian, a'i dair gwraig (yn olynol, bid sicr), a'i ddwy ordderch, a'i dri-phlentyn-a-deugain! Pe yn Nyffryn y Llyn Halen, yn y pedwerydd-canrif-ar-bymtheg—ac nid ym Mon, "yn yr amser yr oedd Bess yn teyrnasu"—buasai yn gydymgeisydd glew â Brigham Young! Mor ddorus ydyw deall mai corffyn bychan ydoedd, yn ymgynnal yn bennaf ar lwy-fwyd llaeth, ac yn byw wrth hwsmonaeth; felly yn fwy o "amaethon boddlon" nag o uchelwr trahausfalch. Ychwanega Pennant iddo fyw i fod yn gant-a-phump-oed—ei fod yn y llawn feddiant o'i synwyrau naturiol hyd y diwedd; a bod Gruffydd ap William, ei fab hynaf, yn bedair-a-phedwar-ugain oed; a'i fab ieuengaf, o'r un enw (a oedd ei epil wedi hysbyddu enwau yr iaith, wys?) yn ddwy flwydd oed, pan y bu farw eu tad; a'u bod, ill dau, yn ei gladdedigaeth! Gan i hyn gymeryd lle yn 1581, rhaid fod yr hanes yn

nofio ar wyneb cymdeithas, fel math o draddodiad, pan y teithiai Pennant drwy y wlad.

Ond diolchgar iawn fuasem am gael cymaint ag a allesid o hanes y bobl, eu harferion a'u preswylfeydd, pan oedd Pennant yn troedio yr Ynys. Pa fath ffyrdd oedd yn y wlad? oblegid dyma un o nodau cyntaf gwareiddiad mewn gwlad. Oh! nad allasem gael bywgraffiad o'r hen *Holyhead Road* drwy Fon, ac ychydig o hanes y teithwyr a'r cerbydwyr! Mae ffyrdd gwlad yn well mynegai i gyflwr cymdeithas nag adeiladaeth ei chestyll. Cewch chwi wybod pa arddull o adeiladwaith ydyw y temlau a'r palasdai, rhoddwch i ni wybod pa fodd y mae y bobl yn myned i'r farchnad. A oedd rhai o'r pedrolfenni neillduol a elwir "lorries" (pa iaith?) yn y wlad y pryd hynny? Nid ydym yn meddwl eu bod. Heddyw y maent i'w cael, fel defaid Jacob, yn fawr-frithion ac yn fân-frithion—o bob lliw, a llun, a chyflymder—yn cario mân-dyddynwyr a gwerin Mon i'r marchnadoedd. Pan yr ysgrifennir hanes cymdeithas yn Ynys Mon, yn niwedd y pedwerydd-canrif-ar-bymtheg, bydd y London and North Western Railway a'r "lorry" yn ffeithiau pwysig yn yr hanes. Pan y bydd ambell un blysig wedi bod, yn lle marchnata, yn llymeitian ar hyd sucandai mân, bryntion y treflannau, wrth gario y cyfryw adref, nid bob amser y bydd iaith y "lorry" yn goeth, na'r ymddygiadau yn weddaidd.

Ag eithrio Meirionydd, Mon, meddir, yw y sir leiaf ei phoblogaeth o holl siroedd Gwynedd. Bydd hyn, dybygid, yn newydd i lawer. Ond cofier nad gwlad yn difa ei phreswylwyr mohoni: eithr rhydd hwynt, yn rhad ac yn rhodd, yn holl nerth eu hiechyd, a chryfder eu gewynau, i fod yn elfen gref ym mhoblogaeth siroedd ereill y Dalaeth. Cyfarfyddwch â hwynt braidd ymhob man, gyda'u lloer-wynebau mawrion, crynion, llygaid heb fod yn ddwfn na bas, ond yn dangos toraeth o garedigrwydd o'r tu cefn iddynt; ffurf y pen yn fawr—nid, feallai, oherwydd maintioli ac ansawdd yr ymennydd, eithr er mwyn gorphen y fodolaeth yn briodol tuag i

fyny; taldra y corff yn ganolig, ond lled y fynwes yn profi presenoldeb peirianwaith rhagorol; a thewder y wàr yn dangos medr i dreulio ymborth ac i'w droi yn gig, gïau, a chyhyrau. Pe y gwelech y Monwysiad wedi ei feddalhau gan awyr laith-fyglyd Llynlleifiad, neu wedi ei gyfyngu yn ormodol i ddim ond bara a thrwyth dail yr India, yn rhai o gymydogaethau chwarelau Arfon a Meirionydd, dengys ei ffrâm ardderchog i chwi, ar unwaith, ddarfod ei fagu ar amgen ebran, ac iddo fod yn porfäu, ddyddiau ei ieuenctid, yng ngwlad yr eidion du —ym Mon.

Y mae cryn wahaniaeth ym mhoblogaeth Mon er yr adeg yr oedd Rhosfair (Niwbwrch) yn ei gogoniant, fel pen tref y sir, ac yn danfon cynrychiolydd i'r Senedd! Dyry Pennant, a'i olygydd, rai ffeithiau dyddorol parthed y boblogaeth. Ar y 13eg o Awst, 1563, ebe Pennant, yr oedd 2,060 o artrefi ym Mon: yr hyn, a chyfrif pump i bob aelwyd, a wna y rhifedi yn 10,050. Yn 1776, cyfrifid 3,956 o deuluoedd, y rhai yn ol yr un egwyddor a wnelent y nifer yn 19,780—bron gymaint arall a'r cyfrif blaenorol. Ar ol hynny, ceir nodiad gan Dafydd Pennant, mab yr hanesydd, a golygydd ei weithiau, y cyfrifid y boblogaeth yn 1795 yn 28,611; ac yn 1801 yn 33,334—a chau allan bedwar plwyf, y rhai ni ddanfonasant eu cyfrif i mewn. Ar awdurdod arall (*Cymru*, Parch. O. Jones: erthygl "Mon," cyf. ii., tudal. 301), gosodir hwynt allan, gan gymeryd i mewn, gellid meddwl, y plwyfi uchod i'r cyfrif, yn 33,806. Am hanner canrif ar ol hynny, parhaodd y boblogaeth i gynyddu, fel, yn 1851, yr ydoedd yn 57,327; ond byth wedi hynny y mae wedi graddol leihau. Yn 1881, y rhif oedd 50,964. A hyn oll, tra y mae cymydau ei chwaer-diriogaeth Arfon yn cynyddu yn gyflym.

Crybwyllasom hefyd am ffrwythlondeb a chynyrchion yr Ynys. Mae yn hen ddywediad y gall Mon gynyrchu holl angenrheidiau cynaliaeth dyn, oddigerth yn unig halen. Dywedir hyn, gan eithrio, wrth gwrs, y

myglys a'r trwynlwch, y rhai, hefyd, a wneir yn yr Ynys, ac a aroglir, ac a losgir, ac a *fwyteir*, gan rai o'r trigolion! Ceir rhai awgrymiadau doniol gan Pennant yng nghylch adnoddau yr Ynys. Heblaw y dywed (cyf. iii., tudal. 54) fod lluaws o longau bychain yn cario ceirch ac ymenyn—cynyrchion "Mon doreithiog â'i mân-draethau"—dywed (tudal. 22), fod yr Ynys yn danfon ymaith, yn flynyddol, o 12 i 15 mil o dda corniog, yng nghyda llu o ddefaid a moch, &c., dywed hefyd y cyfrifid fod holl anifeiliaid yr Ynys yn rhifo 30,000! Dyna gelwydd braf, meddwch! Y *mae* Dafydd Pennant, mewn nodiad o'i eiddo, yn tybied y gallai fod yma ormodiaeth, ac yn lled feddwl y buasai yn nes i'r gwirionedd i ddweyd mai tua phum' mil ydoedd rhifedi anifeiliaid yr Ynys. Modd bynnag, mewn mater o'r fath yma yr oedd gan Thomas Pennant bob mantais i wybod y gwirionedd, gan ei fod yn troi cymaint ymysg uchelwyr a bonedd y wlad; a thebyg eu bod hwy, y pryd hynny, yn byw yng nghanol eu deiliaid, ac nid, fel eu holynwyr presennol, yn absenolion; ac felly yn gwybod yn aruthr hanes cynyrchion eu hetifeddiaethau: os nad oeddynt yn mwyhau y ffrwythlondeb er cymeryd mantais i godi yr ardrethion. Tebyg nad oedd y cast hwnnw wedi ei ddysgu y pryd hwnnw; oblegid un o ffrwythau y mesur a'r *mapio* ydyw yr ail-brisio. Mae yn ddilys ddiameu fod Mon yn un o'r llennyrch goreu yng Ngwynedd i borfäu, ac i fagu anifeiliaid. Ai nid oes a fynno yr hinsawdd â hynny? ac ai nid oes a fynno y *gulf-stream* â'r hinsawdd? Dywedir fod ffrwythlondeb a thwf gorllewinol yr Ynys Werdd i'w briodoli, i fesur helaeth, i hynny; a phaham llai gorllewinbarth Mon? Er y gelwid hi gynt "yr Ynys Dywell," eto, cofier nad "tywyll" yn ol darnodiad Iarll Beaconsfield o ynys arall ydoedd—"*a gloomy island in a gloomy sea.*" Yn hytrach, yn ol desgrifiad awdwr y *Mona Antiqua*, y mae yn ynys "wedi ei bendîthio âg awyr dymherus, a'i bywiocäu â heulwen dyner, a'i chyfoethogi â daear dda a chynyrchiol."

Gyda llaw, gan i ni grybwyll enw yr haeddbarch Henry Rowlands, awdwr y *Mona Antiqua Restaurata*, egyr efe ei lyfr, ar *Hynafiaethau Mon*, gydag adran "ar ynysoedd yn gyffredinol"—*of islands in general*. A hyn oll, os gwir a ddywed Pennant, pan na bu erioed allan o'i ynys enedigol; neu, os bu, na bu yn mhellach na'r Amwythig! Ond yr ydym wedi meddwl llawer am ei *islands in general*. Y *mae* rhyw bethau yn gyffredin i ynysoedd yn gyffredinol. Heb son am amryw bethau eraill, gallwn nodi un peth, sydd yn amlwg yn hanes Mon, yr un peth ag ynysoedd yn gyffredinol, sef y teimlad ynysig—yr *insular feeling*—cariad neillduol at ei phobl a'i phethau ei hunan. Yr un peth, ond ar raddeg lai, ag sydd yn nodweddu Ynys Enlli yn ei pherthynas â phobl y "tir mawr" yn Aberdaron; a'r un peth hefyd, ond ar raddeg fwy, ag sydd yn nodweddu Ynys Prydain yn ei pherthynas â Chyfandir Ewrop. Pa un bynnag a yw Mon yn fam i Gymru ai peidio, y mae hi yn fam dda odiaeth i'w phlant ei hun; a phob un ohonynt hwythau, fel y baban am y fron, am dani hithau. Bechgyn yr Ynys, a phlant y wlad, a gaiff yr ymenyn tewaf a'r dafell oreu, os bydd hynny ar law y fam, pwy bynnag arall fyddo wrth y bwrdd; er fod y teimlad hwn yn gwisgo ymaith yn raddol, yn gymaint a bod agerddlongau a rheilffyrdd, pontydd ac ysgraffau, yn cario pobl iddi a thrwyddi, ac allan ohoni. O fewn terfynau, y mae yn deimlad digon goddefol; ond gwendid ydyw ar y goreu. Addysgiadol iawn i ni ydoedd darllen, y dydd o'r blaen, pan y dyry Rowlands, yn niwedd ei *Mona Antiqua*, restr o glerigwyr Mon, o ddyddiau Harri yr VIII. i waered, gofala am ddweyd am bob estron—"*He was a Merioneth-shire man*," neu —"*a Denbigh-shire gentleman;*" ac, unwaith, dywed am un—"*He was of Llanllugan in Montgomery-shire*,"— cystal ag awgrymu na fuasai raid iddo ddyfod mor bell oddicartref, fod cystal dynion ag yntau yn y wlad. Yr oedd y *Cardigan-shire man* heb fedru ei ffordd dros y

Dyfi a'r Fawddach i Wynedd y pryd hwnnw dybygid; canys nwydd cymhariaethol ddiweddar ydyw efe.

Ffurf arall ar y teimlad hwn—y teimlad ynysig a barai i Goronwy Owain fod bron a hollti am fywioliaeth ym Mon. Druan o Goronwy! ysgrifenai, yn ei lythyrau, gwestiynau yng Nghymraeg, ond mewn *llythyrennau Groeg*, i ofyn a oedd dim newydd i'w gael, "gymaint a marw gwrach," yn enwedig marw person, "y ceid rhywbeth ar ei ol." "Mi a adwaen yr hen gorff," meddai am un, "a hen walch gwydn yw, mi a'i gwrantaf." Gwir fod ganddo awydd mawr am ddyfod i Gymru; ond am fywioliaeth ym Mon yr oedd dwfr glas yn rhedeg o'i ddannedd yn barhaus. Hyn a barai iddo ganu am Fon fel "Goludog, ac ail Eden," a "Nef fechan y Naf uchod," yng nghyda llawer o'r fath bethau. Fe brawf Mynydd Parys fod yr hyn a ddywed y bardd am "ei phlwm a'i dur," "a'i thorog wythi arian," yn wirionedd; ond nid cywir son am "brennau dyffrynoedd Mon," canys nid oes ynddi nemawr o brennau, na dim un dyffryn o gwbl. Barddoniaeth y teimlad ynysig, pan ymhell oddicartref, ydyw son am "Mon a'i *thirionwch*." Y dymuniad, Goronwy bach, ydyw tad y desgrifiad. "*Distance lends enchantment to the view.*" Pan yn myned ar ol "y climach o ddyn amrosgo—garan anfaintunaidd—afluniaidd yn ei ddillad, o hyd a lled aruthr, anhygoel, ac wynebpryd llew, neu rywfaint erchyllach," gan berson Walton, i'r eglwys, bob Sul; neu pan yn llafurio yn galed am brin hur y ddwy en, ymysg "pobl gïaidd, galedion, ddigymwynas" Donnington—y pryd hynny, a thrwy niwl hiraeth, yr ymddangosai Mon mor dirion ac y chwenychai y bardd "symud pawl ei did" hyd yno: ond, ag eithrio ychydig o lennyrch prydferth ar lannau y Fenai, nis gall Mon hawlio tiriondeb o gwbl. Y mae y rhan fwyaf o'i thir yn gryf ac yn gynyrchiol: peth arall, hollol wahanol, ydyw dweyd fod y wlad yn dirion. Golyga un ansawdd y tir yn bennaf, a'r llall amrywiaeth ac amlinelliad arwynebedd yr Ynys. Gofynion y galon hiraethus, a gofynion y gynghanedd, a bar-

odd i Goronwy Ddu, o anfarwol goffadwriaeth, son am Fon a'i thirionwch: mwy cywir o lawer fuasai iddo son am Fon a'i melinau gwynt. Gwlad unffurf, ddiamrywiaeth, ac mor gefngrom a gwastadlefn a chefn y morfil, ydyw Ynys Mon. Soniwch am dirionwch yn nyffrynoedd y Towi a'r Teifi, y Clwyd a'r Gonwy. Ond angerddol o gryf ydyw y teimlad ynysig: gwel mor agos y teimla pobl Mon at Lynlleifiad, a "Sir Fon bach" at y Sir Fon fawr. Pe yn bosibl, chwannog ddigon fuasai hen Ynys y Derwyddon i ymddadfachu oddiwrth ei hangorion yn yr eigion, a nofio i fyny yr afon Mersey, i fod yn agos at y ferch fechan, garuaidd, sydd ganddi yno.

Sir Fon, o bosibl, ydyw un o'r siroedd mwyaf Cymreig yng Ngwynedd, os nad, yn wir, y fwyaf felly yn yr holl Dalaeth. Er gwaethaf Edward I. a'i drefydd Seisnig, y mae yr iaith Gymraeg wedi byw. Y tair tref lle y darfu i'r brenin Edward sefydlu "achosion Seisnig" ynddynt ydoedd Caerynarfon, Aberconwy, a Biwmaris. Dychwelodd y ddwy gyntaf, er's canrifoedd, yn ol at iaith eu gwlad; a rhaid i Biwmaris, er cynnal i fyny ei Saesonaeg, wrth gymhorth plant Alis, y rhai a fenthyciant ei thraeth glân, bob haf, i olchi eu hunain oddiwrth fudreddi a mwrllwch eu dinasoedd mawrion. Yr ydym yn darllen, yn un o bererindodau Dr. Johnson, ei fod unwaith yn nhref Caerynarfon, ac yn ciniawa gydag un o uchelwyr y dref. Testyn yr ymddiddan ydoedd trancedigaeth yr iaith Gymraeg! Y cwestiwn oedd, "*How to preserve the Welsh Language. I gave them a scheme*," ebai y Doethawr. Felly, yr oedd rhywrai am iddi farw yn gynar yn y canrif o'r blaen; ond y mae yn fyw heb *scheme* y Doctor. Dychymyger y nifer o gyhoeddiadau a newyddiaduron Cymreig a gyhoeddir yn awr, yn y dref lle y siaradent, gant a hanner o flynyddoedd yn ol, am drancedigaeth yr iaith Gymraeg!

Mae Cymraeg Mon, o ran y cynaniad ohono, yn llydan, persain, ac ar y cyfan, yn weddol gywir. Gresyn fod yr "afal" yn "afol," a'r "ddafad" yn

ddafod:" hwn yw un o'r meflau mwyaf gwrthun a berthyn i gynaniad yr iaith; ond ni syrth neb ond y werin i'r amryfusedd. Ond arferir gan y werin rai geiriau chwaethus a grymus; a'r rheiny, rai ohonynt, yn hen eiriau Cymreig, anghofiedig gan barthau eraill y Dalaeth. Er engraifft, arferir "ar lafar gwlad," yn fynych, yr hen air "darofyn," yn y cysylltiad—"Yr ydw i'n d'rofyn myn'd," &c. Gwendid pennaf Cymraeg yr Ynys ydyw cymysg-eiriau anhysain, a braidd yn ddichwaeth. Os bydd siaradwr da, neu bregethwr ymadroddus, ym Mon, fe'i gelwir, bob amser, yn "scwrsiwr da;" yr hyn sydd fastard-air cymysg-ryw,—o du ei dad, neu ei fam, yn deilliaw o'r gair *discourse*, gellid meddwl. Pan y sonir, gyda theimladau o barch, am henafgwr, geilw gwerin Mon ef yn "hen slâf," ïe, weithiau, yn "hen slefyn:" yr hyn sydd gyfystyr â "hen ddyn" sir Ddinbych. Brychau a meflau yw y rhai hyn; ac y mae eu bod yn fastardiaid yn eu gwneyd yn fwy gwrthodedig.

Am foesoldeb cymdeithasol Mon, y mae yn bwnc mor eang fel nas goddef ein gofod i ni fyned i mewn iddo ond yn brin iawn. Nid ydym yn deall fod dim yn neillduol iddi, yn yr ystyr hon, nad ydyw yn wirionedd am siroedd eraill Cymru. Yn y brawdlysoedd y mae Mon wedi ennill safle uwch nag odid yr un arall o siroedd Cymru; a safle, o bosibl, uwch nag a haeddai, oherwydd yr anrhegid y barnwyr yn fynych â menyg gwynion. Y mae brawdlys y menyg gwynion yn ffaith yn hanes Mon bid sicr; ond nid ydyw brawdlys y cap du yn hollol ddieithr, ysywaeth. Prin y gellir adeiladu unrhyw ddamcaniaeth am foesoldeb gwlad oddiwrth rhyw un dosbarth o ffeithiau. Dywedir ei bod yn ffaith am chwaer-ynys i Fon—ychydig ymhellach i'r gorllewin—yr Ynys Werdd, ag eithrio *agrarian crime*—troseddau yn cyfodi o ddaliad tir—ei bod yn sefyll yn uchel mewn moesoldeb ymarferol. Ail i deyrnfradwriaeth, yng ngolwg llawer, fyddai cymharu Mon am foment â'r Iwerddon: eto fe'n hysbysir fod rhai o'r parthau mwyaf gwledig o'r ynys honno bron yn gwbl lân oddiwrth fastardiaeth; a bod y

partïon a geir yn euog o hynny, yn feibion a merched, wedi eu gwarthnodi am eu hoes. A ellir dweyd hyn am Sir Fon, neu, yn wir, am Gymru yn gyffredinol? Prin hefyd y credwn fod y cydymdeimlad a'r cyd-ddealltwriaeth rhwng gwahanol ddosbarthiadau cymdeithas ym Mon y peth y bu. Profa *Rowlands*, a *Pennant* (cyf. iii., tudal. 23), y bu caethwasiaeth ym Mon—arglwydd·y faenor yn meddu hawl i werthu ei ddeiliaid a'u hepil fel anifeiliaid. Bellach yr ydym wedi teithio i eithaf cyferbyniol:—y mae rhyw annibyniaeth rhwng meistr a gwas, a rhwng gwas a meistr: y naill fel pe byddai am gael cymaint fyth fyddo bosibl o'r llall. Yn rhai o ffermdai clyd Mon fe geir, mae'n wir, rai o'r hen forwynion yn aros fel hen greiriau o'r oes o'r blaen, yn cael eu cadw rhag yr elusendy a'r *workhouse*, oherwydd iddynt dreulio eu hoes yng ngwasanaeth y teulu. Ond y maent fel darnau o oesoedd blaenorol: nid oes gan "was" a "morwyn" yr oes hon unrhyw gyfathrach â hwynt o gwbl. Iddynt hwy y mae y meistr yn "wr caled," a'r feistres i'w thwyllo, os gellir; a da iawn os dianc y naill a'r llall heb gael eu rhegu ganddynt weithiau yn eu cefnau. Y mae aros dros oes, neu ran o oes, yn yr un man yn myned yn anffasiynol, os nad yn ammhosibl. A yw hyn yn profi sefyllfa is o foesoldeb, nis gwyddom; ond dengys, modd bynnag, ogwydd cymdeithas i ymddatod yn fwy oddiwrth ei gilydd.

Mae dau beth yn arbenig y gwaherddir i'r *Geninen* ymdrin â hwynt ond yn brin, sef, *gwleidyddiaeth* ac *enwadaeth*. Bydded felly. Ond yn gymaint a'n bod yn cyffwrdd â ffeithiau cymdeithasol, byddai yn llwfrdra ac yn annhegwch ynom beidio a chrybwyll dylanwad cymdeithasol pennaf yr Ynys, sef ei chrefyddoldeb. Ac wrth wneyd hynny, dylem sylwi moment ar y cyfundebau crefyddol; canys ar wasgar felly y ceir crefydd yn y wlad. Ond yn gymaint ag mai nid lleferydd o'r clochdy nac o'r capel, fel y cyfryw—o gangell yr eglwys, na sedd fawr yr addoldy—ydyw yr ysgrif hon, ni pherthyn i ni gyffwrdd â hwynt fel y maent yn *enwadau*.

Annerbyniol a gwrthun fyddai cymhariaethau: felly ni cheisiwn gydmaru y pleidiau crefyddol â'u gilydd, na nodi eu diffygion, fel y mae ganddynt oll ddigonedd o'r rheiny; eithr edrych arnynt fel y maent yn wahanol elfennau yn yr un dylanwad mawr er crefyddoli yr Ynys. Nid oes a fynnom ni â'r wen-wisg na'r wen-ffunen; eto y mae a fynno y naill a'r llall âg agwedd gymdeithasol Mon.

O ddyddiau Rhisiart Cyffin, person Llanddwyn, ac wedi hynny Deon Bangor—a gyfenwir Y Deon Du—hyd ddyddiau ei olynydd Deon presennol Bangor, y mae yr Eglwys Sefydledig wedi bod yn hepian yn yr Ynys; ond fe gydnebydd pawb fod mesur mawr o ddeffroad yn awr. Darfu i Ragluniaeth Ddwyfol, yn niwedd y canrif o'r blaen, a rhannau cyntaf y canrif hwn, roddi yr Ynys i'r Methodistiaid Calfinaidd yn bennaf; ond rhaid iddynt hwythau weithio a gwylio, onite nis gallant gadw eu dylanwad ar y wlad. Planhigyn tramor ydyw Wesleyaeth; ac er fod ei ffurflywodraeth mor berffaith, eto y mae ei beirianwaith mor gymhleth, a'r Monwysiaid hwythau mor hwyrdrwm, fel mai prin y maent yn ei ddeall. Er y dyddiau y bu yr hybarch John Wesley yn pregethu yn Ll—ch—dd, ac y cafodd "feibion Belial" i'w wrthwynebu yn y lle, hyd y dydd hwn, araf ryfeddol yw yr enwad i ymwreiddio yn naear Mon. Perygl yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr ydyw, fod rhyw bethau o fewn eu gwersylloedd hwy eu hunain yn eu llesteirio i roddi argraff mor ddofn ar gymdeithas yn yr Ynys ag y gallasent pe hebddynt, ac argraff y buasai eu hynni a'u gweithgarwch yn cyfreithloni i ni ddisgwyl iddynt ei roddi. Oll gyda'u gilydd, wedi y cyfan, y mae y pleidiau hyn yn gweithio yn lew i gadw meddiant i grefydd o hen Ynys y Cedyrn. Os esgeulusir rhyw ddosbarth, ofnwn mai y dyrfa—y werin—a esgeulusir. Ai nid ydyw yn ffaith fod llawer, yn ein treflannau, o foesoldeb ymarferol neillduol o isel, y rhai y ceir allan, wrth chwilio, nad ydynt yn mynychu unrhyw le o addoliad? Yn ein pentrefi gwledig, gellir pasio, ar foreu Sab-

bath, meddir, niferi o dai lle y trig gweision a gweithwyr y ffermdai cyfagos, y rhai nad ydynt yn myned i lan na chapel, i bregeth nac i ysgol, ar y Sul. Ac y mae eu moesoldeb cymdeithasol yn gyfatebol isel. Ni pherthyn i gylchgrawn fel *Y Geninen* ond nodi yr hyn a ddywedir sydd yn ffaith. Y cri cyffredinol yn awr ydyw, fod "conglau" y maes cymdeithasol heb ei "loffa" yn ddigon gofalus. Y mae yr Eglwys Sefydledig yn ddyfal gyda'r defodau a'r gwyliau; yr holl ddaear Fethodistaidd "yn eistedd ac yn llonydd;" y Wesleyaid, a'u cylchdeithiau mor eang, a'u gweinidogion mor anaml; y Bedyddwyr a'r Annibynwyr â'u sylw yn cael ei droi gymaint at eu helyntion eu hunain—fel, rhwng y naill beth a'r llall, gwan, ar y cyfan, a gwannach nag y dylai fod, ydyw Cristionogaeth *ymosodol* ym Mon. Ar yr un pryd, os gellir llefaru felly, y mae haenau eraill cymdeithas ym Mon yn naturiol grefyddol: y perygl ydyw colli y werin. Gall un dreflan ym Mon, heb ddim trafferth, gynyrchu hanner dwsin o bregethwyr rhagorol! cyfyd tri o wŷr eglwysig o'r un pentref! Y mae ei phregethwyr y pregethwyr pynciol goreu yn yr holl Dalaeth, os nad hefyd yn yr holl fyd. Dawn naturiol y wlad sydd araf:—y pregethwyr a fegir yma a gerddant yn arafaidd a thrymaidd; ond y maent mor gryfed a'r ychain bannog gynt, a hwy a dynnant i chwi afanc o bwnc o'r llyn. Modd bynnag, chwenychem gyflwyno i'r holl bleidiau crefyddol yn yr Ynys chwedl yr hen hanesydd Giraldus am Fynachod Ynys Seiriol (*Pennant*, cyf. iii., tudal. 36). Yn Abatty Penmon preswyliai mintai o fynachod; a phob tro yr anghytunent â'u gilydd, ymwelid â hwy gan finteioedd o lygod; ond pan y rhoent eu cwerylon heibio, caent lonydd gan y pla. Gerllaw Ynys Seiriol y mae Ynys Mon; ac nid ydyw haint y llygod yn beth dieithr eto. A ddarlleno ystyried. Hen Oracl anffaeledig a ddywed, "Y peth a fu, a fydd; a'r peth a wnaed, a wneir: ac nid oes dim newydd dan yr haul."

# PHILISTIAETH LLENYDDOL CYMRU.

EIN gorchwyl cyntaf ydyw deffinio termau. Pwy yw y "Philistiad?" o ba le yr hanyw? a pha le y preswylia? I'r darllenydd Cymreig, awgryma y gair y genedl honno ag yr oedd ei duw yn eilun hanerog o ddyn a physgodyn, a'i enw yn Dagon, a'i deml yn ninas Gazah, a'i brif wyl yn cael ei haddurno gan gynulleidfa o folerwyr meddwon, yn crechwen am ben hen Israeliad dall o'r enw Samson. Am hynny o waith cawsant dalu yn ddrud aruthr.

Matthew Arnold piau yr anrhydedd (os anrhydedd hefyd) o ddwyn y gair drosodd i Frydain, a chyweirio ei wely mewn llenyddiaeth Seisnig. Prin, er hynny, y mae y doethawr hwnnw wedi penderfynu lle ac ystyr y gair, hyd yn oed fel y deallir ef ganddo ef ei hunan. Y mae Arnold wedi ei gael, gellid meddwl, nid yn uniongyrchol o'i Feibl, eithr wedi ei allforio o'r Almaen. Yn Germani, "Philistiaid'" y geilw efrydwyr pob athrofa drigolion y dref y byddo yr athrofa, o'u cyferbynu â hwy eu hunain: yn debyg i'r fel y dosbartha egin-foneddigion Rhydychain a Chaergrawnt drigolion y trefi hynny yn *townsmen* a *gownsmen*. Felly, i bob efrydydd Germanaidd, y mae pob un na fyddo yn efrydydd yn "Philistiad." Dosbarthiad cyfleus ei wala ar y ddynoliaeth— "Philistiaid dienwaededig," ac ysgolheigion diwylliedig! Erbyn dwyn y gair drosodd i Loegr, a cheisio gwneyd dinesydd Prydeinig o hono, y mae wedi myned yn gyfystyr â phob peth croes i ddiwylliant, ïe, â rhyw fath o ddiwylliant hefyd—y fath ag sydd yn cynyrchu pob math o hunan-foliant a hunan-ymfawrygiad, ac yn

peri i feddwl dyn golli mantoliad y cyneddfau. Ar y tir hwn y geilw Matthew Arnold yr hanesydd Macaulay yn "Philistiad," ïe, yn dywysog y "Philistiaid!" Dyma oedd yn ei feddwl hefyd pan y dywedai taw rhaff hir ydoedd yr *Atlantic Cable*, â Sais yn un pen iddi, ac Yanci yn y pen arall—Philistiad ymhob pen—yn traethu mawrhydri!

Feallai y dylem hysbysu ein darllenwyr ein bod ninnau am geisio dwyn y gair drosodd eto i'r iaith Gymraeg; ac os pair hynny ychydig gyfnewidiad yn ei ystyr, na warafuner hynny iddo. Y mae toraeth o rywbeth yng Nghymru nad oes gennym enw cyfleus a hylaw arno: fe'i gelwir weithiau *humbug*, bryd arall yn *cant:* bwriadwn ninau gyfuno y ddau air ynghyd o dan yr enw "Philistiaeth." Heb ini fyned i fesur yn fanwl y rhywbeth yma, a chan nad oes diwyg Gymreig i'w rho'i am dano, a chan fod y *ready mades* Seisnig mor gyfleus, ni a'i hadnabyddwn ef bellach dan yr enw uchod. Yr enw gennym arno, yn ei ddillad-bob-dydd, ydyw *humbug;* ond hwyrach y gallem ei alw yn ei ddillad-dydd-Sul yn "Philistiaeth." Sawru yn drwm o glebar y pysgodwragedd y mae y gair *humbug*,—gair y gwter ydyw. Gan fod dwrn Golygydd *Y Geninen* i fyny, a ninnau yn dewis bod yn weddol weddaidd, yr ydym, er mwyn cyfleustra yn fwy nag oddiar ystyriaeth o gywirdeb manwl yr enw, yn barod i ddwbio y cnwd tew o *humbugiaeth* sydd yng Nghymru â'r enw "Philistiaeth."

Pwy faidd wadu nad ydyw Cymru fechan yn llawn, hyd ei dwy làn ymyl, o *humbug* a *cant*, a rhywbeth arall anneffiniadwy, a alwn ni yn "Philistiaeth?" A hoffem iddo gael ei adnabod byth bellach dan yr enw hwn: y mae Philistiaeth yn ddifai enw i'w ddannedd. Gwarthnoder ef âg enw. Y mae toraeth o'r hyn a elwir gennym ni yn fath o wareiddiad, neu rywbeth a ddaeth i mewn i'n gwlad megis yn ysgil gwareiddiad, nad ydyw yn ddim amgen na Philistiaeth noethlymun. Oes y pren ysgaw, a thwll yn ei ganol, ydyw hon; ac nid oes yr hen dderi llawn rhuddin. Oes y brws paent a'r lliw, oes y siswrn

a'r *paste;* ac yntau, arglwydd *shoddy*—archoffeiriad pob lledrith—y diafol, yn rhodio oddiamgylch, nid yn gymaint megis llew rhuadwy, gan *geisio* y neb a allo lyncu, eithr, fel angel goleuni, *wedi* llyncu y rhai a geisiodd; a phawb yn dweyd ei fod yn hen wr boneddig o'r mwynaf, ac yn tynnu eu hetiau iddo wrth basio. Rhyfedd y fath wahaniaeth: pan y mae gwirionedd yn myned heibio, maent yn dianc tros y clawdd! Oes y *walking plausibilities* yw hon—cynhauaf y *cheap jacks;* a gwerin Cymru, druain, fel cywion brain, yn agor eu pigau, mewn anwybod, i lyncu y *sham* diweddaf ddaeth allan. Oes sydd yn cynysgaethu Barnwyr llysoedd Ei Mawrhydi â digon o fenyg gwynion, oherwydd nad oes gwaith yn y "Sessiwn yng Nghymru" i gospi carnladron na chrogi llofruddion; ond oes sydd yn cadw Barnwr Llys y Mân-ddyledion â'i drwyn ar y maen llifo, o foreu gwyn tan nos, am mai dyma brif lys pobl dduwiol Cymru i dwyllo a chael eu twyllo. Oes euraidd y *Bankruptcy Act*, ysywaeth, i geisio dal rhai o'r lladron gonest sydd yn myned yn foneddigion wrth dori! Oes "y troed goreu yn mlaen," a'r moethau a'r biliau hirion, wrth geisio ymbincio mewn plu Ffrengig, na fwriadwyd mo honynt erioed i'r hinsoddau hyn, nes magu y gymalwst ar y gwisgwr, a rhywbeth gwaeth ar y siopwr sydd heb obaith cael ei dalu am danynt. Coffa da am yr hen lychod teilwng gynt—ein tadau a'n teidiau—y rhai ni fynent amgen brethyn na'r un a dyfai yn gnyfiau braf ar ddefaid y Bannau ym Mrycheiniog, a'r Eryri yn Arfon; ac ni fynent amgen porthiant na boliad o faidd, neu biccws-mali; a'u hameuthyn mwyaf mewn cwpanaid o fîr wedi ei ddarllaw gartref, i lyncu tafell o fara a chŷn o gaws. Mawr dda iddynt heb eisiau na meichiau na cheisbwl—dau, ysgwaetheroedd, o brif addurniadau yr oes hon—yn benthyca arian i'w gilydd ar lan rhyw afon, neu dan gysgod rhyw glogwyn, heb neb yn gweled, ïe, cofier, heb neb yn gweled; canys gorweddai y nefoedd fawr uwch eu pen, lle bynnag yr elent, a sisialai cydwybod oddifewn, yr hyn a wnai y tro iddynt yn lle *Note*

*of hand.* Bellach y mae Philistiaeth wedi gwneyd i ffwrdd, i fesur mawr, â'r symledd hwn.

Dywed Matthew Arnold fod, o leiaf, dri math o Philistiaeth yn Lloegr; a rhwydd addefwn nad llai beth bynnag ydyw y nifer, ac nid gwell ydyw y mathau o hono, sydd yn trwblo preswylwyr y tu yma i'r Clawdd. Y mae y "Philistiad crefyddol" *(The religious Philistine)* yn ffurfio un dosbarth; y "Philistiad parchus" *(The well-to-do Philistine)*, un arall; a'r "Philistiad trystfawr" *(The rowdy Philistine)*, un arall. A'r rhai diweddaf yma y mae a fynnom ni yn bennaf yn y papyryn hwn:—y Philistiaeth sydd â'i holl ogoniant yng ngwadnau ei draed i guro pob peth i lawr mewn eisteddfod a chylchwyl, oni fydd wrth fodd y rhai dienwaededig—y Philistiaid cegrwth—sydd yn gerain am weled eu heilunod eu hunain ymhob lle, ac yn bugunad yn erbyn pob peth fyddo yn adeiladol a da, ar bob llwyfan, oni fydd yn ddigon difyr a digrif. Plâg arnynt, y ffeilstion digred: dyma un o'r saith bla diweddaf yng Nghymru; ac y mae yn bygwth bywyd rhai o'r sefydliadau goreu a feddwn.

Ond mynnem na chamddealler ergyd ein hysgrif, a'n trawsamcan anniben ynddi. Ni fynnem er dim i'n darllenyddion ddyfalu ein bod yn tybied taw Philistiaeth ydyw pob peth sydd yng Nghymru; neu, fod yma fathau mwy dirmygus ohono nag sydd ymhlith plant Hengist a Horsa. Na, gwyddom lawer yn amgen: y mae toraeth o onestrwydd syml, ac unplygrwydd digymen, yng Nghymru, sydd yn addaw bod, fal y dywaid Ben Jonson, yn halen o enaid i gadw corff cymdeithas rhag drewi. Nid gwir, ychwaith, fod Cymru yn waeth, os can waethed, a'r teulu y wyneb arall i Glawdd Offa. Y mae Philistiaeth y Sais, i ni, yn fwy annyoddefol nag eiddo y Cymro, ïe, hyd yn oed nag eiddo y Sais-Gymro, a fagwyd ym Mhen-y-mynydd ym Mon, neu yn Ystradyfodwg ym Morganwg, ac a aeth i Lunden, Brimijam, neu Lerpwl, a adeiladodd dri o fythod âg arian benthyg, a anghofiodd iaith ei fam cyn dysgu o hono feistroli cy-

malau Saesonaeg y Frenhines! Cwffio ceiliogod, ymladd â llygod Ffreinig, gwerthu ei wraig i'w gymrawd am folaid o fîr: dyma gampau y Philistiad Seisnig. Ar air, y maent hwy yn byw yng nghymydogaeth yr hyn a eilw un o'u poëtau hwy eu hunain—"*the eternal swine-troughs.*" Yr enghraifft oreu a welsom ni erioed o'r *rowdy Philistine* Seisnig ydoedd yr un a gafwyd yn ddiweddar gan geidwad Claddfa Highgate, yn Llundain. Yn y gladdfa honno mae y pen-cwffiwr Tom Sayers wedi ei gladdu—ei fastiff ac yntau yn yr un bedd; ac y mae beddfaen wedi ei chyfodi i Tom (drwy danysgrifiadau y Philistiaid, tybed ) a llun y mastiff ar y beddfaen. Yn ei ymyl y mae bedd Dr. James Hamilton, un o ysgrifenwyr mwyaf chwaethus y Saeson. Heb fod nepell oddiwrtho y mae beddrod George Elliott, na b'o ond ei chrybwyll. Ond tra nad oes ond ambell i ymwelydd yn talu ymweliad â beddrodau yr enwogion sydd yn cysgu ym mynwent Highgate, y mae y llwybr yn goch gan ôl traed fforddolion dirif yn ymweled â bedd y mastiff a'r penymladdwr! Dyna'r fath ydyw y *rowdy Philistine* Seisnig!

Nid ydyw ei frawd, y Philistiad Seisnig parchus, nemawr gwell nag ef. *Betio* ar garnau ceffylau ydyw ei brif gamp ef, ïe, *betio* ar bob peth, o fywyd y Frenhines i lawr hyd at y *fatch* saethu colomennod! Lle bynnag y mae dawns a chwareufa, yno y ceir ef. Rhoddwyd iddo ef ddigon o'r llwch melyn dymunol, i fforddio gweled gwledydd dieithr; ond yn hytrach nag ymborthi ar brydferthwch golygfeydd anian, ceir ef yn bolera ar y seigiau brasaf. Os gwelwch y Philistiad Seisnig yn dringo rhai o fynyddoedd Cymru, fe wna hynny fel bwch gafr, gan *bori wrth fyned i fyny!* Ei syniad ef ydyw myned i ben y Wyddfa, dan yr esgus o weled yr haul yn *dyfod i'r golwg*, ond yn bendifaddeu i roddi swm helaeth o facwn ac wyau *o'r golwg.* Pysgota eogiaid a'u bwyta a wnelai efe yn afon Cedron; agor mwnglawdd ar lethr yr Olewydd; neu gyfodi ffactri bapyr wrth draed Olympus! Y mae ganddo ef ei lygaid ar yr ymarferol

ymhob man! a'r ddau frenin y mae efe yn foddlon talu teyrnged iddynt ydyw y cylla a'r cefn. Rhyngddo ef â'r Philistiad Cymreig—nid oes llawer o ddewis: nid ydyw ond chwech o un a hanner dwsin o'r llall.

Y mae dau fath arall o "Philistiaeth" sydd, o ran trâs, yn agos garennydd i'w gilydd, sef Philistiaeth ddynwaredol a darlithyddol. Ysir Cymru, yn enwedig y rhan lefaryddol ohoni, gan y rhai hyn. Pa sawl mab iar sydd heddyw ym mhwlpudau Cymru yn ceisio canu fel ceiliog? Trowch i mewn i Gwrdd Misol y Calfinistiaid, neu i gwrdd mawr y Wesleyaid, neu Gwrdd Chwarter yr Independiaid, neu Gymanfa y Trochwyr, yno y ceir ef, yn estyn ei wddf, ac yn ymsythu yng nghyrddau yr enwad, gan wneyd llais a thôn mor debyg ag y gall i ryw Ddoctor Duwinyddiaeth a ddigwydd fod yn hoff eilun ganddo am y mis hwnnw. A'r Philistiaid hwythau yn agor eu safnau, ac yn edmygu doniau mab yr iar! Y mae aml i ledfegyn ieuanc o bregethwr, yn feichiog gan wynt, ac, fel y broga yn ceisio dynwared y bual yn y chwedl, ar hollti gan uchelgais. Pa un fwyaf o Philistiad ydyw efe, ynte y doethawr â'r plu benthyg y ceisia ei ddynwared, neu y rhai sydd yn ei edmygu, ni pherthyn i mi benderfynu.

Y mae oes y darlithiau, i fesur, drosodd yng Nghymru; ond nid ydyw oes y Philistiaeth ddarlithyddol drosodd. Dyddiau y darlithiau addysgiadol, hanesyddol, adeiladol—y mae y rhai hynny ar ddarfod; oblegid na ddaw'r Philistiaid i'w gwrandaw: ond y mae gwrando ffyliaid mor felus ag erioed. Yn ddiweddar troisom i mewn i gwrdd crefyddol, lle yr oedd ffŵl yn adrodd yr hyn a alwai efe hanes ei daith i'r America, a'r croesaw a gafodd yno; a'r Philistiaid hwythau yn mwynhau! Ceir darlithiau ar destynau ardderchog, nad ydynt ddim amgen na swp o ystorïau digrif, er mwyn boddhau y Philistiaid. Cyrchwch Samson i beri i ni chwerthin, a Samson yn d'od; ac ni bydd y ffaith ei fod yn bregethwr ond yn peri i ni deimlo mwy o dosturi drosto, yn gorfod aberthu pob peth cysegredig ac anwyl,

ei chwaeth a'i ddawn, i borthi anwes y rhai dienwaededig! Ceir rhai yn adrodd hanes teithiau i wledydd tramor, heb fod erioed ymhell oddi cartref; ac yn synnu cynulliadau o Philistiaid drwy ddangos arferion broderion gwledydd pellennig gyda "bratiau budron" o ddilladach wedi eu rhoi wrth eu gilydd yng Nghymru!

Ond er yr haeddai pob un o'r rhai hyn ysgrif iddo ei hun, awn heibio iddynt oll, ar hyn o bryd, at y Philistiaeth neillduol yr ydym â'n llygaid arno er's meityn, sef yw hynny, Philistiaeth y cyrddau llenyddol, y cyngherddau, a'r eisteddfodau. Dyma lle y mae y Philistiaid wedi bod mewn afiaeth diderfyn braidd y blynyddau diweddaf. Cofier taw am y Philistiaid safnrwth yr ydym yn llefaru. Gwir fod Philistiaeth ar y llwyfan; ond â Philistiaeth y llawr y mae a fynnom ni'n awr. Yr ydoedd yn bod, ond nid yn meddu y fath ddylanwad, yn nyddiau Shakespeare. Efe, a'i ddosbarth, ydyw y rhai a eilw y bardd anfarwol o Ystrad-ar-yr-afon, yn *Hamlet*, o dan yr enw "*groundlings*." "O, it offends me to the soul to hear a robustious periwig-pated fellow tear a passion to tatters, to very rags, to split the ears of the groundlings, *who, for the most part are capable of nothing but inexplicable dumb-shows and noise.*" Dyma gymeriad y llawr-giwed—*groundlings*—yn nyddiau William Shakespeare. Rhyfedd leied o wahaniaeth y mae blynyddoedd wedi ei wneyd arnynt! Mor debyg ydynt yn awr: nid ydynt yn gymhwys i werthfawrogi dim ond gwag-ymddangosiadau a swn! Ond ni thâl mo'i wadu, hwynthwy ydynt feistriaid y sefyllfa, i fesur mawr, yng nghylchoedd llenyddol cyhoeddus Cymru. Rhaid addef fod eithaf digon o Philistiaeth yn y dewis testynau, y beirniadu, y llywyddu, &c., yn ein cynulliadau llenyddol, yn fawrion ac yn fychain; ond gellir dweyd yn ddifloesgni taw er mwyn boddloni y Philistiad ar y llawr y mae y cyfarfodydd hyn wedi eu llunio y blynyddoedd diweddaf. Yn y pen draw, y mae pob peth yn ei law ef. Onid oes ganddo garnau i guro, a dwylaw i ddulio i lawr, bob peth na fyddo at ei archwaeth!

Onid oes ganddo ef ysgyfaint a cheg? Pa beth ydyw ymennydd âg *intellect*, *versus* oernadau a hwtiadau? Rhaid i'r cyfarfodydd dalu: tuag at iddynt dalu rhaid cael llu o Philistiaid ynghyd; ac er eu swyno hwy, y creaduriaid gwagsaw, rhaid cael cyflawnder o ganu a thabyrddu, a dim o'r pethau sylweddol a alwant hwy yn sychion bethau. Rhaid ymgroesi, boed a fo, rhag i'r cyfarfod droi allan yn "sych" yn marn y Philistiaid: byddai hynny yn ddamnedigaeth i'r sefydliad ar unwaith. Ni waeth un gair mwy na chant, y Philistiad ydyw meistr y llwyfan, y beirniaid, y pwyllgor, a'r cyfan. Er ei fwyn ef y mae y feirniadaeth wedi myned i lawr, o fod yn ddernyn adeiladol i fod yn ddim ond hysbysiad moel! Er ei fwyn ef y mae gwobr y traethawd yn cael ei chyfyngu i hanner-can'swllt, er mwyn gallu rho'i hanner-can'punt i gôr am ganu, er boddhau y dienwaededig! Gyda llaw, onid "Eisteddfod Gerddorol" y gelwir y cynulliad, er denu yr hir-glust iddi! Gwelsom, cyn hyn, ysgolor gwych yn ceisio beirniadu cyfieithiadau, gan nodi allan ddiffygion a rhagoriaethau y gwahanol ymgeiswyr; eithr yn gorfod eistedd i lawr, oherwydd cyfarthiadau y Philistiaid. Da iddynt hwy nad oedd eu tafodau lliprynaidd o dan ein dannedd ni y pryd hwnnw. Ar ol yr ysgolor, wele gynhinyn o hogyn yn dyfod ymlaen i'r esgynlawr, â'i enw cerddorol, bondigrybwyll, "Llew" y bryn tu ol i gefn tŷ ei dad, â'i balfau mewn menyg, ac yn canu, am y drydedd waith y noson honno, y "Bachgen Dewr;" a'r Philistiaid mor ddistaw a llygod, ac mor waraidd a'r ŵyn! Drwy ganu y mae swyno barbariaid! Cawsom ein hunain, unwaith, yn y dyrfa, yn myned o eisteddfod fawr gostus; ac yn y ceu-ddrws, pan yn myned allan, clywem un o'r Philistiaid yn dweyd wrth y Philistiad arall, gyda math o weryriad boddhaus:—"Côr ni ffustws heddi, bachan." Fe roddwyd deg-gini-ar-hugain i'r côr hwnnw am "ffusto" y côr arall, pryd nad oedd yr un wobr arall yn y lle uwchlaw y nifer hynny o sylltau! Y Philistiad yw y *bos*, ys dywed yr Yancis; a rhaid talu

gwarogaeth iddo. Y mae *yr* arweinydd, y beirniaid, y cerddorion, ïe, hyd yn oed greadur mor ryddieithol a'r llywydd, o dan ei fawd ef. Y ddawn brinnaf yng Nghymru, y dyddiau hyn, ydyw y ddawn i arwain cyfarfodydd llenyddol ac eisteddfodau. Y mae arweinydd, boddhaol i'r Philistiaid, yn gyfuniad lled anhawdd ei gael. Y mae yr arweinydd yn eisieu y dyddiau hyn. Math o *Beau Nash* y rhaid iddo fod—digrif-ddyn ffasiynol, i beri i'r Philistiaid chwerthin. Yr oedd y ddawn yn *Beau;* canys onid ydoedd yn Gymro wedi ei eni yn Abertawe? Rhywbeth rhwng *clown* y brenin, ffŵl y barwn, ac oracl y tafarndy, raid i arweinydd llwyddiannus mewn eisteddfod fod. Y mae y swydd "*to be let*" y dyddiau hyn. Pwy ddaw ymlaen am dani? Y ddawn fawr sydd eisiau ydyw dweyd ystorïau a *chrackio jokes*, —y peth a alwai *Hamlet* "yn hollti clustiau y llawrgiwed;" ac y mae eu clustiau mor hirion, druain. Ond peidied neb un o'r llawr-giwed a dibrisio ei hunan, canys efe, wedi'r cyfan, sydd yn rhoi yr amodau i lawr. Y mae y beirniaid yn torri eu hystori yn fer rhag ei ddigio; y mae y beirdd yn gwyleiddio rhag ei ofn, gan gadw eu doniau at eu seiatau cyfrinachol eu hunain—cyfarfodydd y beirdd; y datgeiniaid yn sychedu am ei *encore;* ac am deulu "Y Ford Gron" a'r "Cymrodorion," y maent hwy wedi gorfod cilio er's talm o'r neilldu. Yr ydym yn ysgrifennu y llinellau hyn a swn udgyrn Gorsedd Eisteddfod fawr Aberdâr yn swnio yn ein clustiau—gloddest-wyl Philistiaeth y ganrif hon. Digrif o beth ydoedd gweled Matthew Arnold, archelyn Philistiaeth Seisnig, yn cael ei guro i lawr gan dyrfa o Philistiaid Cymreig. Bellach disgwyliwn am ei ddedfryd! Ychydig o'r sychion-bethau oedd ar y drefnlen; a phan ddaeth dydd yr eisteddfod, llai ddaeth ymlaen. Pa waeth gan y rhai dienwaededig am y rhyddiaeth, na'r farddoniaeth chwaith, os ceir digon o loddest-gampio, a thaflu capiau i'r awyr! Yma eto y Philistiad ydoedd y rhychor ar bawb; oblegid, megis y creaduriaid a gollasid yn nyddiau tad Saul frenin, onid oes ganddo garnau?

ac os aflwydda y pen hwnnw, y mae, â'r pen arall, yn gallu brefu! Hawyr bach, pwy lyfasa wrthwynebu y fath greadur arfog?

Y peth sydd wedi andwyo cyfarfodydd llenyddol Gogledd Cymru, ac eisteddfodau y De, ydyw eu cyfodi a'u cadw i fyny fel *speculations*, ar egwyddor y "talu am danynt eu hunain," a disgwyl iddynt adael gweddill; o ganlyniad, rhaid eu gwneyd mor Philistaidd ag sydd bosibl. Nid dyrchafu llenyddiaeth yw hyn, ond ei darostwng. Y mae cyfarfodydd tawel, chwaethus, a threfnus yn cael eu dwyn ymlaen yn awr, lle y mae amryw ardaloedd wedi bod yn llafurio, am flwyddyn gron gyfan, mewn gwahanol feusydd llenyddol; ac yn y gylchwyl lenyddol a cherddorol flynyddol, yn dwyn yr holl lafur hwnnw i bwynt. Ond ni fyn y Philistiad mo'r rhai hyn, eithr troa ei drwyn arnynt; ac fe aiff i ryw "Eisteddfod Gerddorol Fawreddog," lle y caiff guro ei draed, a lluchio ei het i'r awyr! Ardderchog, meddwn ni, oddiar brofiad a sylwadaeth, ydyw y cylchwyliau tawel a chwaethus hyn; y maent wedi gwneyd gwaith yng Nghymru nad oes neb a ŵyr ei faint. Y maent wedi cynyrchu llenorion grymus, buont achlesfaoedd i gerddoriaeth uchelryw, nid oes a wnelont â Philistiaeth yn yr un o'i rywogaethau; a gresyn mawr fod dim arwyddion o eiddilwch yn dyfod drostynt. Nid nôd o ddiwylliant a gwelliant ydyw eu bod yn myned yn anamlach. Colled fawr fydd eu colli.

Am yr Eisteddfod Genedlaethol ni lyfaswn ddweyd gair. Y mae hi fel "y ddelw fawr, â'i phen o aur da," a hwnnw, gan mwyaf, fel pob peth da, yng nghadw yn Llundain; "a'i thraed, peth ohonynt o haiarn, a pheth ohonynt yn bridd." Ar y traed pridd—Philistiaeth—y mae y ddelw yn sefyll, serch hynny. Am hynny rhaid gofalu am y traed. Y mae yr holl ddelw—yr aur, yr arian, y pres—yn dibynnu ar y traed pridd, sef gwerin Cymru. Rhydd hyn gyfrif am y nodweddau poblogaidd, ar draul esgeuluso pob peth arall, a ddygir i mewn iddi. Nid ydyw hithau, er's blynyddoedd, namyn

"Eisteddfod Gerddorol" mewn *disguise*. Feallai pe y gellid ei gwneyd yn llai dibynnol ar y lluaws, y gellid dwyn mwy o'r pethau gwir sylweddol, gwir fuddiol, i mewn iddi. Cyn y gellir gwneyd hyn rhaid ei gwneyd yn llai costfawr, ei gwneyd yn fwy-fwy Cymreig, ac yn llai tramoraidd. Nid ydyw chwareuwyr Ober-amergau byth yn hurio *artistes* o Paris i ddyfod drosodd i gymeryd rhan yn eu chwareu neillduol hwynt, er mwyn denu y Ffrancod, a chenedloedd ereill, yno i weled. Na, y maent yn cadw eu cyfrinion iddynt eu hunain; ac y mae miloedd yn myned yno bob tro y *perfformir* y prudd-chwareu cyfriniol hwnnw. Yr hyn ydyw y chwareu-gerdd gysegredig, gyfrin, honno i drigolion y lle hwnnw, dyna i raddau helaeth ydyw yr Eisteddfod i Gymru. Gweddillion yr hen oesau ydyw; a'i gogoniant ydyw ei chadw mor Gymreig ag y gellir, a'i chadw yn fuddiol hefyd. A dyma, ni dybiem, fyddai y swyn mwyaf, hyd yn oed i dynnu dieithriaid o wledydd eraill iddi. Os gwneir hi yn debyg i gyngherddau y Palas Grisial, pa swyn i Sais sydd ynddi, ond yn unig i'r Philistiaid o'r genedl honno?

# PHILISTIAETH ENWADOL CYMRU.

## I.

MELUSAF y cân eos, mae'n wir; ond ni phair Duw i'r frân dewi; ac o bydd ganddi genadwri ni warafunir gwrandaw arni, er anmhereiddied ei llais ac er mor aflafar ei thôn. Odid na chofia y darllennydd i ni lyfasu ysgrifennu gair, fisoedd yn ol, ar "Philistiaeth" yn ei wahanol agweddau, yn neillduol Philistiaeth lenyddol Cymru; a'r pryd hwnnw, wrth fyned heibio, crybwyllasom y ffurf uchod arno—Philistiaeth enwadol Cymru; a byth er hynny e fynid i ni, gan ddynion sydd, fel ninau, yn meddu argyhoeddiadau cryfion ar y pwnc, geisio ysgrifennu ychydig linellau ar yr arwedd hon arno. Dir yw fod gennym ein syniadau ar hyn, a'n bod yn ystyried enwadaeth yn ofid blin yng Nghymru er's llawer blwyddyn hir, ac yn cynyddu fwy fwy felly o flwyddyn i flwyddyn; er hynny nid gorchwyl cysurus ydyw dal i fyny y drych o flaen wyneb ein cenedl er ceisio ei hargyhoeddi o'r brychau a'r creithiau sydd arno. Coelier ni taw eiddigeddus ydym dros anrhydedd ein gwlad a'n cenedl: ac edrych y pethau hyn mor hagr ar ei gwyneb oblegid fod ei theleidion mor amlwg a lliosog. Ond yr oeddym ni, ar ol traethu ein llên flaenorol, wedi penderfynu bod yn dawedog, a sefyll at ein haddewid o fyned fel Diogenes i'r twb, ac aros yno gwaedded a waeddo; eithr taerni ereill a orfu: a chofied ein darllenyddion mwynion nad nyni sydd yn gyfrifol hollol am yr amryfusedd, os dyna fydd, o anturio allan o'r ogof y tro hwn. Disgwyliwn y bydd câd-gamlan enbyd yn dilyn hyn o raith; daroganwn weled ein hunain yn gyff clêr enwadaeth Cymru; a dilys ddiameu y

bydd yr holl sectariaid culion ben-ynghâd â ni: ond difyr ydyw meddwl "nad cymaint Bleddyn a'i drwst." Nid oes i ni ond gwneyd ein dyledswydd, ac ysgrifennu yr hyn yr ydym yn argyhoeddedig ohono sydd wirionedd, a bid rhyngddynt hwy â'u cydwybodau ac â ffeithiau diymwad. Er hynny, rhaid addef taw gorchwyl anniddan ddigon ydyw ceisio chwareu rhan Erclwff heb ei nerth—ceisio llindagu seirff, ymladd â llewod, a charthu allan yr ystablau Awgeaidd, heb obaith anfarwoldeb. Llawer dedwyddach, nyni a ddywedwn eto, i ni fuasai myned o amgylch ogylch ein cenedl, a nodi allan ragoriaethau ein gwlad, ein defion, a'n crefydd, o'r rhai y mae ganddynt lawer mil; a mwy fuasai ein parch o'r herwydd, eithr nid mwy fuasai tawelwch ein cydwybod. Y mae gennym brofion beunyddiol taw gormes fawr ein canrif yng Nghymru ydyw yspryd enwadol—"Philistiaeth" enwadol.

Nid ydym, yn yr ysgrif hon, mwy nag yn ein hysgrif flaenorol, yn cael termau wrth ein bodd yn dda. Y mae y gair "Philistiaeth" y goreu y gallwn daraw ein llaw arno ar hyn o bryd: eithr bwriadwn iddo gael ei ddeall yn yr ysgrif hon mewn ystyr tra ëang, a chyda meddwl ychydig yn wahanol i'r fel ei defnyddir mewn llenyddiaeth Seisnig. Ar air, golygwn iddo fod yn enw dynodiadol o'r *cant*, a'r *humbug*, a'r holl wehelyth gwrthun hynny sydd yn dyfiant pydredig o gwmpas yr elfen grefyddol gref sydd yn ein nodweddu fel cenedl. Felly, bydd gennym i ymwneyd â'r Philistiad hwnnw a eilw Matthew Arnold—Y Philistiad crefyddol *(The religious Philistine).* Cofier ein bod yn gwneyd byd o wahaniaeth rhwng enwadau ac enwadaeth: y mae un yn angenrheidrwydd rhagluniaeth, ac yn lled-ddaioni, tra nad ydyw y llall ond corfforiad o gulni a rhagfarn. Dywediad ffol a diystyr, er yn bert o ran ei ffurf, ydoedd hwnnw o'r eiddo Voltaire am y Lloegrwys, taw pobl ryfedd oeddynt—fod ganddynt hanner cant o sectau crefyddol, a dim ond un saws *(sauce)!* Y mae y dywediad yn taro allan i'r dim gymeriad y Ffrancwr, duwiau

yr hwn ydyw y bola a'r cefn; a'i thuser aur, i offrymu i'w eilunod, ydyw ei badell ffrïo! Gwell gennym ni, er hynny, y genedl y mae ganddi amryfal bleidiau crefyddol, â dim ond un cyffaeth *(sauce)*, na chenedl fel y Ffrancod, â chanddi gyffeithiau lawer, ond heb yr un grefydd! Eithr un peth ydyw pleidiau crefyddol, peth arall, hollol wahanol, ydyw ymbleidiaeth grefyddol: y mae un, os yn ddrwg, yn un o'r drygau angenrheidiol, ac yn esgor ar ddaioni diledryw; tra y mae y llall yn felldith ac yn drychineb anaele.

Hefyd, ni pherthyn i'r darllenydd ddyfalu, nac i'r ysgrifennydd hysbysu, llais o ba le ydyw yr ysgrif hon: am hynny, bwriadwn i'w chynnwys gael ystyriaeth ar wahan oddiwrth ei hawduriaeth. Un o gastiau y Philistiad enwadol—fel y mae arno gant o gastiau—yn anad yr holl Philistiaid, ydyw troi ymaith fin yr hyn a ddywedir neu a ysgrifennir am dano, drwy briodoli gau-ddibenion i'r ysgrifennydd. Feallai taw llais o glochdy neu gangell yr Eglwys Sefydledig ydyw yr ysgrif hon, neu o bwlpud neu sedd fawr y Calfinistiaid, neu o allor neu areithfan y Bedyddwyr, yr Annibynwyr, neu y Wesleyaid; neu, mwy tebyg nad ydyw yn dyfod o'r un ohonynt fel y cyfryw. Pwy ŵyr? a pha ddawr i'r darllennydd sydd yn hynny? Cymered ef yr hyn sydd wirionedd, a rhodded ystyriaeth iddo. Oddiar y safle anmhleidiol hon, gan hynny, yr ydym yn bwriadu llefaru am yr holl bleidiau crefyddol *Cristionogol* yng Nghymru ar yr un tir, o'r Eglwys Sefydledig hyd at y blaid ddiweddaraf oll, yr hon, oherwydd coron o arian, a ymwahanodd oddiwrth ei mam-blaid. Eithr tybiwn glywed rhyw un sydd dan gysgod meitr yr esgob, neu un sydd yn byw mewn gobaith am y fywioliaeth fras nesaf ddaw yn wâg, yn gwaeddi allan, heb allu ymatal—Ai llefaru yr ydych am yr Eglwys fel enwad? Pwy glywodd erioed am Eglwys Sefydledig y wlad yn cael sôn am dani fel enwad? Wel, y *mae* nerth yn dy ddywediad: wele, Eglwyswr y'th elwir di; ac y mae nerth cyfraith o'th blaid di, tra y *goddefir* i'r enwadau eraill fodoli. Mor

wired taw Iuddewon a Chenhedloedd ydoedd y dosraniad mawr ar drigolion y ddaear gynt; felly, yn ol cyfreithiau Prydain Fawr, a gweddïau y Llyfr Gweddi Gyffredin, Eglwyswyr a Sismaticiaid, credinwyr a chyfeiliornwyr, ydyw y dosbarthiad mawr a gydnabyddir yn awr. Y mae yn dyfod i'n côf, O! tydi ŵr ffodus, os llwydda dy gais i gyrhaedd clust y meitrog, taw Ymwahanyddion y galwai Ieuan Brydydd Hir, a'i fath, yr enwadau, yr hwn air sydd, i'n bryd ni, yn llawer cymhwysach i'w fabwysiadu fel enw na'r gair dinerth Ymneillduwyr. Ond, mewn ysgrif fel hon, rhaid edrych ar bethau o safle amser a synwyr cyffredin. Y mae yr adeg i dorri crib y paunod heb fod nepell; a pha beth fydd gan y paun wed'yn ond ei ysgrêch? Pan y dosberthir yr adar, mewn anianyddiaeth naturiol, rhaid rhoddi yr ëos, ag eithrio ei llais a'i chân, yn yr un dosbarth o adar ag adar anfarddonol eraill. Felly yr Eglwys Sefydledig, rhaid ei rhestru hithau gyda'r Methodistiaid Calfinaidd a Wesleyaidd, yr Annibynwyr, a sectau anfarddonol eraill. Mewn gair, y mae gan y capelau enwadol, rai ohonynt, eu clochdai yn barod; a cheir rhai cyfundebau Ymneillduol yn casglu cronfeydd. Dengys hyn fod llyfelu yn cymeryd lle eisoes i fyny neu i lawr.

A raid i ni ddweyd unwaith yn rhagor na fynem er y byd i neb ein deall, neu ein cam ddeall yn hytrach, fel yn dweyd nad oes dim daioni a rhinwedd crefyddol yng Nghymru. Na, yr ydym yn dystion byw o bethau amgen. Hyfrydwch ein calonnau ydyw gweled amledd ein heglwysdai, a'n haddoldai, ein Hysgolion Sabbothol, a'n cyfryngau gwybodaeth o bethau crefyddol; a thybiwn fod a fynno hyn fwy nag a addefir yn gyffredin â'n cymeriad fel cenedl. Am y rheswm yma yr ydym yn teimlo cymaint pan y gwelwn rywbeth i anurddo y prydferthion hyn. Gresyn mawr os yw ein haddoldai a'n heglwysdai yn achlesfäoedd i gulni a rhagfarn, a'n hysgolion a'n cyfryngau llenyddol yn gwasgar yspryd sectol. Ni fynem ychwaith i neb gredu taw Cymru yn unig sydd feithrinfa "Philistiaeth" enwadol a *cant:*

na, gydag ychydig wahaniaeth yn ei ffurf, y mae wedi lefeinio y genedl fawr Seisnig sydd berth-ymherth â ni. Fel hyn yr ysgrifennai Emerson, yn ei "Nodweddion Seisnig" *(English Traits)*, flynyddau yn ol, am y Saeson a'r Americaniaid:—"Y mae y Saeson . . . wedi ymroddi yn arswydus i *cant*. Clefyd ydyw sydd wedi gwenwyno y gwaed Anglo-Sacsonaidd ymhob cyfandir—yn Lloegr a'r America. Mae y Saeson a'r Americaniaid yn *cantu* y tu hwnt i bob peth. Dyry y Ffrancod y gangen hon o fasnach yn hollol i fyny iddynt. Beth sydd yn fwy ffiaidd na'n moes-ymgrymiadau rhagrithiol i Dduw yn ein llyfrau a'n newyddiaduron? Dyhirwch a ffug-sancteiddrwydd y wasg boblogaidd sydd yn gyfesur â'u gilydd; a chrefydd ffasiynol y dydd, nid ydyw amgen na math o Sinai chwareuyddol, lle y gwneir y mellt a'r taranau y tu ol i'r lleni. Pair y penboethni a'r rhagrith hwn i wawdwyr oganu. Caiff y *Punch* ddefnyddiau dihysbydd. Ysgrifenna Charles Dickens ffug-chwedlau i ddesgrifio dyngarwch *Exeter Hall*. Dadleua Thackeray geudeb y bywyd pendefigaidd: a dial natur ei cham drwy farbariaeth y dosbarthiadau iselaf." Wel, bydded y prawf bellach o enau un o'u poëtau hwy eu hunain. Nid ydyw pethau lawn can waethed â hynyna gyda ni: eithr meiddiwn ddweyd fod yr yspryd cul-sectol—"Philistiaeth" enwadol ffiaidd, ïe, ni ruswn ddweyd, dieflig—yn uwch ei ben yng Nghymru hyd yn oed nag yn Lloegr, ac yn llawer uwch nag yn yr America. Neu feallai taw mwy cywir fyddai dweyd—Am fod Cymru yn llai, a ninnau yn nes at ein gilydd, ein bod yn gwasgu ar benelinoedd ein gilydd yn fwy. Dywedwn unwaith eto, fod sectau yn cynyrchu lles; canys dir yw fod pob sect wedi gwneyd llawer er cadw, a dwyn i'r golwg, ryw wirioneddau pwysig, y rhai heb hynny fuasent, yn rhwysg yr amseroedd, yn myned ar ddifancoll. Ymddiriedwyd i'r Methodistiaid Wesleyaidd gadw zêl a thân yr eglwys yn fyw ar amseroedd oerion; dodwyd yn siars y Bedyddwyr a'r Trefnyddion Calfinaidd gadw yn fyw, a rhoddi arbenigrwydd ar,

brif wirioneddau y credo Calfinaidd; dyry yr Annibynwyr neillduolrwydd ar ryddid personol, ac annibyniaeth barn; a'r Eglwys Sefydledig hithau a osyd allan werth trefn a phrydferthwch mewn defosiwn ac adeiladau: felly, rhyngddynt â'u gilydd, dodant syniad gweddol gywir i'r byd am y crynswth gogoneddus, amlweddog hwnnw, a elwir gwirionedd. Ond am sectyddiaeth, naw wfft i'r ysgerbwd hwnnw! gallwn ddioddef pob peth yn well na hwn: gallwn ddioddef anwybodaeth, canys ni a'i dioddefasom; gallwn ddioddef sêl ddidwyll, hyd yn oed at finion mympwy, canys ni a'i dioddefasom; gallwn ddioddef syniadau cryfion, a syniadau cyfeiliornus, canys ni a'u dioddefasom: ond "Philistiaeth" enwadol, *cant*, a sectyddiaeth gul, fudr, ragfarnllyd, wenwynllyd, nis gallwn, ac nis gallasom, eu dioddef. Edrycher ar bentrefi glân a gwledig Cymru, gyda'u heglwysi a'u haddoldai, heirdd oddiallan; ond nad ydynt, lawer o honynt, namyn siopau enwadol, â'u llonaid o'r enwadaeth fwyaf cyfyng. Ar y dde dacw siop fawr y cwmni, gyda chlochdy ar ei phen, a gwas y Llywodraeth yn gweinyddu ynddi. Ychydig ymlaen, ar y chwith, y mae siop y Calfinistiaid; ac am yr heol â hi y mae siop yr Annibynwyr, a godwyd yn fuan ar ei hol—a'r hon a elwid, yn ol iaith masnach y byd, yn *opposition shop*.

A fuost ti erioed, ddarllenydd hawddgar, ar dy rawd ym mhentref Aberawel, wrth droed y Frenni? Pentref gwledig ydyw, yn cynnwys ychydig gannoedd o drigolion, ac yn rhan o blwyf Llanafarwy. Rywbryd, flynyddoedd meithion yn ol, daeth i feddwl boneddwr o Fedyddiwr selog, llëygwr didwyll, a gweithgar dros ei enwad, o'r dref gyfagos, ddyfod yno yn awr ac eilwaith ar y Suliau. Sefydlwyd yno achos siriol—adeiladwyd capel; a chorlannwyd—mewn geiriau eraill, bedyddiwyd—yno eglwys hawddgar yr olwg arni. Ond nid hir y parhaes ei hawddgarwch heb ei gythryblu; canys daeth yr Annibynnwyr a'r Calfinistiaid ac a ddyrchafasant eu golygon, gan resynu—y cyntaf dros y babanod bach, a barn bersonol; a'r ail dros blant rhïaint crediniol, a disgyblaeth

eglwysig: mynasant, gan hynny, adeiladu yno allorau i'w cyfundebau hwythau. Ond cyn pen nemawr o amser, rhyw Wesleyad wrth ymdaith a ddaeth y ffordd honno, a gresynai yn fawr dros y trigolion, yn gorfod derbyn bedydd trôch a chredu arfaeth, ac heb neb i bregethu iddynt iawn cyffredinol a gallu dyn: mynodd yntau weled ym mhentref Aberawel allor i Dduw, yn enw ei brif brophwyd, John Wesley! Hwnnw ydoedd pedwerydd capel yn y pentref bach; ond nid yr olaf. Yn ei hawydd i blanu gwr boneddig ac offeiriad ymhob cwm, daeth Eglwys Loegr heibio i'r fan; a thybiodd person Llanafarwy ei bod yn llawn bryd wneyd ymdrech i geisio gwaredu y pentref o afaelion y penboethiaid Ymneillduol; ac adeiladodd yno, bond ei grybwyll, "Gapel Esmwyth" *(Chapel of Ease)*, yr hwn, hyd y dydd hwn, sydd yn ateb yn llawn i'w enw, yn gapel esmwyth iawn i'r offeiriad a'r clochydd, ac hefyd yr un mor esmwyth i'r bobl, oblegid cânt wneyd a fynnont—a bara rhan, heblaw hynny—ond iddynt ddyfod i'r Eglwys ar Sul y Cymun. Ond nid ydoedd phiol dedwyddwch y pentref yn gyflawn hyd oni ddaeth un o farchogion St. Crispin adref yn ol i'w bentref genedigol, wedi bod ar ymdaith yn un o drefydd Lloegr; ac a sefydlodd gyfarfod bob nawn Sul, yn llofft ei weithdy, i ddadleu syniadau y *Brodyr Plymouth*, y rhai ni chredant mewn nac urdd nac offeiriad, mewn na defod na phader. Meddylier y fath gâd-gamlan a thrybestod sydd wedi bod yn y pentref bychan, gwledig hwnnw, ar hyd y blynyddau; ac y maent, gâd-ynghâd â'u gilydd, yn ymgeintach ac yn ymdderu yno hyd y dydd hwn! Yn yr holl addolfannau hyn, gyda'u gilydd, y mae digon *bedair gwaith* o eisteddleoedd i holl drigolion y pentref i gyd! Y *mae* yr holl bentrefwyr yn aelodau yn yr addoldai hyn, oddigerth tua chant namyn deg sydd o baganiaid yn y pentref! Y mae y mân gapelau yn ceisio ennill oddiar eu gilydd, ac nid oddiar y diafol. Oddiar ysgwydd y Frenni y buom ni yn edrych arnynt ddiweddaf; ac i ni ymddangosent fel barilaid o wiberod Aiphtaidd yn

colynu eu gilydd, a phob un am gael ei ben uwchlaw y llall! Da gennym nad oeddym gyda hwynt: gwell oedd gennym fod ein hunain gyda'r ser. A dyma hanes lluawe o fân bentrefi De a Gogledd Cymru yn awr. Dim ond cyfleëu yr enwadau ychydig yn wahanol, fe wna y darlun hwn y tro am bentrefi yn Nyfed, Gwent, neu Forganwg, yn y Deheubarth; neu am bentrefi Powys, Gwynedd, neu Fon, yn y Gogledd.

Ond gwaith anorphen braidd ydyw desgrifio y mawr hafog a wneir ar grefydd bur a dihalogedig gan "Philistiaeth" enwadol. Trychineb braidd i enwad yng Nghymru ydyw bod yn *brif enwad* mewn tref neu bentref, oblegid at y "Capel Mawr" yr annelir saethau fyrdd gan y mân eiriachod o'i amgylch. Dywedai un o boëtau "Sion Gorff," y dydd arall, taw y Methodistiaid Calfinaidd ydoedd "Sion Bwl" enwadau Cymru. Gresyn cymeryd dalen o lyfr y byd a'i darllen ym mhyrth merch Seion! Y mae y frawddeg uchod yn profi ein pwnc, yn ei hyd a'i led. Ond un peth ydyw bod yn Sion Bwl yng Nghwm Eigia yn Sir Gaerynarfon, peth arall ydyw bod yn Sion Bwl yng Nghwm Rhondda ym Morganwg: a chofied cyfundeb y Methodistiaid, os taw efe ydyw y prif enwad ym Mon, pell ydyw o fod felly ym Mynwy. Gwae, er hynny, meddwn ni, oddiar brofiad a sylwadaeth, ydyw bod yn perthyn i'r prif enwad—y "Capel Mawr;"—y mae ei elynion mor lliosog â dail y goedwig ym mis Gorffennaf, ac nid ydyw y mân gapelau namyn cyflegrfëydd dirgel i saethu ato yn ddiarwybod. A welsoch chwi yr hogyn mawr yn yr ysgol—y climach tàl, afrosgo—a'r hogiau bach yn ymbleseru mewn cyfarch cyrion ei babell â blaenau eu traed, mewn dull ydoedd yn bobpeth ond yn anrhydeddus? Dyna hanes y prif enwad mewn llawer llan yng Nghymru:—y mân enwadau yn wâraidd ddigon yn ei wyneb, tra, ar yr un pryd, yn pigo ei logellau i gynnal eu darlithoedd, a chefnogi eu cyngherddau, a thalu eu dyledion; ac, fel hogiau direidus, yn mingamu arno, ac yn ei wawdio, yn ei gefn. Ond gweddus i ni ydyw dywedyd nad prin

ydyw y *siarad* am undeb a brawdgarwch rhwng enwadau crefyddol Cymru. Y mae ganddynt y gwyneb hefyd, hyd onid ydym ni wedi diflasu ar y peth, o ffregodi gyda'u gilydd mewn danfon cynrychiolwyr o'r naill gyfarfod undeb i'r llall, a chynal cyfarfodydd mawrion i seboni eu gilydd, ar egwyddor y *Mutual Admiration Society;* yna ymrannu i'r treflannau a'r mân bentrefi i ddisodli eu gilydd! Mae mwy o *siarad* am undeb a brawdgarwch ymysg y gwahanol bleidiau crefyddol yng Nghymru nag odid i bwnc, a llai o *weithredu* felly nag mewn unrhyw wlad dan haul. Gwênant ar eu gilydd, pan â'u dwylaw yn llogellau eu gilydd; ond pa ragoriaeth sydd iddynt? oni wna pigwr llogellau heolydd Llundain yr un peth? Os bydd cwrdd mawr a chasgliad i fod, caiff yr enwadau eraill eu gwala wŷn o roesaw; ond heb hynny, ymaith â hwy. Os bydd Cristion i gael ei rostio yng Nghymru, fe geir Cristion arall (o enwad arall, bid siwr) yn barod i droi y bêr! Angenrhaid a osodwyd arnom i ysgrifennu fel hyn mewn geiriau cryfion; a gwae fydd i ni oni ddywedwn y gwirionedd. Gwyddom yr adsain pob calon ddiragfarn wirionedd ein sylwadau; canys y mae rhagfarn enwadol yn ofid blin, ac yn flinder yspryd, i'r cyfryw.

Ceisiwch roddi cyfeiriad i ryw ysgogiadau, neu gychwyn rhyw symudiadau cenedlaethol, yng Nghymru. Dyma lle y mae ein gwladgarwch yn torri i lawr yn druenus, a'n hyspryd cul enwadol yn mallu pob peth. Nid oes i ni ond cywilydd wyneb, yn hyn o beth, o'n cydmaru â'r Gwyddelod. Gwarchod pawb! Y Gwyddelod a ddywedasoch? Ië, anwyl ddarllennydd, y Gwyddelod! Perthynant hwy, y mwyafrif ohonynt, i'r Pabyddion—y blaid grefyddol fwyaf cyfyng ac anffaeledig ar Gyfandir Ewrob; ac eto y maent wedi suddo eu pleidgarwch crefyddol o'r golwg gymaint fel ag i gymeryd eu harwain gan Brotestant—Charles Stuart Parnell! A chyda'r unig eithriad o Daniel O'Connell, Protestaniaid sydd wedi bod yn arweinwyr y genedl Wyddelig, yn ei holl symudiadau gwleidyddol, yn y can-

rifau diweddaf! Er cywilydd i ni yr ydym yn ysgrifennu hyn. Yng Nghymru, rhaid rhannu pob symudiad gwladgarol, i'w gario ymlaen rhwng mintai o hen wragedd yn perthyn i'r gwahanol enwadau! Yn hollol annibynol ar ein syniadau am gyfreithlondeb neu anghyfreithlondeb Rheolaeth Gartrefol *(Home Rule)* i'r Iwerddon, meiddiwn ddweyd ei fod yn ddrych i'r byd i weled cenedl o Babyddion yn cael eu harwain gan ddyn sydd wedi cyhoeddi ar g'oedd Senedd Prydain Fawr, y flwyddyn hon, taw yn Brotestant y ganwyd ef, ac y bwriada farw felly! Ac fe addefa pawb fod y dyn hwnnw, er yn Brotestant, yn fwy ei ddylanwad yn yr Iwerddon heddyw na'r Pab ei hunan! Bryd y deuwn ni yng Nghymru i ddysgu suddo ein gwahaniaethau bychain, ffol, enwadol, er lles ein buddion cenedlaethol? Yn hytrach na hynny, enwadaeth ydyw yr anferthlun anhardd sydd yn cyfodi i fyny ymhob cysylltiad gyda ni. Craffwch ar adeg o ferw etholiadol, pryd y bydd mesurau mawrion, gwir genedlaethol a gwladgarol, yn y glorian. Mewn un man, dacw weinidog y Bedyddwyr wedi pwdu, am na fuasai ef ar y Pwyllgor, a'i bobl mewn canlyniad yn ddicra. Mewn lle arall, gedy y pregethwr Calfinistaidd bethau yn llonydd, oherwydd fod yr ymgeisydd seneddol yn gwneyd mwy o'r enwadau eraill nag o'i enwad parchus ef. Mewn ardal arall erys yr Annibynwyr rhwng y corlannau, oblegid nad yw yr ymgeisydd wedi cyfrannu yn ddigon ehelaeth at eu mympwyon ymbleidiol hwynt. Saif y Wesleyaid draw, mewn amryw fannau, oherwydd na addawa yr ymgeisydd bleidio mesur bychan, dibwys, i Gymru, a gynygir yn y Senedd gan un o'u gwŷr mawr hwy yn Lloegr. Ac wrth gwrs, fe gilia y gŵr Eglwysig ymhell oddiwrth yr ymgeisydd, oherwydd ei fod, yn ei fryd ef, yn gysegr-yspeilydd.

Yn mha le ond yng Nghymru y gellwch yn aruthr hawdd ddeall i ba enwad y perthyn dyn oddiwrth ei ddull, ei dôn, a'i lais, yn pregethu! Llais llugoer yr offeiriad Cymreig: y mae hwnnw yn adnabyddus ddigon. Gan nad pa le y bydd—ai yn cyhoeddi bendith ar ddon-

iau y cylla yng nghiniaw rhent yr yswain, neu yn gwneyd y plentyn yn etifedd teyrnas nefoedd uwchben y bedyddfaen yn yr Eglwys, neu yn bendithio y cymun bendigaid yn y ganghell—yr un hen dôn oer, fâs, deneu, ystrydebol, geir ganddo ymhob man. Tuchanfa fawr, leddf, drom, lusgedig y Calfinistiad, fel pe byddai y llefarydd yn gorfod llyncu eirinen perth rhwng pob gair: y mae honno yn adnabyddus drwy Gymru benbaladr! Fe gaed *patent* ar y dôn hon cyn darganfyddiad arian byw! Siarad mân a buan yr Annibynwr, yn clochdar fel corn y gwlaw, a'r araeth yn dylifo fel cornant y cwm ar ol cawod o wlaw taranau: adwaenom hynyna yn dda ddigon bellach. Hyawdledd hûr a llôg y Wesleyad, fel pe byddai wedi danfon am dano o Loegr, a'i gael adref, o fesur y sypyn, oddiwrth ryw *brofessor of elocution*, ac yn cael ei ganlyn gan seiniau a symudiadau wedi eu dysgu fel nodau cerddoriaeth: yr ydym yn gyfarwydd â'r rhai hyn hefyd. Doniau uchel, sychion, clebarllyd, y Bedyddiwr, can iached a chan syched â,—wel, ni ddywedwn â pha beth: pwy nad edwyn y rhai hyn? A chorph y gaingc ydyw fod pob enwad yn hoff o swn ei adar ei hunan, a bod pob aderyn yn hoff o'i lais ei hun! Y mae y person Eglwys y byddwn ni yn ei wrando amlaf —y Parch. Dandi Timothy, curedyn Uchel-Eglwysig— wedi ei eni yng Ngheredigion, o rïaint â naws Wesleyaidd arnynt; ac wedi ei fagu, digon tebyg, ar gawl erfin a gwreiddiau Lladin, ac yn gollwng allan hen Gymraeg ardderchog y Llyfr Gweddi Gyffredin gyda chynaniad neillduol y sir honno, a'i lais yn rhygyngan cymysgryw, rhwng "hwyl" y Wesleyaid â thôn yr offeiriaid. Nid ydyw yn hollol gyrhaedd i fyny at chŵyddlais mawreddog y Wesleyaid—fel "miwsig y bydysawd," nac ychwaith yn disgyn i lawr yn hollol undônog at dôn yr offeiriad—mor wastad â Morfa Rhuddlan. Pa le, namyn yng Nghymru, y ceid effeithiau yr enwad neillduol y dygwyd dyn i fyny yn ei draddodiadau, yn glynu mor hir wrtho? Haeddai y Parchedig Dandi Timothy froddeg neu ddwy yn ychwaneg oddiar ein llaw; canys

y mae yn cynrychioli dosbarth: yng nglŷn â Dandi y mae hanes. Curad Uchel-Eglwysig ydyw: a chyda'i ddillad clerigol, a'i goler lom, ddiwnïad, cynrychiola Eglwys y Llywodraeth bob amser, a pha le bynnag y bydd. Yr unig ryddhad iddo ef, oddiwrth ddyledswyddau gorbwysig ei swydd, ydyw perthyn i'r Clwb Chwareu Pêl Humog *(Lawn Tennis Club)* sydd a'i aelodau yn treulio eu prydnawniau hafaidd i chwareu ar y lawnt gerllaw y dreflan. Gwneir y gymdeithas gyfrin hon i fyny o fân glercod llwm-foneddig, a chywion meddygon, ac egin cyfreithwyr, y dref, y rhai sydd eto heb ennill eu hyspardunau, ac felly heb lawer o waith ganddynt—ynghyda lodesi penfeddal, y rhai a adawsant "Bethel," a "Jerusalem," a "Siloh"—lle yr addolai eu tadau a'u mamau, a'u teidiau a'u neiniau, ar y Suliau, er dechreuad Ymneillduaeth—am yr Eglwys Lân Gatholig, lle y cânt yr amheuthyn mawr o gael y Parch. Dandi Timothy yn dad-gyffeswr iddynt. Ond corff y gaingc ydyw fod y Parchedig Ddandi wedi llwyddo i basio, fel un o reolau y clwb, nad oes neb o wehelyth y gweinidogion Ymneillduol—hwynt-hwy, na'u gwragedd, na'u meibion, na'u merched—i ymuno â'r Clwb Chwareu Pêl! Twt! twt!

Yr hyn ydyw y gwŷr llên, dyna hefyd ydyw y gwŷr llëyg, yng Nghymru—culion eu gwala, a rhagfarnllyd tros fesur calon. Ynghanol llawer o ddaioni, ceir lles eu henwad, zêl eu henwad, traddodiadau eu henwad, wedi llyncu i fyny fryd y rhan fwyaf o swyddogion blaenaf y gwahanol bleidiau crefyddol. Y mae y Methodistiaid Calfinaidd yn edrych i lawr gyda gradd o ddirmyg ar bawb, fel y gweddai i "*John Bull*" yr enwadau wneyd! Eiddigeddus yw yr Annibynwyr o bawb—o'r Bedyddwyr yng Ngwent a Morganwg, ac o'r Methodistiaid yng Ngwynedd. Y mae y Bedyddwyr yn rhagfarnllyd at bawb; y Wesleyaid fel am ennill pawb; a'r Eglwys Sefydledig yn drahaus at bawb. Adeiladu yr enwad ydyw y pwnc mawr, ac nid ennill y byd. Casglu ynghyd gynulleidfa barchus, fyddo yn gyfodiad i'r enwad yn y dref,

ydyw y gwrhydri yr amcenir ato. Mae llwyddiant ein "henwad ni" yn fwy pwysig yng ngolwg llawer na llwyddiant Cristionogaeth ei hunan! Pa un o'r enwadau sydd yn son am gael Cenhadaeth Gartrefol at y miloedd tlodion, carpiog, diwybod, paganaidd, sydd yn heigio ein trefi, drwy Gymru oll? Y mae ein haddoldai a'n heglwysdai, fel temlau y duw paganaidd, yn òraddurniadol, yn aml-luniol, a channoedd o bunnau wedi eu gwario yn eu ffryntoedd a'u honglau ar feini nâdd, tra nad oes ystafell syml yn unman i gynal tipyn o ysgol garpiog! Gwneir hyn gan y naill enwad er mwyn myned y tu hwnt i enwad arall yng ngwychder ei addoldai! Casgl un enwad ystadegau er bostio ei fod wyth mil o nifer o aelodau o flaen i enwad arall! Gymaint o drafferth a gymerir i brofi pwnc mor oll-bwysig! Mewn un pentref adeilada yr Annibynwyr gapel am yr heol â chapel y Methodistiaid Calfinaidd: mewn pentref arall cyfyd y Methodistiaid gapel, er talu y pwyth yn ol, gerllaw i gapel y Sentars. Felly nid ydyw namyn chwech o un enwad, a hanner dwsin o'r llall. Ni ruswn ddweyd taw blaenion y gwahanol bleidiau sydd gyfrifol am y pethau hyn; a'r werinos, druain, i fesur mawr, yn derbyn yr yspryd cul, sectol, hwn oddiwrthynt.

Gwell gennym yr hen amser gynt yng Nghymru, pan oedd yr hen ddadleuon duwinyddol yn eu llawn afiaeth: yr ydym yn credu fod y teimlad rhwng gwerin yr enwadau yn llawn iachach y pryd hynny, oherwydd ei fod yn fwy digêl, ac hefyd yn seiliedig ar y gwahaniaethau athrawiaethol a dybid ydoedd rhwng yr enwadau a'u gilydd. Yn awr, addefir, ar bob llaw, nad oes nemawr o wahaniaethau athrawiaethol yn dyfod i'r golwg yn y weinidogaeth, nac yn un man arall; ac eto y mae y teimlad enwadol yn fwy byw nag erioed. Y mae yn byw heb sail na phorthiant, ond gwenwyn. Argoelion cryfion sydd fod gwerin Cymru, un ran o honynt, yn gulfarn enbyd, a'r rhan arall yn llithro yn brysur i anystyriaeth. Mae rhai ohonynt wedi dechreu rhegu eu blaenoriaid! Y mae hyn yn beth newydd yng Nghymru.

Rhegu ambell berson Eglwys sydd hen arfer warthus o ddyddiau y Prydydd Hir, ac i waered heibio i Twm y Nant; ond y mae gwerin Cymru, rai o honynt, wedi dechreu rhegu ei phregethwyr! Yr oeddym yn trafaelu yn y *train* y dydd o'r blaen, lle yr oedd dau weinidog Ymneillduol yn ymgomio â'u gilydd yn ddiddan ddigon. Cyn hir daeth dau lercyn o hogyn i mewn, wedi cymylu eu hymenyddiau â sucan y bendro, ac a gymerasant eu heisteddle yn union gyferbyn â'r gwŷr parchus. Cymerasom yn ein pen i wylio munud ar eu symudiadau. Y symudiad cyntaf o eiddo y bechgynos ydoedd edrych tua gyddfau y ddau weinidog: yno yr ydoedd yr aerwy offeiriadol—torch y mynach—y goler lom, a wisgir yn awr gan braidd bob llefarwr, bydded ordeiniedig neu anordeiniedig. Edrychasant mor hir ac mor fileinig, nes yr ofnem eu bod yn cynllunio brad, mewn crogi neu dagu, tua chymydogaeth y gwddf. Y symudiad nesaf oedd dechreu rhegu y gweinidogion—eu rhegu yn afler ac aflafar, bid siwr, ond gydag iaith ydoedd yn dangos nwydau drwg, a bodolaeth dygasedd yspryd, ynghyda diffyg parch neillduol i bethau cysegredig. Y mae gennym ffeithiau eglur o flaen ein llygaid fod rhan—ond rhan fechan, ni a hyderwn—o werin Cymru yn myned yn ddibarch iawn i bethau dwyfol, ac yn araf ymlithro i gyfeiriad Sosialiaeth a Nihilistiaeth y Cyfandir a'r America.

Ond, o drugaredd, y mae cyfangorff mawr gwerin Cymru yn dra chrefyddol; eithr, ysywaeth, yn dra enwadol. Gallasai un feddwl taw ymhlith blaenoriaid y pleidiau crefyddol yn unig, y rhai sydd i fod yn deall y gwahaniaethau distadl sydd rhwng yr enwadau mewn cred ac ymarferiad, y buasai y teimladau cyfyng hyn yn bod. Ond nid felly yn hollol: ceir hwynt yn fyw iawn ymysg y bobl; ac y maent yn myned yn fath o deimladau personol, ffol a disail, ymysg gwerinos anwybodus yr enwadau. Prynnir yn siop yr enwad, bydded arian neu beidio, a bydded yr eiddo yn dda neu ddrwg. Rhaid cael meddyg yr enwad i ofalu am y teulu, a chyfreithiwr

o'r enwad i ofalu am eu buddiannau cyfreithiol. Yng ngwyneb hyn ymranna'r boneddigion hyn, er hûr a gorchwyl, yn daclus ddigon, rhwng y gwahanol eglwysdai a chapeli, yn nhreflannau Cymru! Gan fod y *doctor* a elwir at wely y claf o'r enwad, a'r cyfreithiwr a geisir i wneyd ei ewyllys, o'r sect, paham lai na cherir yr yspryd cul ymlaen—ac fe wneir, o ran hynny—a chael saer o'r enwad i wneyd yr arch, a thorwr beddau yr enwad i gloddio y bedd! Tra y mae y prif wirioneddau a bregethir, a'r athrawiaethau a goleddir, er's blynyddoedd, gan fwyafrif o enwadau Ymneillduol y Dywysogaeth, yn sylweddol yr un peth; eto anfynych y gwelir gwerin Cymru yn tywyllu drws unrhyw addoldy, namyn eu corlan eu hunain! Ac ni ddeuant hyd yn oed i'w capel eu hunain i wrando pregethwr o enwad arall! Bu agos i un o weinidogion mwyaf poblogaidd yr Annibynwyr gael ei adael, fel Jacob, "ei hunan," un boreu Sul yn ddiweddar. Symudasid ei bawl, oherwydd cyfleusdra y ddiadell, y boreu hwnnw, i addoldy y Methodistiaid Calfinaidd. Nid elai y Calfinistiaid yno, oblegid taw pregethwr Sentars ydoedd: ac ni fynnai yr Annibynwyr er dim halogi eu hunain drwy fyned i addoli i gapel Methodistaidd! O! y gornestau dadleuol mawrion a ymladdwyd rhwng gwerin Cymru, parthed rhagoriaeth eu pregethwyr! Gan ein pregethwyr "ni" y mae y lleisiau goreu; gan ein rhai "ni" y mae mwyaf o fater a meddwl; nyni sydd yn rhagori mewn dysgeidiaeth, a ninnau mewn traddodiad! Ië, y mae plant Cymru, aml un o honynt, wedi bod yn ymaflyd codwm â'u gilydd, ac yn mesur eu nerth y naill gyda'r llall, ymhlaid sectau eu rhieni!

Ond ni chwynem gymaint pe cedwid y teimlad cul, a'r rhagfarn Philistaidd hwn, yn y capeli ac yn y cartrefi, er gwrthuned ydyw yno; ond y mae ei gario i'r gwaith, a'i wneyd yn asgwrn y gynnen yn y chwarel, yn wrthunach fyth. Dyma, mewn gwirionedd, yr hyn sydd wedi bod wrth wraidd rhai o'r cyffroadau gweithfäol diweddar, ac yn cynyrchu "plaid fain" a "phlaid dew."

Mynnem eto, yn y fan hon, na chamddealler ni. Nid oes a fynnom ni â'r cwestiynau sydd rhwng y pleidiau hyn â'u gilydd—tebyg, megis pleidiau yn gyffredin, taw yn rhywle rhyngddynt y gorwedd y gwir: ond ein pwnc ni ydyw fod a fynno enwadaeth â'u ffurfiad. I ni, mae swn trahausder yn yr ymadrodd "plaid dew," ac y mae yr ymadrodd "plaid fain" yn sawru yn gryf o wenwyn a dichell. Y mae dynion i'w cael yng Nghymru a werthant bob peth—eu cyfeillion, eu golygiadau gwleidyddol, ïe, eu cydwybodau—dan ddylanwad ysbryd sectol. Yn y fan hon rhaid i ni wneyd gwahaniaeth. Yr ydym yn credu fod pethau yn wahanol, yn yr ystyr hon, yn y Deheubarth—fod y Gwentwysiaid, yn hyn o beth—nid ymhob peth, bid sicr—o flaen yr Arfonwysiaid. Ni ŵyr y Deheuwyr am blaid fain a phlaid fraisg: dieithrbeth iddynt hwy fyddai fod yr enwadau sydd yn y lleiafrif yn cytuno gyda'u gilydd (nid yn ffurfiol, bid sicr—ac nid eu blaenoriaid, eithr eu gwerin), a chyda'r Eglwys Sefydledig, ysywaeth, i ffurfio plaid yn erbyn yr enwad lluosocaf. A glybu rhywun am neb o'r Hwyntwys yn ffurfio "plaid," yn y gwaith glo neu yn y gwaith haiarn, am fod gormod o'r "gangers," y "gaffers," a'r "ystiwardiaid," yn Faptis? Y mae ganddynt hwy eu pleidiau, digon gwir; ond nid enwadaeth fudr, wenwynllyd, sydd yn rhoddi bod iddynt. Eto dyma yr hyn a wneir, neu beth tebyg iddo, yn rhai o lech-chwarelau Gogleddbarth Cymru! Ystori y defaid gwynion yn bwyta mwy na'r defaid duon, drosodd drachefn—gyda'r gwahaniaeth taw Baptists ydynt ddefaid gwynion y De, a'r Methodistiaid Calfinaidd rai y Gogledd. Mynem pedfai gwŷr Gwynedd yn ymddihatru yn llwyrach oddiwrth yr yspryd sectaidd hwn. Peth yn tarddu oddiar enwadaeth, ac *enwadaeth Gymreig*, ydyw. Yn y Deheubarth y mae dylanwadau Seisnig yn ei wisgo ymaith. Yr addaliad goreu i ni, am y golled o golli ein gwlad, fyddai fod y genedl fawr sydd yn byw drws nesaf i ni, ac sydd yn ymrwbio ynom bob dydd, yn rhwbio ymaith onglau anhardd ein cymeriad cenedlaethol. Culni cenedl-

aethol, wedi ei drawsffurfio i fod yn gulni enwadol, ydyw sectyddiaeth Cymru. Pan yr ysgrifennir hanes *strikes* Sir Gaerynarfon, beiddiwn ddweyd y ceir gweled fod eiddigedd enwadol wedi chwareu rhan bwysicach ynddynt nag y tybiwyd erioed. Ar noswaith dawel yn ddiweddar fe daflwyd meini—y mwyaf ohonynt yn pwyso pedwar-pwys-ar-ddeg—i fewn i un o gapelau Gwynedd! Nid ydoedd y twrf yn dangos taw meddwon aflywodraethus oedd wrth y gwaith; nid oedd Sosialiaid na Dynameitwyr yn y lle; ond yr oedd "plaid" neillduol yn byw yn yr ardal, ac yn gweithio ar ddyddiau yr wythnos yn y graig gerllaw! Dyna, dyna, ddigon. Ni a obeithiwn taw camgymeryd yr ydym: ond y mae ein gwybodaeth am Philistiaeth Cymru yn peri i ni gredu y gall wneuthur unrhyw beth. Craffwch beth mor filain-felldigedig ydoedd hyn. Beth ydoedd yr hen adeilad gysegredig wedi ei wneyd! A geir rhywbeth ymysg troseddau tirol yr Iwerddon yn dangos egwyddor mor fawaidd a hyn? Pe yr ymofynnid ac y manwlchwilid, ceid fod y "cynffonnau," y sonir cymaint am danynt yng ngweithfäoedd Gwynedd, wedi eu gwneyd o ddefnyddiau tra rhyfedd, a bod a fynno sectyddiaeth fudr, fradwrus, gryn lawer â'u tyfiant!

Y mae ein gofod wedi tramwy, onidê yr oeddym wedi llawn fwriadu ysgrifennu llinnell neu ddwy ar "Philistiaeth" *yn* yr enwadau. Eu cysylltiad â'u gilydd sydd gennym wedi bod yn bennaf: hoffasem, pe amser yn rhoi, orphen gyda gair am eu perthynas *â hwy eu hunain.* Addefwn yn rhwydd ddigon fod gwell golwg arnynt o'r safle hon; ond y mae *cant*, doraeth ohono, o *fewn* y corlannau. Nis gall neb calon-ystyriol lai na phryderu yng nghylch dyfodol Cymru. Y mae cyffrawd addysg wyddonol ac athronyddol, &c., ar ysgubo tros ein gwlad; ac wrth ysgil hynny daw syniadau lleicion am bethau dwyfol; a gwneir i ffwrdd â'r parchedigaeth hwnnw i bethau cysegrdig sydd yn osail pob mawredd cymeriad, yn bersonol a chenedlaethol; ac yn canlyn hynny, o hirbell, gwelwn yr anferthluniau o anffyddiaeth ac annuw-

iaeth. Ond, atolwg, pa beth a wnaiff yr enwadau Cymreig i gyfarfod â'r pethau hyn? Dim, neu y peth nesaf i hynny! Adeiladu i fyny furiau yr enwad, sipian eu gweflau o fewn eu pebyll, a mwynhau eu hunain: y mae digon o hynny yn myned ymlaen. A phan y deuant allan, eu cenadwri bob amser ydyw, taw parhad yr enwad ydyw iachawdwriaeth y byd! Pan ydoedd y Saraceniaid gynt yn gorlifo dros y gwledydd, ac yn distrywio tiroedd brasaf yr eglwys, yr ydoedd ei duwinyddion hi wrthi yn brysur yn ymddadleu â'u gilydd pa un ai un ai dwy ewyllys oedd gan Grist! Ar ambell i foment byddwn ni yn tybied taw y tamaid goreu o Gristionogaeth, sydd yn y byd ar hyn o bryd, sydd yn China, gan fagad o ddynion a aethant allan yno o Frydain dan gyfarwyddyd Cymdeithas a elwir *The China Inland Mission;* hynny ydyw, y tamaid o waith crefyddol â lleiaf o *cant* a *humbug* o'i gwmpas. Ond perthyn i'r cyfryw gymdeithas ddau beth pur amheuthyn y dyddiau hyn: yn un peth, derbyn ei chynaliaeth yn gyfangwbl drwy ffydd, heb na threth, na gorfod, na thabyrddu i gasglu arian; a pheth arall, y mae yn gwasgar Cristionogaeth heb fod ynglŷn âg enwad neillduol—mewn gair, y mae yn lledaenu *Cristionogaeth* ac nid *enwadaeth*. Dyma ddau amheuthyn mawr y ganrif hon! Un o'r arwyddion mwyaf digalon i ni ar Gymru, y dyddiau hyn, ydyw, nad oes yma neb dynion uwchlaw traddodiadau culion eu henwadau, ac eto yn abl i gario eu henwadau gyda hwynt—neb dynion â digon o rym ynddynt i gychwyn a blaenori symudiadau da, oni fydd "nôd cyfrin' yr enwad arnynt. Y mae rhy fach o Gristionogaeth, a gormod o enwadaeth—rhy fach o grefydd ymosodol, a gormod o grefydd broselytiol. Proselytia yr enwadau oddiar eu gilydd, ac nid oddiar y diafol. Da y gwyddom fod yma deimladau yn ymweithio yn mynwesau pobl oreu pob plaid—fod yma nwyon yn llosgi; ond nid oes dyn, neu ddynion, yn cyfodi, talach na chloddiau eu henwad, i roddi ffurf i'r cyfryw deimladau, a'u harwain yn erbyn galluoedd y tywyllwch.

Angen mawr Cymru—yn wleidyddol, cymdeithasol, a chrefyddol—y dyddiau hyn, ydyw hanner dwsin o'r dynion hyn, wedi eu hordeinio gan ragluniaeth, a'u harfogi â phenderfyniad, a'u gwisgo âg ysprydoliaeth, i arwain a rhoddi ffurf a chyfeiriad i'r teimladau sydd ar dorri allan. Na, yn hytrach na hynny, y mae pob enwad yn siglo ei gryd ei hun, ac yn dirgel-dybied taw ei wehelyth ef sydd i boblogi y byd! Mor ardderchog ydoedd gweled dau o brif-enwadau Lloegr, ym Mai diweddaf, yn ymdynghedu i'w gilydd nad elent mwyach i hollti mân bentrefi Prydain â'u gwahaniaethau bychain enwadol, eithr yr ymwasgent at eu gilydd, gan benderfynu deall eu gilydd yn well, a chydymsymud yn erbyn y gelyn cyffredinol. Bryd y cawn weled rhywbeth tebyg yng Nghymru—ïe, nid ffug undeb, eithr rhywbeth fyddo yn debyg o fod yn ymarferadwy ac yn ymarferedig? Y mae adsain ein cwestiwn yn gofyn, Pa bryd?

Y mae yr Eglwys Sefydledig—Eglwys Loegr yng Nghymru, yn dechreu trefnu ei thŷ a hwylio ar gyfer y dydd blin—un ai er ceisio ei gadw ymhell gyhyd ag y gellir, neu, mwy tebyg, er gwneyd gwell bargen â'i gelynion pan y daw. Gwneir curadiaid "*to order*," ac urddir offeiriaid o fesur y dwsin; a cheir gweled y rhai hynny yn moelystota o dŷ i dŷ er cywain cymaint a allant i'w hysguboriau eu hunain. Y mae hanes yr enwadau Ymneillduol, ar y llaw arall—heblaw y pethau sydd yn digwydd iddynt oddiallan—mewn llawer o gwerylon oddimewn. Pe byddai mwy o Gristionogaeth ymosodol oddiallan—ymosodol ar bechod a diafol, nid ar eu gilydd—byddai llai o'r ymgeintach yma oddifewn. Y mae ganddynt weinidogion galluog ac ymroddedig; a phrawf y llyfrau gwerthfawr a welir yn eu llyfrgelloedd nad dynion dylion mohonynt. Nid yn y ficerdy yn unig, erbyn hyn, y ceir yr ysgolhaig yn y plwyf, nac, yn bendifaddeu, y ceir y pregethwr goreu. Eithr hoffem eu gweled yn fwy rhydd ac annibynol i bregethu, ym mhentrefi a threflanau Cymru, egwyddorion mawrion Cristionogaeth yn eu noethder, heb betruso am eu bara

beunyddiol. Pe yr unid â'r egwyddor wirfoddol rywbeth a sicrhai hyn, byddai yn nes at berffeithrwydd. Ni faidd gŵr y degwm eu pregethu, rhag i'r *Eglwys* fyned yn wag: petrusa gŵr yr egwyddor wirfoddol, rhag i'r *pwlpud* fyned yn wag—yr hyn, iddo ef, a olygai gylla gwag, llogell wag, a chwpbwrdd gwag. Trychineb parhaus y degwm yng Nghymru ydyw *Eglwys* wag a *chwpbwrdd* llawn. Prin yr ydym yn credu fod egwyddorion mawrion, llydain, y Beibl—ei waeau trymion yn erbyn pob math o ragrith, ei fellt â'i daranau uwchben hunangais a balchder, twyll cyfoeth, a hudoliaeth golud—ei fygythion yn erbyn pob math o anonestrwydd gwleidyddol, masnachol, a chrefyddol—yn cael chwareu teg, o unrhyw gyfeiriad. Cytuna pawb i ffusto ar y pechodau anifeilaidd; ond pwy faidd gyfodi ei lêf yn erbyn y pechodau dieflig—y pechodau y mae llawer o'r aelodau eglwysig, o'r allor i'r drws, yn euog ohonynt? Llyfr ofnadwy ydyw y Beibl i'w bregethu drwyddo. Dylai yr enwadau ofalu am gael dynion cydwybodol a chryfion i'w ddeongli; a dylent ddodi dan eu traed y safle honno a'u galluogo i wneyd hynny heb ofni wyneb neb un o'r Philistiaid. Y mae Cymru yn ymgroesi rhag pob peth tebyg i offeiriadaeth *(priestcraft)*, ac iawn y gwna hynny; ond nid addoli offeiriadaeth, ym mherson tipyn o lefarwr Ymneillduol, ydyw *gwir* berygl Cymru y dyddiau hyn, eithr addoli lloi aur yn mhersonau diaconiaid goludog. Trueni fod eglwys o frodyr Cristionogol *cydradd* yn agored i drahausder un dyn, bydded ef ym mhwlpud y llan, neu areithfan y capel—yng nghangell yr Eglwys, neu allor yr addoldy Ymneillduol: ond golygfa heb ei chyffelyb ydyw canfod dëonglydd annibynol (a ddylai fod felly) y Gwirionedd Dwyfol yn ddarostyngedig i fympwy creadur cyfoethog o ddiacon neu o aelod, heb ganddo ond moesoldeb cybydd, a moesau carthwr ystablau! Pwy nos, fe alwodd un o'r cyfryw gyfarfod o'r brodyr ynghyd i amcan neillduol; ond, mewn gwirionedd, i "dorri pen y gweinidog," ydoedd, ar y pryd, gartref yn glaf, â gwraig a thyaid o blant yn

ei amgylchynu, eithr yr hwn, yn ei waith yn deongli y gwirionedd, a feiddiasai fyned ar draws crimogau y y Deifas hwn. Ar arch y goludog, daeth y brodyr yng-hyd; ac, fel mintai o hen ddylluanod doethion, aethant drwy y gorchwyl o dorfynyglu y gweinidog yn groyw glir, a danfonasant ei damaid cyflog iddo; ac, i ben-glymu y pwnc, ar ol darfod y gwaith, canasant yr hen odl-folawd fendigedig—

"I Dad y trugareddau i gyd, &c."

O! Gymru, Gymru, pa bryd yr ysgubir ymaith oddiar dy wyneb glân bob *cant*, a rhagrith, a Philistiaeth enwadol? Ië, gofynwn eto, Pa bryd? Ni'th elwir yn "Gymru *wen*" hyd hynny.

II.

Cas yw'r gwirionedd lle ni cherir; am hynny ni ddisgwyliwn ond yr anghlod mwyaf o geisio galw sylw darllenwyr *Y Geninen*, unwaith eto, at Philistiaeth Enwadol Cymru. Ar y draul, modd bynnag, o ddigio ychwaneg arnynt, cymerwn ein dameg y waith hon yn unig, digied a ddigio, a thramgwydded a dramgwyddo. Soniwn yn awr am Philistiaeth *oddimewn* i'r cyfundebau crefyddol. Ceisiem, y troion o'r blaen, daflu trem ar eu perthynas â'u gilydd ac â'r genedl—dangos fel yr oedd yspryd enwadol wedi treiddio drwy fêr eu hesgyrn, ac wedi parlysu eu nerth i oresgyn llygredigaethau Cymru—mewn gair, wedi eu gwneyd yn wan i bob peth oddigerth i sipian eu hesmwythyd mewn hunanfoddhad, ac i fod yn fath o glybiau proselytio i ennill deiliaid y naill oddiar y llall. Bellach cymerwn ein tafol fechan i fesur eu diffygion *mewnol*. Cymered y Philistiaid, wedi hynny, gysur —byddwn ni yn cefnu arnynt. Ni warafunwn i'r rhai hynny fu yn pwnio eu penau meddalion ar hyd y misoedd, nid i ystyried a phwyso yr hyn a ysgrifenasom, ond i chwilio allan y pwnc oll-bwysig pwy oeddym, i dynnu eu dogn o gysur o hynyna. Ië, ysywaeth, pwy oeddym, fel pe taw hynny fyddai corff y gainc, a'r nod pennaf i gyrchu ato. Pa ddawr i neb pwy bynnag pwy ydym ni? Nid ydym ni namyn llef un yn llefain yn niffaethwch sectyddol Cymru, yn cyhoeddi, yn ein ffordd ein hunain, ein gwaeau uwchben pob ffurf ar Philistiaeth: ac os gwrthodir ein gwrandaw, nid oes gennym ni mo'r help. Gwnaethom ein dyledswydd yn ol ein medr: rhoddasom enw ar beth hyll—"Philistiaeth"— nid yr enw cywiraf, efallai; ond y mae yn dda gennym ddeall ei fod yn glynu. Gwelwn fod gwerin gall Cymru —y mae rhai felly yn bod—yn dechreu ei bigo i fyny. Adwaenant Philistiaeth bellach o dan ei enw, er iddo fod mewn lle mor urddasol a phalas yr esgob, neu le mor

gysegredig a phwlpud y gweinidog Ymneillduol—er iddo eistedd yn holl fawredd ei swydd yn eisteddle y diacon yn allor capel y pengryniaid—er iddo lechu y tu ol i, a thywallt allan ei fost a'i faldordd drwy, y "ni" fawr olygyddol—adnebydd ef yn y crach-fardd, y crach-feirniad, a'r crach-bregethwr—yn yr adolygydd ceiniog a'r rhigymydd dimai: a'r foment y gwel y werin ef, dywed ar unwaith, "Ah! dyna Philistyn!" Dodi enw ar hwnyna oedd ein hamcan ni: cyrhaeddasom y peth y'n danfonwyd allan o'i blegid. Ac ar ol y pwt ysgrif hon—myneger hyn yn Gath, ac adrodder ar hyd heolydd Ascalon—gellir dywedyd am danom, WELE BU, AC NID YDYW.

Ar ddechreu yr ysgrif hon dywedwn eto na fynnem er dim gael ein camddeall. Nid ydym, fodd yn y byd, yn ddall i ragoriaeth crefyddol ein cenedl: a'n haidd dros ei llwyddiant a bair i ni ysgrifennu gryfed. Mynnem, ped fai bosibl, ei chael yn berffeithiach. Y mae paragraff yn rhagymadrodd Edward Samwel—coffa da am yr hen Gymreigydd hyfedr—i'w gyfieithiad gwych o *Wirionedd y Grefydd Gristionogol*, sydd yn ddesgrifiad teg o'n teimlad. Dyry efe y rhesymau paham y troa y fath lyfr i Gymraeg yn y geiriau canlynol; a hoffem i'n darllenwyr ddal arnynt:—

Ac nid ydyw'r cyfryw orchwyl, ysgatfydd, mor afreidiol yn ein gwlad ni ag y gall bagad feddwl ei fod. I Dduw y bo'r diolch, mae goleuni yr Efengyl yr awr hon yn llewyrchu cyn ddisgleiried yng Nghymru ag mewn odid o wlad arall: mae mwy o lyfrau duwiol, defnyddiol, yn argraffedig; ac amlach, ac ond antur, well pregethwyr yr awr hon yn ein plith, nag a fu mewn un oes er ys mwy na mil o flynyddoedd; ac eto ni a welwn fod anghrefydd ac annuwioldeb, anghydfod ac anghariad, gau grediniaeth a gwahanedigaethau, drwg foesau ac arferion llygredig, yn rhy gynefin a chyffredinol yn y fro yma cystal ag mewn mannau eraill. Ac yn ddiamheu, un achos mawr o'r afreolaeth yma yw eisiau bod pobl yn gydnabyddus â sylfaen eu crediniaeth, sef y prif achosion iddynt gredu ac ufuddhau: a pha well gwasanaeth a ddichon undyn wneuthur i'w wlad na dangos i bawb, megis o flaen eu llygaid, nad peth ofer yw crefydd, eithr mai gwir diragrith, diddadl ydyw; a gwneuthur iddynt ddeall a chydnabod nad oes le iddynt fod yn anghristionogol, oni byddant yn anrhesymol hefyd.

Gormes fawr anaele y rhan amlaf o'r cyfundebau crefyddol yng Nghymru, y dyddiau hyn, ydyw yr hyn a elwir clîcyddiaeth. Dyma filfiwyddiant clymbleidiaeth! Y mae yr anghenfil wedi gwneyd ychwanegiad o un gair newydd at eiriaduraeth yr iaith: gan fod y peth yn bod rhaid oedd bathu gair newydd i'w osod allan; ac o dan y rheidrwydd hwn, fe anwyd y gair mawr a ddylai fod bellach fel arwyddair ar faner Philistiaeth enwadol y dyddiau presennol—"Clymbleidiaeth." Yr ydym yn berffaith foddhaol ar y gair: nis gellir ei well, dybiem ni; er, efallai, taw y gair mwy sathredig, clîcyddiaeth, a arferwn ni amlaf yn yr ysgrif hon. Wedi deunaw canrif o Gristionogaeth, y mae y ddawn brydferth o olchi traed eu gilydd wedi colli yn llwyr o fysg y saint, a'r ddawn wrthun arall o seboni eu gilydd wedi dyfod i mewn yn ei lle. Ychydig, meddir, ydyw nifer y Cristionogion a allant garu eu gilydd o galon bur yn helaeth, tra y mae wmbrethi yn barod i ddwbio eu ffrindiau â chanmoliaeth ac â sebon meddal. Pe bae duwiolion y dyddiau presennol yn adnabod eu gilydd yn well ar y ddaear, ac yn siarad llai am adnabod eu gilydd yn y nefoedd, ni byddai nemawr o golled! Ow! ow! a ydyw wedi dyfod i hyn?

Dywedir i ni fod clicydda arswydus yn Eglwys Loegr yng Nghymru. Buasai dyn yn disgwyl i'r gorlan honno fod yn lân oddiwrth y felldith hon. Ond sicrheir ni nad felly y mae. Galleaid disgwyl i gwlwm y degwm fod yn gwlwm tangnefedd, ac i rwymyn yr Orsedd fod yn rhwymyn perffeithrwydd. Yn ei pherthynas â'r gwahanol gyfundebau eraill, bid sicr, nid ydyw yr Eglwys ond un clamp o glicyddiaeth; oblegid honna darddiad a bodolaeth burach na hwynt-hwy. Yn ei golwg hi nid ydynt hwy namyn plant Hagar y gaethes a Philistiaid dienwaededig: mewn gair, bastardiaid ac nid meibion ydynt. Ynddi ei hun hefyd y mae yr Eglwys yn llawn pleidiau ac ymbleidio. Diflas, i'n bryd ni, ydyw son am undod yr Eglwys. Y mae hi yn un yn yr un ystyr ag yr oedd Arch Noë yn un—am fod pob bwystfil wrth ei

rywogaeth, a phob anifail wrth ei rywogaeth, a phob ymlusgiad a ymlusgai ar y ddaear wrth ei rywogaeth, a phob ehediad wrth ei rywogaeth ef,—pob aderyn o bob rhyw, yn trigo ynddi, yn cael eu porthi gan yr un degwm, ac yn perthyn i'r un perchenog. Milodfa Barnum sydd un, oherwydd ei bod yn eiddo i'r un dynsawd. Oddifewn ceir gweled fod y sefydliad yn llawn o'r "gwahanedigaethau" y sonia yr hĕn Edward Samwel am danynt. Y mae pawb yn uchel, neu isel, neu ganol; y maent i gyd yn llydain neu gulion. Edrych urddasolion yr eglwysi cadeiriol i lawr gyda mesur o ddirmyg ar yr offeiriaid gwledig a'r mân-guradiaid; amgylchynir yr eglwysi hyn gan awyrgylch a thôn gymdeithasol uwchraddol. Hen ystori yr wythfed ganrif ydyw, yn cael ei hailadrodd drosodd, pan yr oedd eiddigedd mawr rhwng y *villanus episcopus*—esgob y pentref, a'r *cathedrals episcopus*—esgob y ddinas gadeiriol. Ni fyn y gwŷr mawr sydd yn byw dan gysgod yr eglwysi cadeiriol ymgyfathrach â'r *chorepiscopi*, druain. Clicyddiaeth golegol hefyd sydd gryf yn yr Eglwys. Tybia graddolion Rhydychain a Chaergrawnt eu hunain wedi eu gwneyd o glai gwahanol, ac, wrth gwrs, â sêl wahanol arnynt i fyfyrwyr Llanbedr, Dulyn, a Deifr *(Durham)*. Y mae y rhai hynny yn eu tro yn rhy ffroenuchel i gydnabod bechgyn y colegau duwinyddol: ac er syndod, gall efrydwyr St. Aidan a St. Bees drachefn edrych i lawr yn ddirmygus ar y llenorion *(literates)* hynny a weithiasant eu ffordd i urddau yn yr Eglwys. Daw hyn i'r golwg yn rymus iawn pan y daw adeg rhannu yr yspail,—pan y daw canoniaeth, deoniaeth, neu offeiriadaeth, yn wag; bydd pob clîc yn cefnogi ei ddyn ei hun, a hynny am ei fod yn perthyn i'r cylch cysegredig hwnnw, gan nad beth fyddo ei gymhwysderau gweinidogaethol. Amser a ballai i ni son hefyd am y clîc achyddol: breiniau gwehelyth ydynt fawrion yn yr Eglwys. Pan y daw bywoliaeth yn wag, yn enwedig os bydd hi yn un bwysig, a'r plwyf yn perthyn i'r dosbarth pendefigaidd, cynhyrfir nefoedd a daear er ei sicr-

hau i ryw ysbrigyn o waed, câr i'r yswain, ffafryn y boneddigesau: nid ydyw y cymhwysderau gweinidogaethol o bwys; ac am bregethu yr Efengyl, ni waeth pod elai hynny i bant. Bu clicyddiaeth iaith hefyd yn drwm ymhob esgobaeth: y mae ychydig o dro ar fyd gyda hynny yn awr. Bu dynion mewn awdurdod am roddi y flaenoriaeth i'r Saeson a'r Saesonaeg ymhob peth, ac am ddifodi pob peth Cymreig. Diystyrai y rhai hyn bob peth Cymreig—talentau Cymreig, y pwlpud Cymreig, y Wasg Gymreig; mewn gair, pe y cawsent hwy eu ffordd, ni chawsai dim byd Cymreig fyw. Y pethau hyn, eu cyffelyb, a'u gwaeth, sydd wedi bwyta nerth Eglwys Loegr yng Nghymru; ac nid rhaid wrth ddewin i ddweyd y bydd hi, cyn hir, fel sefydliad, wedi ymddatod oddiwrth ei gilydd, fel hen long ar y traeth.

Y peth digrifaf y tarawodd ein llygaid ni arno yn ddiweddar ydoedd y cais am ryw fath o undeb rhwng Eglwys Loegr a'r enwadau Ymneillduol! Danfonwyd cylchlythyr gan Archesgob Caergaint, prif fugail yr eglwys honno, at y llwythau sydd ar wasgar, yn cynyg amodau heddwch! Cynygiai yr Eglwys yn garuaidd eu derbyn yn ol, ond iddynt golli eu hunaniaeth yn hollol yn ei chol hi! Breuddwyd gwrach wrth ei hewyllys! Gwnaeth Cynulleidfaolwyr Lloegr, fel pobl gall, ben buan ar y cynyg; ond bu rhai o'r cyfundebau eraill yn Lloegr a Chymru yn mursenu mwy gydag ef. Yr oedd raid iddynt ddyfod i mewn a chydnabod dilysrwydd urddau esgobol yr Eglwys; hynny ydyw, cydnabod yr Olyniaeth Apostolaidd yn ei chrynswth. A glybu neb son am y ffasiwn beth erioed? Gormod o bwdin a daga gi: a bu agos i Bresbyteriaid Lloegr a Chymru fyned i brofedigaeth wrth gellwair gormod â'r saig felus hon. Gobeithiwn fod y gair diweddaf wedi ei ddweyd am y ffug-undeb yma rhwng y gwahanol gyfundebau crefyddol. Mae fod cymaint o son am dano yn myned ymhell i brofi, nid yn gymaint fod dymuniad am dano, eithr nad ydyw yn bod. Dymunol pe buasai yn bod; ond nid oes yspryd priodol i'w ddwyn i fod; ac nis gellir

ei ddwyn i fod wrth orchymyn. Y gwir plaen ydyw—y mae y pellder rhyngddynt â'u gilydd yn awr yn fwy nag erioed. Y mae yr elfen offeiriadol wedi deffro yn ofnadwy yn Eglwys Loegr. Hanner can' mlynedd yn ol, person oedd ymhob plwyf: bellach, y mae hwnnw wedi troi yn offeiriad; a chynwys hyn gryn gyfnewidiad. Yr oedd brwydrau treth Eglwys, a chwynion gan yr Ymneillduwyr, y pryd hwnnw; ond meiddiwn ddweyd y wynebid yr anhawsderau hynny yn llawer mwy digêl ac wyneb-agored. Weithiau ceid gweled Eglwyswyr yn addoli yn y corlannau Ymneillduol, heb golli eu safle yn yr Eglwys, ac heb gael eu hystyried yn fradwyr iddi. Yr oedd culni a rhagfarn, wrth gwrs, yn fyw; eithr yr oedd defodaeth offeiriadol yn hepian. Byth er adeg yr ymddeffroad offeiriadol yn Rhydychen—y symudiad hwnnw a elwir yr *Oxford Movement*, y mae y teimlad hwn wedi deffro yn ddychrynllyd; ïe, y mae wedi dihuno, yn ddigofus a newynog, yng Nghymru hefyd! Dyma gagendor bythol rhwng Ymneillduaeth a'r Eglwys—yr yspryd hwn. Tyngedir benywod ieuainc na thywyllant byth mo ddrysau y capelau Ymneillduol, lle y magesid hwynt, a lle y coleddwyd eu henafiaid, er's mwy na thair cenedlaeth. Sicrheir i amaethwyr a masnachwyr o Ymneillduwyr y cânt dyddynod, a mil a mwy o freiniau cudd, os deuant i'r Eglwys. Cipir plant, na b'o ond ei grybwyll, wedi hanner eu gwerthu gan rieni Ymneillduol, a dodir hwy dan ddwylaw esgob, er ceisio gwneyd Eglwyswyr ohonynt. Mewn gair, arferir pob dyfais er llanw y gorlan ac amlhau y defaid erbyn dydd y cyfrif, hwnnw yw dydd y Dadgysylltiad. Pob parch i'r clerigwyr a'r lleygwyr hynny sydd yn ffieiddio yr ystrywiau hyn, ac yn cadw ymhell oddiwrth bob culni; ond hynod mor ychydig yw eu nifer ac mor fychan eu dylanwad. Nid oes ddadl nad oes tòn fawr offeiriadol yn dysgubo tros Gymru y dyddiau hyn, a bradwriaeth gudd yn deor er ceisio llindagu ei Hymneillduaeth. A dyma y bobl sydd yn ffregodi am i'r Ymneillduwyr ymuno â hwynt. Yr ydym yn sal ar y son, ac yn ffieiddio

hyd yn oed y gair undeb yn y cysylltiad hwn, oherwydd y gwyddom nad ydyw namyn gair mwyn i guddio brad ac i ddirgelu cynllwyn. Ac nid ydyw son am undeb rhwng yr enwadau Ymneillduol nemawr well ychwaith; nid ydyw hynny yn ddim ond dyfais pobl ddiog i basio yr amser heibio. Fel pobl Cwm Dwr, yn eistedd yn y gwair i gnoi gwndwn yn amser cynhauaf, yn lle gweithio! Y mae undeb fel ambell i ddrychiolaeth,—os soniwch am dano, fe ddiflana, ac nid ar ddyfyn y gellir ei ddwyn i fod. Gall pob egwan alw ysprydion o'r dyfnder neu o'r uchelder: ond a ddeuant pan y'u gelwir sydd bwnc arall. Ceir cyflawnder o siarad am undeb, a gwneyd ystumiau tebyg iddo; ond y mae brinned a llaeth gafr hesp! Nid oes dim yr ydym yn ei gasau yn fwy na siarad iaith undeb, heb ddim ohono,—ei ffugio mewn danfon cynrychiolwyr o'r naill gynadledd i'r llall, a'r cyfundebau yn myned adref i rostio eu gilydd. Iachach amser, yn ein bryd ni, ydoedd yr amser gynt, pan y byddai ambell i ddadl agored—ac ambell i bregethwr Calfinistaidd, yn Lloegr a Chymru, yn dweyd ei feddwl yn ddifloesgni am ei gyfaill Arminaidd yn y pwlpud nesaf ato. Rhyw adeg o anghred clauar a merfaidd yw y presennol; ni chewch gymaint a chredu mewn diafol personol y dyddiau hyn,—er y gwnaech lw, pe bae angen, eich bod yn gweled amryw ohonynt yn cerdded, ar eu deudroed, heibio drws eich tŷ bob dydd. Yn gynnar yn y ganrif hon, ac wedi hynny, lleferid yn bur gras weithiau gan y naill enwad am y llall; ond nid oedd hanner cymaint o wenwyn dan hynny ag sydd gyda'r geiriau llyfnion, melfedaidd, a arferir yn awr. Y Parch. W. Irons, o Gaerludd, gynt, pan fu ei gapel ar lawr am amser, a'i gynulleidfa wedi bod yn addoli mewn corlannau eraill, a'u cyfarchodd, pan ddaethant yn ol, yn y geiriau diledrith canlynol:—"P'le buoch chwi, druain, nis gwn i? Os buoch gyda Dr. Steane (Bedyddiwr enwog), tebyg iddo fo eich golchi. Os buoch gyda John Burnett (pregethwr diarebol o sych), darfu iddo ef eich sychu. Os buoch gyda George Clayton (pregethwr pen-

defigaidd iawn), darfu iddo ef eich *starchio.* Rhof finau chwi yn y *mangle*, a thynnaf yr haiarn smwddio drosoch: '*I'll mangle you, then I'll iron you.*'" Y Parch. James Wells, Calfin culfarn a weinidogaethai yn y brifddinas yn gynnar yn y ganrif hon, a ddywedai am ei gymydog, y Parch. James Sherman, a bregethai ar y pryd yng Nghapel Surrey, yr hwn ydoedd gapel ar ffurf hir-grwn, "Am Siams o'r capel crwn," meddai, "ni phregethodd efe bregeth Efengylaidd yn ei oes." Tebyg i hyn y llefarai eu cyfoeswyr yng Nghymru am eu gilydd; ond yr oedd mwy o wir deimlad, a hwnnw yn iachach hefyd, o dan y siarad plaen yma, na'r tafodau llyfnion a'r calonnau oerion, yr ymadroddion llefrith a brâd yn y galon, sydd yn y dyddiau hyn. Yn hytrach na cholli eu hamser gwerthfawr i wag-siarad am undeb, hoffem weled holl gyfundebau Ymneillduol ein gwlad yn cydymddeffroi i ymosod, pawb yn ei le a phawb yn ei ffordd, ar anystyriaeth, calon-galedwch, a phaganiaeth Cymru. Nid gwiw celu y gwir,—dyma sydd yn ennill yn arswydus yng Nghymru yn awr. Gellir dweyd yn ddifloesgni fod capelau mawrion pob enwad, yn Ne a Gogledd y Dywysogaeth, "ar osod" ar foreuau Suliau! Nid oes ar y saint, ysywaeth, eu heisiau ond at yr hwyr yn unig. Eglwys fawr ffasiynol (ni ddywedwn pa enwad), yr oedd nifer ei haelodau ar y llyfrau yn rhifo dros fwy na phum' can' brodyr—nid oedd yn bresennol yn yr addoldy, ar foreu braf, yr haf diweddaf, ond cant-a-saith o eneidiau; a'r boreu Sul dilynol nid oedd ond cant-ac-un-ar-ddeg! Yr oedd y duwiolion, druain, adref yn clwydo! Y mae pob enwad yn ymreibio am flaenu eu gilydd mewn adeiladu capelau, a'r temlau hynny mor orwych fel na faidd y tlawd prin ddangos ei wyneb ynddynt. Tra y mae swyddogion crefydd yn pwyllgori ac yn cynadleddu, yn apwyntio eu hunain a'u gilydd i swyddau, ac yn sipian yr apwyntiadau, y mae heolydd ein trefydd a'n pentrefi yn heigio gan baganiaid! Y dydd o'r blaen cynhaliwyd

## UNDEB CYNULLEIDFAOL CAERGWYDION.

Yno yr oedd hufen Annibyniaeth y Dywysogaeth: a digon tebyg na bu er dyddiau Corah, Dathan ac Abiram gymaint o glicyddiaeth gyda'i gilydd. Pob parch i'r gwŷr dysyml hynny a ddaethant yno yn wysg eu trwynau. Cawsant hwy y fraint o ddyfod yno gyda chalonnau didwyll, a chawsant yn daledigaeth fyned ymaith heb yr un swydd. Gwae y dyn a ddelo i le fel hyn heb fod yn glybiadwy ac yn glybiedig,—ni chaiff ei weled na'i glywed, am nad oes ganddo ddyn i'w fwrw i'r llyn pan gynhyrfer y dwfr. Caiff ef fod fel pelican yr anialwch neu ddyllhuan y diffaethwch; neu, yn hytrach, fel aderyn y tô, unig ar ben y tŷ. Yr oedd ynghyd—y Parchedigion Uthr Bendragon, Hedd Molwynog, Sanddef Bryd Angel, yng nghyda'r holl wŷr llai sydd yn tynnu y gwifrau iddynt ac yn cludo eu harfau. Nid oedd y Parchedig Gwgan Farfdrwch, nac Urien Rheged, tywysog ei filwriaeth, yn bresennol; canys byth er amser brwydr fawr Cattraeth, a Brad y Cyllyll Hirion wedi hynny, nis gallant oddef bod yn yr un man,—er eu bod mewn enw yn frodyr, ac yn ddarnau pwysig o'r un cyfundeb. Dyma yr enwad yr ystyrir ei ffurflywodraeth y fwyaf ffafriol i ryddid barn ac annibyniaeth llafar o'r un yn y byd; ac eto, trwy glicyddiaeth bersonol a chwacyddiaeth weinidogaethol, y mae wedi ei droi, yng Nghymru, y blynyddoedd diweddaf, y fath fel nad oes rhyddid barn, namyn barn clymblaid, nac annibyniaeth llafar, ond llafar brodyr o'r un enwad i gablu eu gilydd! Ac am aelodau yr eglwysi, y maent mewn aml i fan wedi eu cau fel cnud o fytheuaid mewn cŷn-dy, i udo yng ngwynebau eu gilydd, heb neb â hawl, o un pen blwyddyn i'r llall, i agor drws arnynt. Dyma, dybygid, goron y ffurflywodraeth a elwir yn un *Annibynol:*—Pawb drosto ei hun, a Duw dros bawb; yr hyn o'i gyfieithu yw—Pawb iddo ei hun, a Duw heb fod yn unman. Yn yr ysgrifau hyn ni pherthyn i ni ddatgan ein barn bersonol o gwbl ar deilyngdod cymharol y gwahanol

ffurflywodraethau eglwysig; eto tybiem taw campus o beth fyddai fod gan ryw gwrdd misol, taleithiol, neu arall, hawl, weithiau, i agor y drws, a gollwng ychydig o awyr i mewn atynt. Oni fyddai hyn yn ddarpariaeth dda at iachâu y lle, a siarad "*from a sanitary point of view*," ys dywedir. Rhyfedd ydyw gwatwareg ffeithiau: yr enwad a all ymffrostio mewn mwyaf o ryddid ydyw yr enwad hefyd, o fewn holl dalaeth Cymru i gyd, a all ymffrostio mewn mwyaf o babau! Gall pab fod mewn aml i eglwys: y *mae* pab ymhob Cwrdd Chwarter, ac amryw yn yr Undeb! Gwyddem, cyn myned yno, nad oedd gan Undeb Cynulleidfaol Caergwydion unrhyw hawl i ddeddfu. A glybu neb erioed am gynifer o ddynion galluog wedi dyfod ynghyd heb hawl ganddynt i ddim ond siarad. Pan gyferfydd y Methodistiaid Calfinaidd neu Wesleyaidd, nid oes ganddynt ond deddfu yn dragywyddol: pan gyferfydd y Cynulleidfaolwyr, nid oes ganddynt ond siarad yn ddiddiwedd! Eto y mae pawb yn honni bod yn berffaith; a phob un yn cysgu yn dawel, gan lwyr gredu fod ei ffurflywodraeth ef yn gorwedd yn deg ar y Testament Newydd! Pan y mae anwybodaeth yn beth mor ddedwydd, onid ffol yw bod yn ddoeth? Modd bynnag, pen-gwyl y Pendragon yw yr Undeb: ni faidd Gwgan ddangos ei wyneb; eithr daw rhai o'i fintai weithiau yn araf deg, fel ieir yn sengu ar farwor. Bychan a mawr sydd yno: ond nid ydyw y gwas wedi ei ryddhau oddiwrth ei feistr; canys y mae y nifer amlaf o'r bobl hyn, cyn eu dyfod, wedi eu pasio dan y wialen; ac, fel rheithwyr yr Ynys Werdd, wedi eu pacio ynghyd i ladd neu ryddhau, fel yr erchir hwynt. Nid oes yr un eglwys wedi cael gweinidog yn ystod y flwyddyn nad oes llaw rhyw Joab wedi bod yn ei wthio arni; nid oes yr un cwrdd mawr wedi digwydd er's blynyddau nad clicydda sydd wedi dwyn ei bregethwyr at eu gilydd; nid oes un gymanfa, drwg gennym ddweyd, er's amser maith, yn Ne na Gwynedd, nad oes a fynno clicyddiaeth â mwy na hanner ei phregethu!

Daeth yr Undeb i ben o'r diwedd. Yr oedd lletŷau a gaed gan yr enwadau eraill yn flasus; ond yr oedd raid troi tuag adref. Ar ol yr holl glymbleidio a maldodi, fe ddaeth dydd y pregethu; a diolch am dano. Gyda'r eithriad o bregeth neu ddwy, yn y rhai y caed mwy o Hegeliaeth na Christionogaeth, mwy o foesddysg ferfaidd nag o efengyl felus, cawsom bregethau campus. Synem fod clymbleidwyr mor fawr yn bregethwyr mor wych. Priodolem hyn i'w llafur gartref ac i'r drefn Annibynol—fod yn rhaid darparu, onide cyfodai cwyn yn yr eglwysi. Dyma un o ragoriaethau Cynnulleidfaoliaeth. Ymadawsom yn swn yr odl,—

"Myrr a chassia, myrr a chassia
Independia lanwo'r wlad."

Nid hir y buom cyn i ddydd arall pwysig ein goddiweddyd, sef dydd cynaliad

SYNOD BRESBYTERAIDD LLANAFAN FAWR.

Yr oedd Llanafan yn lle o henafiaeth ac enwogrwydd; ac ymgasglodd tyrfa o'r Calfinistiaid i'r lle. I ba beth? Wel, i ddim namyn gwrando adroddiadau o bwyllgorau, a chyfodi eu dwylaw i'w cadarnhau! Y mae y corph a elwir y Methodistiaid Calfinaidd wedi myned yn un crynswth o gyfeisteddfodau: a chyfleusterau da i glicydda ydyw pwyllgorau. Nis gellir byw na marw yn fuan gyda'r Methodistiaid eithr yn ol barn pwyllgor. Nid ydyw y corph hwn yn ol unrhyw ddiwrnod i'r Annibynwyr am glymbleidiaeth: yn unig y mae y drwg wedi torri mwy allan gyda'r diweddaf, a'r gwelïau crawnllyd, drewedig, wedi rhedeg. Galwn ni y Methodistiaid ar eu hen enw, ac nid ar yr enw newydd-anedig —y Presbyteriaid Cymreig. Nid oes dim yn amlycach na bod y cyfundeb hwn yn prysur foneddigeiddio a Seisnigeiddio. Trueni hynny hefyd: efe yw yr unig enwad o haniad hollol Gymreig; a digrif yr edrych efe mewn dillad wedi eu gwneyd yr ochr arall i Glawdd Offa.

Cerir ymlaen ganddo yn awr yr hyn a elwir gan un o'u poëtau hwy eu hunain—"Y Genhadaeth Seisnig yng Nghymru." Pa beth yw hynny, tybed? Ai cenhadaeth i droi y Saeson yn Gymry, ynte y Cymry yn Saeson? ond mwy tebyg taw cenhadaeth er gwneyd corph y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn *rhywbeth* Seisnig —rhywbeth heb na rhuddin nac asgwrn cefn iddo. Nid ydyw hyn namyn rhan o'r dòn fawr sydd yn myned tros Fethodistiaid y dyddiau hyn o anghofio eu hen dras a gwneuthur eu hunain foneddigeiddied fyth ag y medrant. Y mae y dylanwad hwn yn amlwg ar eu haelodau, eu diaconiaid, ac ar eu gweinidogion. Nid ydym yn sicr nad oes ymfudiaeth mawr ar gymeryd lle o fysg aelodau ieuengaf y corff hwn i'r Eglwys Sefydledig: y mae plant ei weinidogion a'i brif ddiaconiaid wrth y dwsinau yn myned i'r gorlan honno yn barod, bob cyfle a gânt,—rhai heb wybod, a mwy trwy wybod, i'w rhieni, bondigrybwyll. Dynion a gyfodasant, o fod yn deilwriaid a gofaint, o fod yn seiri a sadleriaid, i sefyllfaoedd o bwys yng nghyfundeb y Methodistiaid,—y mae plant y rhai hynny yn rhedeg yn finteioedd i Eglwys Loegr, lle y cânt ymrwbio yn y mawrion, ac anghofio tras eu rhïaint. Mae mwy o gywilyddio o'u Hymneillduaeth ymysg ieuenctyd a fegir ar aelwydydd Methodistaidd nag unrhyw enwad arall! Pa fodd y mae hynny yn bod, nis gwyddom: ei fod yn bod, nis gellir ei wadu. Gwŷr a ddyrchafwyd gan gorff y Methodistiaid i safleoedd da, mewn gwlad a thref, ydynt erbyn hyn yn barod i gicio yr ystôl a'u cyfododd, ac ymgrymu i loi aur! Cenfydd y plant hynny, a mynnant hwythau ymgrymu i dduwiau eu rhieni. Gwelir aml i ysgogyn o fachgen, ac aml i hoeden o eneth, yn rhy ddiwylliedig a dysgedig, ysywaeth, i dywyllu y capel Ymneillduol. Nid ydyw y weinidogaeth yn ddigon coeth, na'r gymdeithas yn ddigon "*respectable;*" am hynny ant i'r Llan i wrando ar guredyn dienaid o Sir Aberteifi, y gallesid rho'i hynny o efengyl sydd yn ei bregeth mewn plisgyn cneuen, ac i honno fod yno am fil o flynyddoedd heb gyffwrdd unwaith â'r

ochrau; ond lle y cânt yr amheuthyn mawr o ymgymysgu â gwahangleifion moesol, anllad a diras y bendefigaeth, a chydaddoli gyda hwynt y dduwies fawr a elwir *Society*. Yr oedd yn Synod Llanafan lu o bregethwyr a blaenoriaid, ni a'u hadwaenom, a gaed gan y Methodistiaid yn glai, eithr a wnaed ganddynt yn farmor, nad ydyw eu plant yn malio mwy ym Methodistiaeth eu rhieni nag yn yr eira a fu ar ben y Mynydd Du y llynedd!

Nid oes dim ag y mae y corph hwn wedi dirywio yn fwy ynddo na'r nwydd werthfawr honno a elwir ganddynt yn Ddïaconiaeth. Synem, wrth daflu trem ar y Synod, faned ac eiddiled ydoedd. Bu amser ar yr enwad hwn pan yr oedd cewri ar y ddaear. Hawddfyd y Methodistiaid sydd mewn perygl o'u lladd, a'u llwyddiant a all eu difetha. Fel y mae yr haf yn magu pryfaid, felly fe dyf pydrni a seguryd o hawddfyd. Wele yr enwad mwyaf gwerinaidd, enwad a gyfododd o ganol gwerin Cymru, ac enwad a gariai bob amser, fel arwyddair ar ei faner, gydymdeimlad â'r werin, wedi myned, gyda'r eithriad o Eglwys Sefydledig y tir, y mwyaf anwerinaidd. Gwyddom y gwrthddywedir ni gydag ystadegau: ychydig o goel a roddwn ni arnynt; y mae yspryd a naws yn llawer trech mynegai nag ystadegau. Y mae yspryd coeg-bendefigaidd yn treiddio drwy y cyfundeb; a deall y tlodion nad oes eu heisiau hwy, a chadwant draw. Nid o fysg y werin fel cynt y dewisir eu blaenoriaid; ond, os gellir eu cael, o fysg crach-foneddigion a bydolion.

Y mae mwy o ddirywiad, ni a ddywedwn eto, yn y swyddogaeth eglwysig—yr un ddiaconaidd yn enwedig—ymhlith y Methodistiaid, na dim arall. Dengys hyn fod mesur o anwybodaeth a phydrni yn yr eglwysi i ddewis dynion o fath y rhai a ddewisir yn fynych. O! na chaem awr neu ddwy eto, mewn Cwrdd Misol neu Synod, o'r hen ddiaconiaid, pan y'u gelwid yn flaenoriaid, a phan yr oeddynt yn arweinwyr mewn gwirionedd, a phan y gelwid y corph yr oeddynt yn rhannau ohono yn Fethodistiaid, ac nid ar yr enw newydd llugoer—y

Presbyteriaid. Y diweddaf ohonynt a welsom ni oedd yr hen Fnason Morgan, dyn fu yn dal cymundeb â'i Dduw wrth wneyd esgidiau, ac yn gogoneddu ei Geidwad wrth eistedd ar fainc y crydd! Yr oedd ei grefydd yn perarogli y dreflan, a'i hannuwiolion yn gwladeiddio yn ei ŵydd. Hysbys i'w gwsmeriaid o bell ac agos ydoedd adeg ei ddefosiwn teuluaidd; ac nid aflonyddai neb ar ei babell ar yr awr gysegredig honno! Yr ydoedd megis oracl Duw i'w gymydogion; ac nid un na dau ohonynt a gawsant saeth a ddibenodd yn eu hargyhoeddiad wrth ei wrando yn gweddïo drostynt. Nid aeth na gwas na morwyn erioed o wasanaeth Mnason Morgan heb gario i'w canlyn hyd eu beddau argyhoeddiad dwfn o werth crefydd; a darfu i'w grediniaeth ddofn, ei weddïau dwysion, a'i fywyd cyson a gonest, gadw mwy nag un na dau o fechgyn ieuainc meddylgar y dref rhag myned yn anffyddwyr. Yr hen Fnason hybarch! y mae yntau wedi myned. Barwniaid o flaenoriaid oedd yn y dyddiau hynny; ac efe oedd y diweddaf o'r barwniaid. Adwaenem rai o'i gyfoeswyr, oeddynt fel yntau wedi byw i benrhynau eu hoes, ac wedi d'od i lawr i'n hoes ni. Er nad oedd rhai o honynt ond dynion cyffredin eu hamgylchiadau, eto y fath oedd cryfder eu cymeriad, treiddgarwch eu deall, mantoliad da eu barn, ac yn enwedig eu craffder i ddal eu llygaid yn ddiwyro ar yr hyn oedd uniawn a chyfiawn, fel y buasem yn anturio, heb foment o betrusder, gosod llonaid allor neu sêt fawr ohonynt ar y fainc ynadol! Pe buasai pawb fel hwynt-hwy, ni buasai ar yr eglwysi eisiau "*committees of management*" yn lle blaenoriaid, ac ni chlywsid son am lunio deddf i ail-ddewis y diaconiaid bob pum' mlynedd. Mae oes euraidd y diaconiaid,—nid oes y fodrwy aur,—wedi myned heibio: yr ydym eisoes yn yr oes bridd,—a hwnnw, ysywaeth, yn bridd go sal hefyd.

Prin, yr ydym yn ofni, y mae neb o bleidiau crefyddol Cymru, ac yn enwedig y Methodistiaid Calfinaidd, yn sylweddoli eu sefyllfa. Y mae ganddynt i wynebu sefyllfa eithriadol ar bethau yn y Dywysogaeth:

a dylai eu swyddogion fod yn ddynion tra eithriadol mewn nerth ysprydol a phybyrwch amcan a gweithrediad. Tra y mae anystyriaeth a dideimladrwydd ar gynydd dychrynllyd yn y wlad, tra y mae meddyliau lluaws o'r ieuenctyd mwyaf meddylgar yn cael eu lefeinio gan yspryd amheuaeth, tra y mae rhyw fath o baganiaeth posibl mewn gwlad Gristionogol yn ymyl eu drysau, y maent hwythau yn hepian neu yn chwareu. A phan ddihunant, dihuno i ryw ymgellwair ac ymeiriach a wnant. Y mae y werin fu yn eiddo ac yn mynychu cynteddau y Cyfundeb Methodistaidd yn llithro yn brysur o'i afaelion, a'r Samson hwn yn cysgu ar lin rhyw Ddalilah neu gilydd! Yr hyn a bair i ni ysgrifennu fel hyn ydyw ein bod yn brydio gan sel ac awydd am i'r holl gyfundebau crefyddol ddeffro i'r cyfwng. Dibrisir ein cynghor, mae'n ddiau, ac amheuir ein hamcanion; canys, o gwneler cymwynas i daeog, bach fydd ei ddiolch. Sylwer ar dôn cyhoeddiadau a newyddiaduron yr enwadau, craffer ar benderfyniadau eu synagogau a'u cynadleddau, a cheir gweled eu bod fel dynion ar ben eu digon ac heb ofni perygl o un lle. Ac y mae y naws ddiofal, fas hon wedi meddiannu, yr ydym yn ofni, ddosbarth y dylai eu gwaith a'u rhagolygon beri iddynt deimlo yn angerddol. Y dydd o'r blaen cyfarfu nifer o efrydwyr y colegau duwinyddol â'u gilydd (meddylddrych campus) i gyfnewid meddyliau a chynllunio ar gyfer gwaith eu hoes: a'r peth cyntaf a wnaeth y bechgyn druain oedd myned i dynnu eu llun! Nid oes dim yn erbyn i'r egin-fugeiliaid diniwed hyn dragwyddoli eu hwynebau: ond mal y dengys gwelltyn gyfeiriad yr awel, felly dengys hyn ymha gyfeiriad yr oedd eu meddyliau hwythau yn rhedeg. Dichon fod ganddynt gyfarfod gweddi, eithr am y tynnu llun y clywsom ni son yn y cyhoeddiadau. Y ddadl fawr sydd wedi bod yn llenwi colofnau *Y Lleufer*, un o newyddiaduron enwadol Cymru, yn ddiweddar, ydyw y pwnc tra phwysig, "Pa bryd y dechreuwyd arfer *steel pens* i ysgrifenu?" Ofnwn yn wir fyned yn gellweirus gyda ffaith o'r fath bwys.

Cofiem yn barhaus am yr hen grythor ymerodrol Nero, yn Rhufain, yn ffidlo, a'r ddinas yn myned ar dân! Yr oedd miloedd Cymru yn trengu tra yr oedd dadl fawr y *steel pens* yn y glorian! Bu Synod Bresbyteraidd Cymru am flynyddoedd yn penderfynu beth fyddai arwyddair ac arwyddlun y Cyfundeb: ac wedi ëi gael, nid ydyw namyn ceryn bychan diniwed ddigon,—a'r geiriau arno, fel Methodistiaid y dyddiau hyn, yn gymysgedd llymrig o Gymraeg a Saesonaeg. Dychymyger am Hywel Harris a Daniel Rowland yn treulio tair blynedd i ddyfeisio arwyddlun i'r cyfundeb a gychwynasant; buasai yr un peth meddwl am y fellten yn cerdded yn araf, neu y daran yn peidio trystio! Drwg gennym ddywedyd taw pwyllgorau y mintys, a'r anis, a'r cwmin, oedd y rhan amlaf o bwyllgorau Synod Llanafan. Prif orchest un pwyllgor ydyw hacio y Pedair Efengyl, a danfon y darnau draw ac yma, a thynnu uffern allan o'r *Rhodd Mam*, rhag i dân a brwmstan ddychrynu plant Cymru! Gwaith pwyllgor arall ydyw hel yr anifeiliaid i'r arch a ddarparwyd rhag y diluw Seisnig a dybid oedd ar foddi Cymru: y mae yr arch yn barod, a'r anifeiliaid—Cymru glân gloew, y nifer amlaf o honynt—ynddi, ond ni ddaeth y diluw. Cyfyd weithiau ddadleuon brydion yn y Synod, a bygythir cynhyrfiadau llesmeiriol: ond wedi yr holl waeddi a llemain, gan mor fân ydyw y pynciau, ac mor fâs hefyd yw y teimlad, ni chymer unrhyw ffrwydriadau peryglus le. A welsoch chwi blant yr iar, pan yn dechreu dyfod yn geiliogod, ar y parth o flaen y ty, yn cyfodi ar foment, bob mab iar o honynt, yn ben-ben frig-frig nes bygwth yr alanas fwyaf erioed; ac yna yn ebrwydd yn ymostwng, yn dawel fach, i fod yn blant ieir yn eu holau!

Y frwydr fawr fu yn peryglu heddwch Corff y Methodistiaid Calfinaidd yn ddiweddar—yn gyffelyb i frwydr fawr Cattraeth gyda'r Annibynwyr—ydoedd Brwydr y Brogäod—brwydr y blwydd yn lladd y deuflwydd. Pan y daeth yr ysgogiad a elwir y Fugeiliaeth Eglwysig i gael ei deimlo yn angenrheidiol, parodd gryn gynhwrf, gan

fod gweinidogion ieuainc yn cael eu galw i'r gwaith, tra yr oedd yr hen weinidogion yn cael eu hesgeulso. Câd dost a fu mewn aml i fan: a llyfr mawr, pan y'i hysgrifennir, fydd cronicl y frwydr hon. Gellir dweyd am aml i weinidog hen a bugail ieuanc—A'r rhan arall o'u gweithredoedd a'u rhyfeloedd, onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl bugeiliaeth y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig? Bellach y mae anterth y frwydr drosodd. Yr oedd ieuanc a hen yn y Synod hon yn edrych yn heddychlawn eu gwala. Ymddangosai yr hen bregethwyr poblogaidd mor dawel a rhes o fynyddau tanllyd wedi llosgi allan, neu fel mintai o *Sphinxes* llonydd ar fin yr anialwch tywodlyd, yn gwylio ysprydion blynyddoedd eu poblogrwydd yn myned heibio. Yno yr oedd y canol oed a'r ieuainc hefyd, luaws mawr ohonynt, â llygaid pawb arnynt fel rhai y mae dyfodol y cyfundeb yn gorphwys ar eu hysgwyddau. Yn eu plith y mae duwinyddion, ysgolheigion, cofnodwyr, a gweithwyr difefl a diflino. Ond am y rhelyw o'r pregethwyr oedd yno, daeth ymgom Mr. Nathaniel Winkle gyda'i gyfaill Bob Sawyer yn fyw—yn anwrthwynebol felly—i'n cof wrth edrych arnynt. Aethai Mr. Winkle, yr ydych yn cofio, i Fryste, i edrych pa lwyddiant oedd ar ei gyfaill Robert Sawyer, Ysw., yr hwn a ymsefydlasai yno fel meddyg. Nid oedd Bob druan fawr o physygwr; ond yr oedd wedi rhoddi y troed goreu ymlaen,—wedi cael siop olygus, a chloërau lu: ond ebe Bob, gan roddi ei law arnynt,—"Dim, dim, 'machgen i; y mae hanner y droërau yn weigion, a'r hanner arall na wnant agor. Nid oes yma ddim byd sylweddol yn y siop, 'machgen i, ond y gelod; ac y mae y rhai hynny yn ail-llaw." Y mae aml i siop, ysywaeth, fel siop Bob Sawyer,—cloërau gweigion, a gelod ail-llaw. Edrychai nifer fawr o'r pregethwyr hyn oedd yn y Synod i ni yn debyg fel pe buasent wedi dal hanner cant o fân-guradiaid mwyaf defodol Cymru yn ymdrochi, a dianc ymaith gyda'u dillad a'u hetiau! Amgylchid aml i wddf hir, na ddaeth nemawr ond gwynt drwyddo erioed, gan *goler offeiriadol*, ac am-

gylch-wregysid y lwynau yn ddestlus gan y wasgawd glerigol: eto, tebyg iawn y curai y pregethwyr hyn, un ac oll, eu dwylaw yn hyfryd mewn cwrdd gwrthddegymol! Pa brawf sydd gennym, gan eu bod yn chwenychu dillad yr offeiriad, na fwynhaent ei ddegwm hefyd pe gallent ei gael Nid oes dim mewn dillad, mae'n wir; ond bradycha wendid ac eiddilwch fod cynifer o weinidogion ieuainc y Methodistiaid yn prysuro i geisio gosod eu hunain allan ar wahan, hyd yn oed mewn diwyg, i'r bobl y gwasanaethant yn eu plith.

Y dydd o'r blaen bu amgylchiad yr edrychid am dano gan luaws er's tro, sef

NODACHFA WESLEYAIDD FAWREBDOG LLAMSACH-Y-FFYNON.

Ni wyddom ni yn y byd pwy a ddygodd y gair newydd "nodachfa" i fod; ond gŵyr yn aruthr bawb taw gair ydyw i ddynodi ffair i gasglu arian at gynnal crefydd! Teimlwn y gwrid yn d'od i'n wynebau wrth ysgrifenu y frawddeg! Ai gair o darddiad Wesleyaidd ydyw, nis gwyddom. Hen air salw, merfaidd, ydyw, modd bynnag, a'i onglau yn awgrymu ddyfod ohono oddiwrth rywun tebyg i'r gwr a ysgrifennodd y llyfr anfarwol, *On the Urinals and the ——— of the Connexion.* Eithr y mae yn burion, ar a wyddom ni, i ddynodi y peth gynrychiola; gair hagr i osod allan beth pwdr.

I'n bryd ni nid oes gyfeiliornad mwy yn perthyn i eglwysi Cred y dyddiau hyn na'r ffyrdd a arferir i gasglu arian at grefydd. Nid y diffyg mawr, fel y myn rhai, ydyw y diffyg o arian, eithr y diffyg o'r yspryd priodol wrth eu cyfrannu a'u casglu. Y prif achos fod mor lleied o lwyddiant ar ein Cristionogaeth y dyddiau hyn ydyw ein bod yn defnyddio arian anghysegredig at ei chynnal, ac yn defnyddio dulliau anysgrythyrol i'w cael ynghyd. Y rheol Ysgrythyrol ydyw—"Yr hwn sydd yn cyfrannu, gwnaed mewn symlrwydd." Pa faint o symlrwydd, dybygech chwi, sydd yn y cynlluniau, y triciau bydol, a'r heldrin a'r crefu am gasgliadau! Yr

ydym yn ysgrifennu y pethau hyn gyda chalon drom, ond gydag argyhoeddiad angerddol. Gwyliasom er's blynyddoedd y pydrni sydd wrth wraidd hynyma. Braint y credadyn yn unig, yn ein barn ni, ydyw cyfrannu ei arian i'w Dduw, yn gymaint felly ag eistedd wrth fwrdd ei Arglwydd; a dylai fod yn foddion mor wirioneddol o ras iddo a'i waith yn cyfarch gorsedd gras! Dyna athrawiaeth y ddau Destament ar y pwnc: a heriwn nac esgob na phresbyter i brofi yn wahanol. Y mae yr holl apeliadau gorphwyllog yma am arian—yr holl awydd anniwall am symiau mawrion, heb ystyried o ba ffynonnell y deuant,—yr holl ganmol diderfyn ar ddarllawyr digred a chyfranwyr annuwiol, fel pe byddai y Goruchaf dan rwymau bythol iddynt,—yr holl ddadleu yr achos da hwn a'r achos da arall, fel pe byddai achos yr Arglwydd ar y plwyf,—y mae yr holl bethau hyn yn gwmwl ar eglwysi Crist drwy y byd y dyddiau hyn. Da gennym weled dynion goreu pob enwad yn ymysgwyd oddiwrtho. Siaradai y Parchedig Hugh Price Hughes—iechyd i'w galon—yn bur ddifloesgni, y dydd o'r blaen, am rodd fawr Syr E. Guinness i'r tlodion. Yr oedd efe ymhell o'i galw yn rhodd "dywysogaidd," fel y gelwir rhoddion o'r fath. Y mae eglwysi Crist wedi llithro i arfer hen eiriau diflas ynglŷn âg arian crefydd. Sonir am roddion tywysogaidd a geir ar ol dynion cybyddlyd, y rhai, fel moch, na cheir dim oddiwrthynt nes eu lladd. Sonir am symud beichiau, fel pe byddai crefydd yn ddim ond swp o orthrymder ar ysgwyddau y rhai sydd yn eu dwyn. Onid y genadaeth fwyaf llwyddiannus ei gwaith o holl genadaethau Protestanaidd y byd ydyw cenadaeth na ofynnodd geiniog erioed gan neb, ond sydd yn cael cyflawnder drwy ffydd a gweddi? Drwg gennym fod holl gyfundebau Cred, gydag ychydig iawn o eithriadau, wedi myned i rodio wrth olwg, ac nid wrth ffydd, yn y mater hwn. Credir mwy yn yr apêl nag yn y weddi; ac yr ydym yn arfer taerni ar ddynion yn fwy na thaerni ar Dduw. Pa hawl sydd gan y pwlpud i alw cybydd-dod yn ffiaidd eilunaddoliaeth, tra yr ä gweini-

dogion yr Efengyl i arfer taerni ar, ac i arfer dulliau amheus er cael arian oddiwrth, gybyddion? Anturiwn ofyn, Ai nid oes dirywiad eisoes wedi dechreu ymaflyd yn y cyfundebau hynny yng Nghymru sydd yn ymostwng at y pethau hyn? Ai nid wedi i'r Methodistiaid Calfinaidd ddechreu adeiladu y capelau costfawr a gorwych, gan ddisgwyl i'r digred dalu am danynt, y mae lleihad wedi dechreu yn y cynulliadau ar foreuau Suliau, a'i afael fel cyfundeb ar y werin bobl wedi dechreu llacio? Gellir llwyddo drwy nodachfa a chyngherdd, drwy *rafflo* a darlithio, drwy yfed te a bwyta swperau, i gasglu pentwr o arian ynghyd, a galw hwnnw yn llwyddiant; ond beth yw yr effaith yn y pen draw? Gwylier achosion ac effeithiau am amser digonol; oblegid rhaid cael amser i ddirywio yn gystal a llwyddo. Yr ydym yn dweyd eto fod yn ffiaidd gan yr Arglwydd arian, ïe, dywedwn, arian, ac nid cyfoeth yn unig, anghysegredig, ac wedi eu casglu mewn dulliau annheilwng at Ei achos.

Melldith Eglwys Loegr yng Nghymru ydyw parhau i addoli mewn hen lannau anghysbell, am yn unig fod llwch rhyw hen sant tybiedig yn gorwedd yno; ond melldith Ymneillduaeth ydyw cyfodi capelau i foddio mympwy swydd-garwyr a chlymbleidwyr hunanol. Y diwedd fydd—rhaid curo tabyrddau, a chadw ffeiriau crefyddol, i dalu am y ffidl. Un felly oedd nodachfa fawreddog Lamsach-y-ffynnon. Y mae hanes ei gweithrediadau o'n blaen y funud hon.

Yr oedd yno ugain o wobrau i gael bwrw coelbren am danynt, a siawns dda i ennill y goreu ohonynt, am docyn swllt! Chwareu-damwain ydoedd i gyd; ond yma fe'i gelwir yn "*Grand Distribution of Prizes.*" *Rafflo* y gelwid hyn yn iaith y byd, a merlen fynydd Gymreig fel arfer ar ben rhestr y gwobrau; ond pa waeth am y *lottery*, os ceffid arian at yr achos! Ymhlith yr ugain llwyddiannus nyni a welwn fod un ran o bump o'r enwau yn byw mewn tafarndai, yr hyn a ddengys yn amlwg ymhlith pa ddosbarth o bobl y mae y *lottery tickets* yn

gwerthu! Mae y llawlyfr i'r *Welsh Chapel Grand Bazaar* o'n blaen yn awr: a phe buasai Demas ei hunan yn ysgrifennydd, ni buasai raid fod yma fwy o gymysgu y cysegredig a'r anghysegredig, a thynnu mwy at bethau crefydd drwy y llaid. Ceir "Dafydd, pêrganiedydd Israel, a Charles Dickens; Williams o Bant-y-celyn, a William Shakespear," bob yn ail ar ei dudalennau. Ar ben y ddalen ceir pennill o "*Othello;*" ac yn y gwaelod, ïe, yr un ddalen, ceir yr hen emyn fendigaid "Arglwydd, arwain trwy'r anialwch." Llusgir rhyw weinidog druan i agor y "nodachfa" bob dydd drwy weddi, a cheir rhyw faer o rywle i orphen ei hagor gydag araeth. Yn y *Bazaar* hon ni a welwn fod yma feddylddrych hollol newydd—un rhagorol hefyd at yr amcan mewn golwg, sef, ystondin i hen lanciau, un arall i ferched ieuainc, ac un arall i blant! Er fod y llawlyfr wedi ei wneyd yn dra chelfydd a chywrain, brithir ei dudalennau â digrif-luniau o fenywod yn yr ystum fwyaf anllad! Dibennwyd, fel bob amser, gyda'r difyrion a gamenwir yn ddiniwed: caed dau ffwl ffair, wedi pardduo eu hwynebau, i lawr o Lundain,—y delyn a'r tannau, a'r dawnsio! Agorwyd y "nodachfa fawreddog" gyda gweddi, a chlowyd hi i fyny gyda *Punch and Judy*. Oh! ddechreu gogoneddus yn yr yspryd, a dibennu gwaradwyddus yn y cnawd. Geilw y rhai sydd yn twyll-resymu hyn yn ffordd anuniongyrchol o gasglu arian at grefydd; galwn ninnau ef, heb yr un ddeilen ar ein tafod na blewyn ar ein hysgrifell, yn ffordd y cnawd a bydolrwydd, ïe, yn ffordd y diafol! Yr oedd y diweddar Dr. Frazer, Esgob Manceinion—ac ni chyhudda neb ef o fod yn rhyw Gristion glasdwraidd iawn—yn hollol o'r un farn a ni. Y mae y fath beth yn llygriad pwysig! Nid ydyw yr arian a enillir drwyddo ond arian annheilwng: ac mewn cysylltiadau crefyddol, yn llawer mwy nag mewn cysylltiadau cymdeithasol, mae yr hen air yn wir—"Ceiniog annheilwng aiff a dwy hefo hi." Hwn yw y ffieidd-dra mawr a wna ty Israel i yrru yr Arglwydd ymhell o'i gysegr. Dyma y ffieidd-dra yr

oedd raid i'r prophwyd dorri twll ym mhared y deml i gael ei weled: ond gellir ei weled unrhyw ddiwrnod yn un o gapelau Cymru. Dyweder a fynner, y mae yn gweryl rhwng yr Arglwydd â'i bobl. Dodir enw a gwedd ddiniwed arno weithiau, drwy ei alw yn *sale of work*, ac felly yn y blaen; ond y mae yr un pydrni o dan wraidd yr holl ddulliau,—nid ydyw yn gyfrannu mewn symlrwydd. Hèr i neb ddangos fod un esiampl na gorchymyn o fewn i holl Air Duw yn rhoddi y cysgod lleiaf o gefnogaeth iddo. Ceisir rhoi cochl o grefyddolder rhyfedd weithiau dros y cyfan; cesglir hen greiriau a phethau dyddorol yng nglŷn â hanes yr enwad, i'w gwerthu am uchel-bris. Nid yw yr ymgais hwn i roddi eli wrth y gydwybod ond yn profi i ni fod braenedd yn bod.

Na, ysywaeth, nid oes yr un gefnogaeth i'r ffeiriau crefyddol hyn o fewn holl gylch hanesiaeth, hen na diweddar. Costiodd y Tabernacl yn yr Anialwch swm anferth o arian; ac adeiladwyd ef pan nad ydoedd yn "amser da" o gwbl ar amgylchiadau cenedl Israel. Ond nid ydym yn darllen ddarfod i Moses ddanfon Bezaleel ac Aholïab, a dywedyd wrthynt: "Ewch, a gwnewch nodachfa fawreddog, yng nghyda gwledd ysplenydd; a gwnewch swper o fanna, a rhostiwch gyflawnder o soflieir. Gwisgwch y merched ieuainc yn y gwisgoedd mwyaf symudliw a deniadol; ac ânt o amgylch y gwersyll, yn swn y delyn a'r dympan, i werthu tocynau. Os gallwn ni ddenu ambell i Hethiad cyfoethog i gyfrannu at yr achos, goreu oll,—a chael, drwy ddichell ddiniwed, ambell i sicl oddiar yr Amaleciaid, byddai hynny yn lleihau y baich." Dyma air newydd, y gair "baich," yng nglŷn â chyfrannu at grefydd: ni cheir mo hwn yn y Beibl. Gair a fathwyd gan gnawdolrwydd a chybydddod y dyddiau presennol ydyw. Nid ydym yn darllen i Paul ddanfon at y saint yn Corinth: "Yn awr am y gasgl i'r saint; bydded i'r brodyr a'r chwiorydd ymuno â'u gilydd i gael cyngherdd a dawns fawreddog, neu gyfres o fabolgampau ar y morfa yn ymyl y ddinas; a thocynau hanner sicl yr un i'w gwerthu er budd y

casgliad!" Buasai yn rhyfedd gennym ddarllen am Paul yn eistedd i lawr, fel y gwnaeth olynydd iddo y dydd o'r blaen, i ysgrifennu llythyr i ofyn am sicl o gardod at draul Eglwys Lystra, ac yn gofyn i'r derbynnydd ysgrifennu dau gopi o'r llythyr a'u danfon ymlaen i rywrai eraill yn Lycaonia! Dyma y triciau duwiol a arferir yn awr. Dychymygwch am Tryphena a Thryphosa yn gwneyd *sale of work* er budd yr eglwys fechan yn Rhufain, ac yn danfon at Dorcas am rodd o hulyn cyfroddedig at y ffair! Neu tybier Phœbe yn danfon am un o *autographs* Paul i'w werthu, neu Lydia yn danfon llathen neu ddwy o borphor wedi ei wneyd yn rhywbeth gwerthadwy i gyflenwi ystondin Priscilla! O! fel y buasai pethau fel hyn yn darllen yn niwedd yr Epistolau at y Philipiaid a'r Colossiaid! Pw! pw! ffoledd i gyd! Y mae y dulliau hyn o gasglu arian at wasanaeth crefydd belled a'r pegynau oddiwrth fod yn Ysgrythyrol; mewn gair, daearol, anianol, cythreulig ydynt.

Yr oeddym wedi llawn fwriadu cael gair am Eisteddfod y Bedyddwyr yng nghapel Pant-yr-afon, a'r "elw sylweddol" (dyma eto un o eiriau mawr yr oes) a wnaed oddiwrthi tuagat dynnu y baich oedd ar yr achos; ond y mae ein gofod eisoes wedi cerdded. Heblaw hynny, troed y darllennydd i'r *Geninen* am 1885, cyf. iii., tudal. 277, a chaiff weled ein bod wedi traethu ein llên ar y math yma o Philistiaeth eisoes mewn un arwedd arno. Hwn, gellid meddwl, ydoedd y cynulliad mwyaf afreolaidd er dyddiau y terfysg yn Ephesus gynt. Er na chynhelid hi yng ngwres yr haf, eto yr oedd y Philistiaid mor sychedig fel y gorchymynodd yr heddgeidwaid i dafarnwyr y pentref gau am dri o'r gloch y prydnawn, gan mor feddwed oedd y lluaws. Yr oedd y capel mor lawn fel y gorfyddwyd torri paun o wydr o bron bob ffenestr oedd ar yr addoldy rhag i'r Philistiaid fogi. Eiddigedd y corau ydoedd mor ofnadwy fel y daeth arweinydd un o honynt ymlaen i'r allor ar y diwedd, gan fygwth "ffusto" y beirniaid! Tra yr oedd hyn yn myned ymlaen yn allor y capel, yr oedd gwahanol ael-

odau y corau yn brwydro yn gethin gyferbyn â'r drws, ac yn rhegi eu gilydd fel cathod! Ond, ond, i beth y gwnawn ni son; onid yw y diben yn cyfiawnhau y moddion, ac oni chaed "elw sylweddol" at yr achos? Drwg iawn oedd gennym dros y gynulleidfa oedd i addoli yn y lle hwnnw y Sabboth drannoeth i Sadwrn yr Eisteddfod!

Yr ydym fel hyn, yn ein llwybr ein hunain, wedi brys-ddesgrifio rhai o'r brychau a'r meflau sydd, yn ol ein tyb ni, yn anurddo Cristionogaeth y dyddiau hyn. Ond nid ydym yn gwan-galoni o gwbl. Er ein taflu fel hyn ar ddeufor-gyfarfod o wahanol ddylanwadau—amheuaeth, defodaeth, chwant afiach am ddifyrion, a diystyrwch mawr o bethau cysegredig; eto, nid rhaid pryderu am lwyddiant gwir grefydd, canys y mae ei hadnoddau hi ynddi ei hunan ac yn ei tharddiad goruchel. Awn at yr hanesydd Gibbon—a chydnebydd pawb ei fod ef yn dyst anmhleidgar yn yr achos hwn—i weled pa elfennau yn hanes Cristionogaeth a'i llwyddodd hi ar y dechreu: yr un pethau raid gael eto. Heblaw ei dwyfol darddiad, yr hyn yn ddiau oedd yr achos pennaf, dyry efe allan bump o bethau oeddynt yn gweithredu fel math o ail achosion yn ei llwyddiant dechreuol:—Sel anhyblyg y Cristionogion cyntefig yn ei phlaid—a hwnnw, tra yr ydoedd wedi ei buro yn hollol oddiwrth bob yspryd sectol, eto na wnai ddim cyfathrach âg ysbryd y byd; crediniaeth ddofn yn yr athrawiaeth am sefyllfa ddyfodol, a'r holl bethau a ddygwyd i oleuni ynglŷn â hynny gan Grist; argyhoeddiad dwfn o darddiad goruwchnaturiol a gwyrthiol Cristionogaeth; moesoldeb pur a dilychwin ei deiliaid; undeb a disgyblaeth yr eglwys ynddi ei hunan: dyma y pethau; a rhaid eu cael eto er llwyddiant crefydd Crist.

Y dydd o'r blaen cyfarfyddasom âg amgylchiad a barodd i ni fyfyrio cryn lawer ar ddyfodol crefydd yng Nghymru, sef

ANGLADD Y PARCH. J. DIWYDFRYD JONES, B.A.:

ac ni wnaeth arwyl neb, er's llawer o amser, y fath argraph arnom. Treuliodd y gwr haeddbarch hwn ei fywyd gweinidogaethol, o ychydig yn hwy na chwarter canrif, i wasanaethu nifer o eglwysi bychain, ond blodeuog a llwyddiannus, yn ystlysau dyffryn prydferth Cwm-y-Dwyfor, yn Sir——: a thorodd i lawr, gellir dyweyd, megis yng nghanol ei ddyddiau. Cyfaneddai mewn ty bychan destlus ar lan ddwyreiniol yr afon Treiglwy, yn gyfagos i bentref Llanaerberth, ynghanol y dyffryn. Claddwyd ef yn y fynwent sydd gerllaw i gapel Horeb, un o'r eglwysi a wasanaethwyd mor ffyddlon ganddo. Hawdd canfod ar ddydd ei gynhebrwng fod parch pobl y dyffryn yn fawr iddo, ac, yn eu bryd hwy, taw "gwr i Dduw o'r gwraidd oedd." Enillasai y radd anrhydeddus mewn ysgolheigdod o Wyryf yn y Celfyddydau (B.A.) ym Mhrifysgol Caerludd, a hynny pan yr oedd graddau a graddolion yn brinnach ymysg Ymneillduwyr Cymru nag y maent yn awr; ïe, *enillodd* hwynt, a *gorphennodd* eu hennill,—nid fel y mae rhai, mor drachwantus am danynt fel ag i'w gwisgo cyn gorphen eu hennill. Gwnaeth ei dalentau a'i ysgolheigdod yn drwyadl is-wasanaethgar i waith mawr ei fywyd, sef pregethu yr Efengyl. Treuliodd ei oes mewn defnyddioldeb didrwst, cadwodd ei wisg yn gwbl ddilychwin oddiwrth laid cwerylon ei enwad, rhoes ei fryd o'r dechreu ar fod yn "wr Duw," ac nid yn fraich i ddynion. Anrhegwyd ef gan natur â chorff hardd a lluniaidd; a chafodd iechyd, a gadwyd yn dda, drwy ofal ei briod hawddgar; a magwyd ganddynt dŷaid o blant—o leiaf cychwynwyd eu magu—heb gymorth yr un o'r ffundiau! Gwnaeth natur ef yn ddyn, gwnaeth gras ef yn angel. Meddai galon dyner, a natur fawr agored; a symudai fel tywysog ymysg ei bobl. Gwr ydoedd wedi ei ddonio gan Dduw mewn modd neillduol,—yn gryf mewn gras, yn fawr yn yr Ysgrythyrau; a'i fywyd cysegredig, anhunangar, bob amser yn cydlefaru â'r hyawdledd pêr

hwnnw a barai i'r Efengyl ddiferu oddiar ei wefusau, o Sabboth i Sabboth, fel peroriaeth fugeiliol y Bugail Da Ei Hunan yn arwain Ei braidd tua'r nefoedd. Yn ei ymwneyd â phobl ei ofal, yn enwedig y ddau ddosbarth a ystyriai efe yn gofyn y gofal mwyaf, sef yr ieuainc dibrofiad, a'r tlodion gonest, gostyngedig, byddai, bob amser, megis â swn traed ei Feistr y tu ol iddo. Dyn cryf ydoedd, eto llawn cydymdeimlad: beiddiai berygl ac angeu, pe byddai raid; eto medrai fod, yn ystafell y claf, mor llednais a chwaer, ac ar ddydd y brofedigaeth mor garedig a brawd. Pregethai gyda gallu, ond gallu wedi ei dyneru â chariad; gweddïai gyda dagrau, eithr gyda llefain cryf a dagrau. Yr oedd ei holl fryd ar achub eneidiau; ond ni roddes i lawr erioed yn ei ddydd-lyfr pa nifer o eneidiau a achubwyd ganddo. Teimlai fwy o aidd am eu dwyn at Grist a'i groes na'u dwyn i'r eglwys er chwyddo ei rhifedi; ac yr oedd ei holl feddylfryd ar wneyd gwaith ei Dduw a dadwneyd gwaith y diafol. Ac, uwchlaw pob peth, yr oedd yn wr da, llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân, a'i wyneb yn wastad yn edrych tua'r nef, lle y gwelai ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw; a chanfyddai pobl y Cwm, mewn canlyniad, ei wyneb yntau yn disgleirio fel wyneb angel wrth edrych arnynt. Gwr tra doniol ydoedd, o synwyr cryf, a'i galon yn brydio o sel ac awyddfryd duwiol am wneuthur daioni yn ei genedlaeth a'i gylch. Un o ddyrys-gylymau ei fywyd fu y cwestiwn, Pa un a ydoedd i aros gyda phobl y Cwm, ynte i gymeryd cylch mwy? Amlwg fod natur a gras wedi ei fwriadu i gylch llawer eangach; ond ni ddaeth ystyriaethau a elwir yn rhai ariannol erioed ar draws ei feddwl, ac ni chafodd uchelgais balch erioed lety yn ei fynwes; ni feddyliodd am lesoli ei hunan, eithr eraill. Cafodd alwad, heb ei cheisio, heb ddylanwad yr un clîc, heb gâr na chyfaill i dynnu y gwifrau, o eglwys fawr ddinesig. Bu yn hir betruso ai nid oedd y cylch yn gyfryw ag y gallasai wneyd mwy o les, yn neillduol gyda'r ieuenctyd a flinid gan amheuon a themtasiynau, dros y rhai y gwaedai ei

galon. Ai nid ydoedd i raddau fel canwyll o dan lestr yn y Cwm? ac ai ni buasai cylch y dref yn gweddu yn well i'w alluoedd a'i ddefnyddioldeb? Nid aeth ymaith, fel amrai o'i frodyr, gyda'r alwad, i udganu o'i flaen, ac i ddanfon i'r newyddiaduron ei fod wedi ei chael. Cadwodd y peth yn ei galon. Bu yn hir yn gweddïo yn ddyfal am gael rhyw awgrym pa ffordd yr oedd "bys Duw" yn cyfeirio: o'r diwedd fe ddaeth mewn ffordd brydferth iawn. Rhyw ddechreunos galwodd yr hen Jeremiah Tomos, un o hen ddiaconiaid Horeb,—dyn tlawd, eithr dyn oedd yn ddigon o wr boneddig i beidio dweyd dim yn erbyn i'w weinidog wella ei hunan a'i amgylchiadau, ond un a fuasai yn rhoddi ei fywyd drosto a thros iddo aros yng Nghwm-y-ddwyfor. "Mae un peth yma na chewch mo'no yn eglwys y dref," ebe yr hen Jeremiah. "Beth yw hwnnw, Jeremiah?" meddai yntau. "*Fydd yno ddim pobl dlodion i chi.*" Dyna ben; yr oedd myned i eglwys heb bobl dlodion ynddi i'r Parch. Diwydfryd Jones yr un peth a myned i nefoedd heb yr un Iesu ynddi. Gynted ag yr aeth Jeremiah allan, nesäodd at ei ddesg, ysgrifennodd lythyr yn gwrthod yr alwad yn foesgar ac anrhydeddus. Yr ydoedd yn deall llysieuaeth a daeareg yn dda, a difyrai ei hunan yn fawr gyda'r enghreifftiau a gasglai yma a thraw ar hyd y llethrau. Carai unigedd yn fawr: a'i fwyniant pennaf, pan eisiau seibiant, oedd myned i fyny at ben y Dreiglwy i'r mynyddoedd i bysgota brithylliaid. Gofalai, er hynny, rhag i neb o'r rhai a gymerent dramgwydd oddiwrth hyn ei weled, a rhag i neb dybied ei fod yn ofera ei amser. Nid rhyw bysgotwr llwyddiannus iawn ydoedd: ond cofiai o hyd, wrth bysgota brithylliaid a dynion, am reol euraidd yr hen Isaac Walton, sef, *fod i'r pysgotwr guddio ei hunan.* Arweiniodd genedlaethau o blant ac ieuenctyd y Cwm i fywyd uwch; cyfarfyddir â niferi ohonynt mewn gwlad a thref, wedi cyrhaedd sefyllfaoedd pwysig mewn byd ac eglwys, yn dyddio eu cychwyniad i'r cyfeiriad a gawsent ganddo ef. Nid anghofiwn y rhawg weled dwy enethig fechan

yn wylo yn wynebau eu gilydd, wrth dalcen yr addoldy, ar ddydd ei angladd, mewn gormod galar i ymgymysgu â'r claddedigaeth! Yr oedd yn wir deyrngarol i'w enwad yn ei bethau uwchaf; ond ni bu erioed yn bwyllgorwr da, yn wifrwr cyfrwys, nac yn glymbleidiwr prysur: nis gellid ei wneyd yn aelod o glwb; am hynny nid oedd yn ei angladd nac aelod seneddol, na doctor duwinyddiaeth, nac archddiacon! Nis medrai gynffona, am hynny ni ddaeth i'w ran ond rhyw dameidiau bychain o swyddau unwaith neu ddwy yn ei oes: ac oherwydd na bu yn ddigon gwasaidd a diolchgar am y rhai hynny, cadwyd ef oddiwrth y gweddill. Nyni a welwn fod rhywrai yn dadolychu ei goffadwriaeth eu goreu, ac yn udganu ei glodydd, ar ol iddo farw, yng nghrealon ei enwad. Yr ydoedd wedi trwytho ei feddwl yn dda yn hanesiaeth a duwinyddiaeth oreu yr oesoedd, a chanddo yr ymddiried llwyraf yn y dyfodol. Nid ydoedd yn sur ei yspryd nac yn llwfr ei obeithion. Credai fod y dyfodol i gael ei lanw â gogoniant y Crist hwnnw a bregethid mor ffyddlon ganddo ef a rhai tebyg iddo. Credai fod yr Iesu wedi ei eni i fod yn frenin; a llenwid terfyngylch ei ddyfodol yntau gan ddisgleirdeb Ei deyrnas. Canfyddai genedlaethau dynolryw yn cael eu harwain ato drwy bob chwyldroadau crefyddol a gwleidyddol. Mawr ydoedd dros ryddid gwladol a chrefyddol: a dug bobl y Cwm, megis yn un gwr, i ffieiddio bob gormes, ac i adnabod yr egwyddorion gwleidyddol goreu,—a hynny heb bregethu *politics*, fel y cyfryw, iddynt. Y mae llawer o'i fath, o drugaredd: dyma obeithion crefydd Cymru. Dynion o'r *stamp* yma a bair iddi fyw lle bynnag y maent: llên a lleyg, gwreng a boneddig, brodor a pheriglor, y maent yn halen y ddaear. Dyma, ni a obeithiwn, weinidogion yr ugeinfed ganrif! Os rhaid claddu cyfundebau presennol Cymru, bydded felly; os rhaid llosgi pethau fel y maent yn lludw, nis anobeithiwn ddim; canys gwyddom y cyfyd, fel y Phœnix, o'u llwch a'u lludw, eu gwell yn eu lle. Hanes yr eglwys erioed a byth ydyw fod eglwysi

neillduol yn cyfodi ac yn dirywio, ac ereill yn cyfodi o'u lludw; eithr gwir grefydd yn gorfyw y cyfan. Y mae Crist a Christionogaeth bur i fyw byth; y mae y wir Sïon i oroesi pob adfeiliad: a dynion o'r fath yma a fyddant ymhob oes yn geidwaid ar ei muriau ac yn wyliedyddion i'w phalasau. Os rhaid i'r dinasoedd (mewn ystyr ysprydol) gael eu hanrheithio heb drigiannydd, a'r tai addoliad heb ddyn, a gwneuthur y wlad yn gwbl anghyfannedd, a bod ymadawiad mawr ynghanol y tir, eto credwn yn sicr y bydd cyfundebau crefyddol Cymru fel y llwyfen a'r dderwen, y rhai, wrth fwrw eu dail, y mae boncyff iddynt; a hwy a flagurant yn brennau cyfiawnder, yn blanhigion i'r Arglwydd, fel y gogonedder Ef. Ni chladdwyd y dydd o'r blaen namyn un o'r seithmil ffyddloniaid sydd yn Israel: y gliniau oll ni phlygasant i Baal. Ni chlywsom erioed eiriau prydferth Paul yn swnio yn well nag uwchben ei feddrod—"Am hynny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr, a diymod, a helaethion yng ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd." Y gwr da! y gweinidog ffyddlon—y mae dy wobr, meddwn ni, yn y nefoedd; —ac nid un fechan mohoni, ychwaith.

# MR. SPURGEON A'R PHILISTIAID.

YN y flwyddyn 1853, daeth dyn ieuanc i ddeheubarth dinas Llundain, yn weinidog i gynulleidfa fechan o Fedyddwyr. Yr oedd pwlpud y brifddinas, ar y pryd, wedi myned yn eiddil a llegach, a'r wasg yn bygwth cymylu ei ogoniant blaenorol. Darfu i ddyfodiad y gwr ieuanc hwn anadlu megis ail-fywyd i bregethu; cynyddodd yr eglwys yn gyflym dan ei ddwylaw, a daeth yn fuan yn bregethwr a elwid yn "boblogaidd." Ailadeiladwyd ei gapel, mewn lle newydd, a chyda thraul o dros £30,000: daeth, o'r diwedd, yn weinidog adnabyddus y *Metropolitan Tabernacle*, yn Llundain; ac yn adnabyddus drwy y deyrnas, a thrwy y byd Cristionogol, fel gweinidog o ddoniau nodedig, o gredo efengylaidd, ac o onestrwydd ac anhyblygrwydd heb fod yn ail i'r apostol Paul ei hunan. Fe'i dodir i lawr, bellach, gan bawb, fel un o brif ddylanwadau ein teyrnas. Dealla ein darllenwyr, yn ddiau, taw cyfeirio yr ydym at Charles Haddon Spurgeon.

Yn y cyhoeddiad misol a olygir ganddo, *Y Cleddyf a'r Drywel*—cyhoeddiad rhagorol, gyda llaw,—y mae ef, a rhai o'r un argyhoeddiadau ag ef ar y mater hwn, wedi cyhoeddi, y flwyddyn hon (1887), gyfres o erthyglau o dan y teitl, "Y Gwyriad i Lawr" *(The Downgrade)*, sydd yn fath o brotest dros Buritaniaeth, mewn cred a buchedd, ac yn cyhuddo Cristionogion y dyddiau hyn, lawer o honynt, yn wŷr llen a gwŷr llëyg, o fod yn ymado oddiwrth y ffydd. Y mae yr achwyniad yn un difrifol: ac fe'i gwneir gyda dwysder teimlad sydd yn gweddu i ddifrifwch y sefyllfa, os ydyw hyn yn wirionedd. Gesyd yn siars holl enwadau crefyddol y deyrnas fod eu tôn grefyddol yn iselhau; ond cyfeiria

at rai o'r cyfundebau crefyddol mewn modd neillduol: ac yn ddiweddaf oll, ysgrifennodd Mr. Spurgeon, y dydd o'r blaen, at Ysgrifennydd Undeb y Bedyddwyr, ei fod yn ymneillduo yn ffurfiol o'r Undeb. Nid ymneillduo, dealler, oddiwrth y Bedyddwyr, eithr oddiwrth *Undeb* y Bedyddwyr. Nid ydyw hyn yn ei wneyd yn llai Bedyddiwr nag o'r blaen; myn efe mai purach a gwell ydyw: ac os ydyw pethau fel y dywed efe eu bod, diau fod ei ymneillduad yn wers ac yn esiampl nas gellir myned heibio iddi yn ddisylw.

Ymffurfia yr hyn a ddywed efe i ddwy ran, sef, fod gwyriad athrawiaethol mawr wedi dechreu, ac hefyd, fel canlyniad i hynny, fod llacrwydd mewn buchedd yn cymeryd lle. Fel y canlyn yr ysgrifennai yn y *Sword and Trowel*, am fis Awst diweddaf:—

Ein hargyhoeddiad dyfnaf ni ydyw fod pethau lawer yn waeth mewn llawer o eglwysi nag y maent yn ymddangos, ac yn prysur fyned i waered. Darllenner y newyddiaduron hynny sydd yn cynrychioli Ysgol Lydan Ymneillduaeth, a gofynnwch i chwi eich hunain, Pa faint ymhellach y gallant fyned? Pa athrawiaeth sydd yn aros i'w thaflu dros y bwrdd? Pa wirionedd sydd eto i'w gael i fod yn destyn gwawd? Y mae crefydd newydd wedi dechreu, yr hon nid ydyw yn fwy tebyg i Gristionogaeth nag ydyw *chalk* i gaws; yr hon, wedi ei hamddifadu o onestrwydd cyffredin, a gymer arni mai yr hen grefydd, gyda gwelliantau, ydyw, ac, ar sail hynyma, a drawsfeddianna bwlpudau a gyfodwyd i bregethu yr efengyl ynddynt. Gwawdir athrawiaeth yr Iawn; chwerddir am ben ysprydoliaeth yr Ysgrythyrau; darostyngir yr Yspryd Glan i fod yn ddim ond dylanwad yn unig, cospedigaeth pechod i fod yn ffug, yr adyfodiad i fod yn chwedl: ac eto fe ddisgwyl y gelynion hyn i'n ffydd i ni eu galw yn frodyr, ac i ni ymgyfathrachu â hwynt.

Ar sawdl y geudeb athrawiaethol hwn daw dirywiad naturiol mewn bywyd ysprydol, yr hyn a brofir gan chwaeth at ddifyrion amheus, a diflasdod at gyfarfodydd defosiynol. Mewn cyfarfod neillduol o weinidogion a swyddogion eglwysig, yn ddiweddar, amheuai y naill ar ol y llall o honynt werth cyfarfodydd gweddïau; cyffesai pob un taw ychydig iawn oedd yn dyfod iddynt; a chyfaddefai amryw, heb yr aeth lleiaf, ddarfod iddynt hwy eu rhoddi i fyny. . . . . . Am ddifyrion amheus; bu amser pan y byddai i weinidog Ymneilldoul, y deallid ei fod yn myned i'r chwareudy, gael ei hunan yn fuan heb yr un eglwys. Ac y mae hynny yn ei le hefyd; canys nis gall y dyn a adnabyddir fel mynychwr y chwareudai ennill ym-

ddiried byd yn oed y dynion mwyaf bydol, ond am ychydig iawn o amser. Eto y mae yn hysbys yn awr fod pregethwyr, nid anenwog, yn amddiffyn y chwareudai, a hynny am eu bod yn eu mynychu eu hunain. A ydyw yn unrhyw syndod, ynte, fod aelodau eglwysig yn anghofio addunedau eu hymgysegriad, ac yn cydredeg gyda'r annuwiol ar hyd llwybrau gwagedd, pan y deallont fod dynion yn cael eu goddef yn y weinidogaeth yn gwneuthur yr un peth? . . . . Y ffaith ydyw y buasai llawer yn hoffi gallu uno yr eglwys â'r chwareudy, y cardiau â'r gweddïau, y dawnsiau â'r sacramentau.

Gwelir fod y rhai hyn yn eiriau cryfion iawn. Mewn amryw ysgrifau olynol, wedi eu hysgrifennu yn null-iaith rymus Mr. Spurgeon, gyda geiriau o darddiad Sacsonaidd, byrion a dealladwy, gesyd ei syniadau o flaen y wlad mewn modd nas gellir eu camgymeryd. Ei arfer ef bob amser ydyw galw pâl yn bâl; ac nid cwmpasu, drwy ei galw yn offeryn i drin y ddaear. Dywed yn bendant fod gweinidogaeth rhai pregethwyr yn creu amheuwyr; fod rhai y drws nesaf i fod yn Undodwyr, os nad ydynt felly yn barod: ac nad ydynt yn pregethu dim ond a ellid ei glywed unrhyw ddiwrnod o bwlpud Undodaidd. Ac eto caiff y dynion hyn eu bara drwy bregethu gydag enwadau sydd yn honni dal allan y gwirionedd fod Iesu o Nazareth yn Fab Duw. Haera efe fod hanesiaeth yn myned i ailadrodd ei hunan: y bydd raid i ryw ymweithiad crefyddol grymus gyfodi eto, megis yn nyddiau Whitfield a Wesley, er cadw yn fyw fywyd ysprydol Anghydffurfiaeth. Hona Mr. Spurgeon ei fod yn meddu profion anwadadwy o wirionedd yr haeriadau hyn; ac y mae ei gymeriad adnabyddus am eirwiredd a gonestrwydd, ac, yn neillduol, tôn yr ysgrifau hyn, yn myned ymhell i brofi hynny. Fel y gallesid disgwyl, y mae wedi gwneyd y byd crefyddol yn ferw gwyllt drwyddo; ac yn neillduol yr enwad y perthyn efe iddo. Myn rhai ei fod yn eithafol, nad ydyw pethau hanner can waethed ag y desgrifia efe hwynt. Aiff rhai belled ag edliw iddo ei afiechyd, a'i fod wedi ysgrifennu y pethau uchod mewn egwyl o wendid corfforol. Gwir fod yn bur hawdd cymeryd dau olwg wahanol ar

gyfundeb, cyfnod, neu gyfandir, yn ol y safleoedd a gymerir, neu yn ol tymher feddyliol yr edrychwyr. Cynhennid, mae'n ddiau, ydyw i ddyn ganfod mwy o frychau yn ei amser ei hun nag unrhyw amserau eraill. Cawn engraipht o hynny yn ddiweddar. Paentiodd y Bardd Breninol, Arglwydd Tennyson, y cyfnod presennol yn y lliwiau tywyllaf, yn ddiweddar, yn ei *Locksley Hall: Sixty Years after;* ond darfu i un arall o feibion y ganrif hon, ac un o'r rhai mwyaf ohonynt, Mr. Gladstone, mewn atebiad iddo, ei baentio gyda holl liwiau gobaith a chynnydd. Llefara un â'i wyneb at y gorllewin—at fachlud haul; a'r llall â'i wyneb i'r dwyrain, gyda holl obeithion "toriad y dydd." Ond y mae Spurgeon, o ran naws feddyliol, heb fod yn agored i unrhyw eithafion fel hyn. Ystyrir ef bob amser yn un o'r rhai addfetaf ei farn, a chryfaf ei synwyr cyffredin. Nid oes gennym ni, mwy na llawer eraill, nemawr o gydymdeimlad â'i gredo; ond y mae ei gysondeb, ei onestrwydd, a'i ddiamwysedd, wedi ennill ein parch diledryw. Yr ydym yn dweyd, yn y fan hon, er rhagflaenu unrhyw gamddealltwriaeth, taw oddiar *safle lenyddol yn unig* yr edrychwn ni ar yr holl gwestiwn. Llenorion ydym ni, ac i gyhoeddiad llenyddol yr ysgrifennwn: felly, i ni, nid cwestiwn o bwnc ydyw, eithr cwestiwn o ffaith. Pe buasem dduwinyddion, ceisiasem olrhain y pynciau, gan nad pa un ai pump ai ychwaneg ohonynt fuasai yn y cwestiwn: ond nid ydym namyn llenorion moelion. Nid oes i ni unrhyw ddyddordeb mewn na "chyffes" na "chredo" neillduol, mewn nac "urdd" nac "undeb;" eithr honnwn, oddiar dir llenoriaeth yn unig, y dylai cyhoeddiad fel *Y Geninen* dalu sylw i fater sydd wedi tynnu sylw y deyrnas, ag sydd yn debyg o fod yn un o'r dylanwadau cryfaf er adffurfio rhai o'r credöau, a chadarnhau neu chwalu rhai o'r "undebau."

Drwy yr holl drafodaeth rhed un linnell bur amlwg, sef, fod yr holl ddifrifwch, yn y mater hwn, o du Mr. Spurgeon, a'r gwawd a'r ysgafnder o du ei wrthwynebwyr. Drwg gennym orfod ysgrifennu geiriau mor gryf-

ion; eithr felly yn ddilys y mae. Argoel gref iawn i ni fod gwirionedd yng nghyhuddiadau Mr. Spurgeon ydyw, fod ei wrthwynebwyr, tra y mae efe mor ddifrifddwys—yn angerddol felly, yn y mater, yn gallu pasio y peth fel ysmaldod. Gwir nad felly yr edrych Undeb y Bedyddwyr arno; ond felly y ceir y rhan amlaf o'r rhai sydd yn ysgrifennu yn erbyn Mr. Spurgeon yn gwneyd. Dynion a allant gellwair gyda chyhuddiadau o'r fath yma, gallant, hefyd, a dweyd y lleiaf, fwhwman gydag athrawiaeth. Na; nid math o wrhewcri direidus mohono i Mr. Spurgeon, eithr pwnc bywyd. Yn un o'i ysgrifau dywed, gyda grym neillduol, ei fod wedi bod ar ymylon gwallgofrwydd, pan yn myned drwy yr hyn a elwir gan ysgrifenwyr efengylaidd yn "argyhoeddiad;" ac iddo gael cipdrem ar ei fywyd, drwy gredu nifer o wirioneddau am Berson neillduol, a chael gobaith am arbediad yn y Person Dwyfol hwnnw. "A wel rhywun fai arnaf, ynte," gofyna, gydag angerddoldeb mawr, "am lynu wrth y gwirioneddau hynny, fel y gragen wrth y graig?" Amlwg ei fod wedi gwystlo ei fywyd wrth y rhai hyn. Pan nad ydym ond edrychwyr yn unig, yr ydym yn edmygu ei onestrwydd, ei anrhydedd, a'i ddifrifwch. Y mae yr elfen ddiweddaf hon yn eisiau yn ei wrthwynebwyr. Cyfymliw rhai ohonynt âg ef ei fod yn myned yn hen, a'i fod yn methu canlyn y flaenfyddin, ac awgrymant taw yn nirdyniadau y gymalwst yr ysgrifennodd efe y llithoedd hyn i'r *Cleddyf a'r Drywel.* Buasem yn disgwyl boneddigeiddiach pethau oddiwrth Gristionogion. Aiff hyn ymhell i brofi taw gwir y cyhuddiadau; canys, fel y dywaid Mr. Spurgeon, y mae y dduwinyddiaeth newydd, nid yn unig yn dwyn athrawiaethau amryw a dieithr, eithr hefyd gyfundrefn newydd o foesau, a naws yspryd hollol wahanol i ddim a gydnabyddid yn flaenorol. Yr ydym yn rhyw aruthr wybod pa beth ydyw rheolau moesau da, ymysg llenorion: disgwyliasem, bid sicr, gael pethau llawer gwell na hyn ymhlith rhai o weinidogion crefydd. Mewn gair, nid oes neb wedi ceisio ateb y cyhuddiadau, namyn

amheu bodolaeth y drwg. Sieryd amrai gyda thôn lawer yn rhy ysgafn am y peth. Gwaeddir am gael enwau personau euog; ac, ar yr un pryd, anghymeradwyir dwyn pethau personol i'r ddadl. Ag edrych ar y peth o safle lenyddol yn unig, y mae y dull y cyfarfyddir â'r cyhuddiad o fod dirywiad ysprydol, a chynydd bydolrwydd, yn yr eglwysi, yn gloff neillduol. Lleferir am y cyfarfodydd gweddïau yn ddidaro, a bron yn ddiraddiol; a honir na ddylai bywyd crefyddol gael ei roddi i ddibynnu ar amledd na maint y cyfarfodydd hyn. Nid ydym ni, nyni a rwydd addefwn, yn gwybod nemawr ddim am danynt; ond byddem ni yn arfer meddwl fod y cyfarfodydd gweddïau yn cael eu hystyried, gan dduwiolion yr hen ffasiwn, y pethau mwyaf bywydol a berthynai i grefydd. Nid felly, fodd bynnag, y tybia boneddigion y grefydd newydd. Ac am y cyhuddiad o fynychu y chwareudai, sonir cryn lawer am y *Ddrama* fel rhan o gampwaith celfyddyd, ac am *actio* fel un o'r celfau cain. Mae hyn yn burion pan yn dyfod oddiwrth ddynion y byd; fel hyn y byddwn ni yn llefaru am danynt: ond oddiar safle crefydd, nid ydyw amgen na baldordd. Am danom ni, yn nhafodiaeth y byd y byddwn yn siarad, ac yn null y byd y byddwn yn meddwl, ac felly y byddwn ni yn arfer edrych ar y chwareudy a'i waith; eithr y mae clywed dynion sydd yn honni nad ydynt yn "caru y byd, na'r pethau sydd yn y byd," yn llefaru fel hyn, yn eithafion gwrthuni.

Am waith Mr. Spurgeon yn gadael Undeb y Bedyddwyr, nid ydym yn bwriadu dweyd nemawr, gan nad ydyw yn perthyn i'n tiriogaeth o gwbl. Yn unig dywedwn hyn, ei fod yr enghraifft uwchaf o onestrwydd a welsom ni er's llawer blwyddyn hir. Gwneir, ni dybiem, ormod o drwst yn ei gylch. Paham na adewir iddo lonydd i ymgilio fel y myn? Hyd ag yr ydym ni yn deall, nid ydyw undeb ffurfiol, rhwng nifer o eglwysi pennodol, o gwbl yn rhan fywydol o ffurflywodraeth eglwysig y Bedyddwyr, mwy na'r Annibynwyr. Mater o gyfleustra, a dim arall, ydyw; a chan taw cyfleustra

ydyw, y mae yn hawdd iddo fyned yn anhawstra. I ba raddau y mae yr hyn a ddywedai y Parch. T. T. Lynch, gynt, am undebau, yn wir, nis gwyddom. Hyn a wyddom, na chyhudda neb arwr y *Rivulet Controversy* o fod yn un o'r brodyr culion yn ddiau. Darluniai efe "undebau"—undebau cyfleustra, yn debyg i'r creadur rhyfedd a welir, weithiau, mewn rhai amgueddfäu *(museums)*, cynnyrch, dybygid, un o branciau natur—y llygoden freninol *(king-rat)*. Brawdoliaeth gymdeithasgar dros ben, gellid meddwl, ydyw y llygod; ac wrth ymrwbio yn eu gilydd, fe lŷn, weithiau, eu cynffonau ynghyd, hyd oni bydd tuag ugain llygoden yn fynych yn gwneyd un llygoden freninol. Felly tra y bydd eu pennau yn gyfeiriedig at bedwar pwynt y nefoedd, bydd eu cynffonau yn un! Nid rhaid esbonio mo'r ddameg. Na feier mo'nom ni oherwydd y ffugr; ond ymddengys, erbyn hyn, mai undeb cynffonau ydoedd yr undeb yr ymneillduodd Mr. Spurgeon allan ohono. Nid oes unrhyw athrawiaethau neillduol yn waelod iddo; eithr y mae yn dybiedig ei fod yn cael ei wneyd i fyny o ddynion ydynt yn derbyn ac yn credu y gwirioneddau efengylaidd a goleddir yn gyffredin gan enwad y Bedyddwyr, ac i gyd yn fedyddiedig trwy drochiad, ac yn credu yn hwnnw fel yr unig ddull gwirioneddol o fedyddio. Credwn y cawsai Mr. Spurgeon fwy o gydymdeimlad, yn enwedig gan rai o'i frodyr o'i enwad ei hun, yn Lloegr a Chymru, oni bae fod rhyw sawyr ar ei ymddygiad ei fod yn prisio gwirioneddau eraill *mor* uchel, os nad yn uwch, na bedydd drwy drochiad. Amlwg yw ei fod am gael ei ystyried yn Gristion uniongred yn gyntaf, yna yn Fedyddiwr yn ail. Maddeuer i ni, bublicanod llenyddol, am sangu ar dir mor gysegredig; eithr fel hyn y dywaid y gwr ei hun, wrth ysgrifennu, i roddi ei le i fyny, at Ysgrifennydd Undeb y Bedyddwyr:—

ANWYL GYFAILL,—Dymunaf eich hysbysu, fel Ysgrifennydd Undeb y Bedyddwyr, y rhaid i mi ymneillduo o'r gymdeithas. Yr ydwyf yn gwneyd hyn gyda'r gofid dwysaf; ond y mae arnaf

orfod. Cewch weled fy rhesymau yn *Y Cleddyf a'r Drywel* am fis Tachwedd; felly chwi'm hesgusodwch yn peidio a'u hail-adrodd yma. Dymunaf arnoch beidio danfon neb ataf i geisio gennyf ail-ystyried. Ofnwyf fy mod wedi ystyried yn rhy hir yn barod: yn sicr y mae pob awr o'r dydd yn argraphu yn ddyfnach arnaf, nad ydwyf yn symud fymryn yn rhy fuan.

Dymunaf ychwanegu nad oes unrhyw deimlad personol, na drwgdeimlad, yn y mesur lleiaf, yn peri i mi weithredu fel hyn. Yn bersonol derbyniais fwy o barch nag a haeddwyf. Ar y tir uwchaf, yn unig, yr ydwyf yn cymeryd y cam hwn; a gwyddoch i mi ymarhöi yn hir, gan ddisgwyl pethau gwell.—Yr eiddoch yn galonnog,

C. H. SPURGEON.

*Hyd 28ain, 1887.*

Y sylwadau y cyfeiria atynt, yn y misolyn a olygir ganddo, ydynt, rai ohonynt, fel y canlyn:—

Yr ydym ni yn ymneillduo yn benderfynol, ac ar unwaith, o Undeb y Bedyddwyr. Mae pob un o eglwysi y Bedyddwyr yn hunan-gynwysedig ac annibynnol. Nid ydyw Undeb y Bedyddwyr namyn cydgasgliad gwirfoddol o'r cyfryw eglwysi; a mater syml iawn ydyw i eglwys neu berson ymgilio ohono. Nid oes gan Yr Undeb, fel ei cyfansoddir yn bresennol, unrhyw allu disgyblaethol o gwbl, oherwydd nad oes ganddo unrhyw seiliau athrawiaethol; ac yn ol dim a welwn ni, gall gynnwys unrhyw ffurf o grediniaeth neu anghrediniaeth, cyhyd ag y cydnabyddir trochiad yr unig ffurf o fedydd. Nid gwiw beio Yr Undeb am lochesu y cyfeiliornadau mwyaf eithafol; canys hyd ag y gwelwn ni, nis gall helpio ei hunan, pe yn wir yr ewyllysiai wneyd hynny. Darfu i'r rhai a'i sefydlasant, ar y cyntaf, ei wneuthur "yn afluniaidd a gwag;" ac felly y rhaid iddo aros; o leiaf, nis gallwn ni weled unrhyw argoel o gyfnewidiad. Edmyga llawer yr ystâd hon ar bethau, ac ânt ymlaen gydag ef; nid oes gennym ni mo'r edmygedd hwnnw, ac am hynny yr ydym wedi darfod âg ef. Ond y mae arnom eisiau i'r rhai oddiallan ddeall nad ydym wedi cyfnewid, mewn un modd, yn ein credo nac yn ein sefyllfa, yn ein perthynas â'n henwad. Fel crediniwr bedyddiedig, arhoswn yn yr un man ag y buom bob amser.

Dyma amlinelliad brysiog—brysiog iawn, o'r hanes hwn: helynt flin ydyw, eithr credwn y daw daioni ohoni. Am ei ymadawiad ynddo ei hunan, yr achosion ohono, yr effeithiau a ddilyn, &c., ni ruswn ni ddyweyd dim—nid ydyw o fewn ein diben o gwbl. Ag un arwedd arno yn unig y mae a fynnom ni, sef, gwroldeb y gwr a

feiddiodd dorri y llwybr hwn iddo ei hunan. Amheuthyn mawr ydyw cael y fath ddiysgogrwydd tros gred, a gwroldeb gonest i weithredu oddiar hynny. Groesaw, groesaw, ychydig o hunanymwadiad er mwyn gwirionedd, yn y dyddiau clauar hyn: clywn lawer o'i bregethu, ond y mae owns o hunanaberth mewn gweithrediad yn drymach na thunnell ohono mewn siarad. Paham na chaffai y dyn lonydd i ymgilio yn ddistaw, nis gwyddom. Dywed yn amlwg nad oes arno eisiau ond ymneillduo yn ddidrwst; a phe buasai yn llai ei allu a'i ddylanwad, diau y cawsai hynny. Pe buasai yn rhywun arall, ac nid yn Charles Haddon Spurgeon, cawsai adael Undeb y Bedyddwyr heb feallai ond paragraph mewn newyddiadur. Efe, fodd bynnag, ar hyn o bryd, ydyw arwr yr adeg; a hir y parhao i fod yn ddigon gonest fel ag i'w bregethu, ei gredu, a'i weithredu, gydredeg a'u gilydd. Hyn ydyw un o reidiau yr amser hwn.

Hir, hir, y buom yn tynnu at ein testyn, sef, Pa beth yw hanes Cymru yn ei pherthynas â'r gwyriad yma i'r goriwaered? Credwn fod hon yn bennod sydd eisiau ei hysgrifennu: ond nid ydym yn proffesu fod gennym ni y cymhwysderau angenrheidiol i hynny. Heblaw hynny, nid oes gennym na hawnt na hamdden, pe buasai allu. Dylai y bennod hon gael ei hysgrifennu, a hynny gyda brys, oddiar safle duwinyddiaeth. Nid ydym ni yn troi ymysg credoau nac athrawiaethau; nis gallwn bwyntio allan ffiniau y Gyffes Galfinaidd nac Arminaidd. Ddysgediced a chywreinied ydoedd ysgrifenwyr y "Pahamau," yn *Y Geninen*, fel y synnwyd ni yn ddirfawr ganddynt. Edrychwyr, a dim arall, ydym ni yn y gornestau duwinyddol mawrion hyn. Nid ydym yn gosod ein hunain allan yn rheithwyr cred o gwbl: ac ni chyffyrddwn â duwinyddiaeth, er y byddwn yn sangu ar ei chyffiniau. Mae ergyd ac amcan yr ysgrif hon yn llawer mwy ymarferol. Os gwelwn ddyn yn byw ar fara enwad, tra yn pregethu athrawiaethau sydd yn myned dan wraidd yr enwad hwnnw, bydded gan y cyfryw

enwad gyffes ffydd neu beidio, dywedwn nad oes eisiau bod yn dduwinydd i ddweyd fod y dyn hwnnw yn anonest. Os gwelwn Gristion yn honni bod yn un o ganlynwyr yr Iesu, ac eto yn byw "dan egwyddorion y byd," nid arhoswn nes bod yn athronwyr cyn gallu dweyd fod y cyfryw yn rhagrithiwr, os nad yn rhywbeth gwaeth. Yr ydym yn rhwydd-addef nad ydyw cwrs ein bywyd ni yr un mwyaf manteisiol i ysgrifennu ar y pwnc sydd gennym mewn llaw yn awr: a hoffem i'r darllennydd ddeall yr ysgrif hon fel llais oddiwrth un o ddynion y byd, fel pe tae. Hwyrach y bydd yn rhyw fantais weithiau i bobl y pwlpudau, a'r meinciau blaenaf, ddeall beth ydyw lleferydd y meinciau cefn. Ar hyd y chwe' diwrnod, byddwn ni yn ymdroi gyda chwestiynau bydol, yna ar dduwsul byddwn yn myned i'r addoldy—y llan neu'r capel—er cael twymno tipyn ar ein calonnau. Mynych, mynych, y bydd y siwrnai yn troi allan yn un seithug. Ar yr un pryd, yr ydym yn cwbl gredu fod mwy o bregethu da, melus, ac "efengylaidd," fel ei gelwir, yng Nghymru, ymysg Cydffurfwyr ac Anghydffurfwyr, nag odid i wlad, o'i maint, o fewn Cred. Mae corff y genedl hefyd heb golli o afaelion y dylanwadau y gellir eu galw yn ddylanwadau crefyddol. Ond i ni, sydd heb fod yn edrych ar hyn drwy wydrau unrhyw enwad, nac o fewn terfynau unrhyw gred neillduol, y mae prawfion fod llacrwydd, anghysondeb, a math o anonestrwydd, yn bod, sydd yn peri fod dynion yn pregethu fel hyn, ac yn credu fel arall; dynion yn proffesu dilyn y Nazaread Dwyfol, ac eto heb gael eu meddiannu o gwbl gan yspryd Ei grefydd. Yr ydym wedi gorfod gofyn i ni ein hunain, lawer gwaith, A ydyw Cristionogaeth ddiweddar, mewn difrif, yn rhywbeth amgen na Phaganiaeth wareiddiedig? A dweyd y gwir, prinion iawn ydyw y rhinweddau a elwir yn Gristionogol, y dyddiau hyn. Y pethau a elwir gan y Cenedloedd yn rhinweddau—caru y sawl a'n carant ninnau, byw yn sobr, yn gyfiawn, a duwiol oddiar hunanles,—gofalu am yr

hunan anwyl, o fewn terfynau y Deng Air Deddf, os gellir,—os nad ellir, torer y ddeddf, eithr gofaler am y "ffigiwr un,"—ceir y rhai hyn, mae'n wir, ond nid rhinweddau y grefydd Gristionogol mohonynt. Ai nid oedd Iesu o Nazareth yn tynnu y byd yn ei ben? Pa Gristion sydd yn tynnu y byd yn ei ben yn awr? yn hytrach, y mae llawer yn byw yn gytûn âg ef, ac yn talu y dreth iddo. Gellir gweled saint yn benben â'u gilydd, unrhyw ddiwrnod; a saint enwog na siaradant â'u gilydd am flynyddoedd! Pa le y mae y Phariseaid a'r Saduceaid yn awr? ai nid yn yr eglwysi Cristionogol, ac nid, lle y dylent fod, allan o dan gawod o waeau? Cristionogion yr esmwythfeinciau, duwiolion y menyg mwythlyfn, a saint y seigiau melus, ydynt mor lliosog ag ednod haf: ond pa le y mae pobl y croesau, y beichiau, a'r gwrolderau! Yr oedd rhai felly er ystalwm. Darllenasom mewn Hen Lyfr am "wragedd yn derbyn eu meirw drwy adgyfodiad, eraill yn cael eu dirdynnu heb dderbyn ymwared, ac eraill a gawsant brofedigaeth drwy watwar a fflangellau, ïe, trwy rwymau hefyd a charchar." Derllyn hyn yn rhyfedd yn ymyl ochr hanes gwragedd y pentref ag yr ydym ni yn byw ynddo, y dyddiau hyn, y rhai y mae rhy fychan o arwriaeth ynddynt i ddyfod i lan na chapel ar foreu Sul! Erys gwraig Gristionogol y bwthyn adref i wneyd ciniaw i'r gwr, a defnyddiau y ciniaw yn fynych heb dalu am danynt; erys boneddiges Gristionogol y palas adref i ymgreinio yn ei gwely, ac i ddarllen nofelau! Sonir am "rwymau hefyd a charchar:" y *mae* dynion yn y carcharau yn awr; ond nid oherwydd daioni, eithr am ddyledion a thriciau! Pe buasai y swyddogion eglwysig, ysywaeth, sydd yng ngharcharau Cymru, a'i chyffiniau, ynghyd a'r rhai a *ddylasai* fod yng ngharchar, oll gyda'u gilydd, gwnaethent gymanfa liosog, gan gynnwys ynddi gynrychiolwyr o gyfarfodydd llëygol yr Eglwys, hyd at gyrddau chwarterol, taleithiol, a misol, y gwahanol enwadau! Son am ddioddef yn wir! nid oes neb a ddioddef ychydig o ddisgyblaeth eglwysig ysgafn yn

awr. Pan y'u herlidir o un ddinas, fföant i un arall; pan y'u ceryddir yn y capel, fföant i'r llan. Y mae merthyron yn brinion, a'r yspryd yn amheuthyn. Pan y byddwn yn chwenychu gweled yr yspryd hwn, byddwn yn syllu ar ddarlun y Ffrancwr, G. Dore, o'r "Merthyron Cristionogol," neu yn troi dalennau *Merthyrdraith* yr hen John Foxe. Gwell ei gael ar bapyr na bod heb ei weled o gwbl. Er hynny, nid ydyw daioni a mwyniant eto wedi dyfod yn hollol gyfystyr: gelwid y Bod mwyaf perffaith a sangodd bridd y blaned hon erioed yn Wr gofidiau. Meiddiai Efe, wrth gwrs, redeg yn y gwddf i syniadau yr oes, a gwnaeth Ei Hunan yn ammhoblogaidd. Nid ydoedd Ef yn "bregethwr poblogaidd" o gwbl: a rheswm da paham, oblegid diosgai bob math o ragrith ac anghysondeb o bob esgus a gorchudd. Hoffem weled esboniad ar y peth a alwai Efe, a'i apostolion, yn "fyd," yn y llyfr a elwir *Y Testament* Newydd. Yn y llyfr hwnnw ceir geiriau fel y canlyn: "Os yw y byd yn eich cashau chwi!" "Cashau:" dim yn debyg i gashau: y mae y byd ar y telerau goreu â saint y dyddiau hyn. Gwahodd y byd hwynt i'w wleddoedd, i'w ddawnsfäoedd, ei chwareudai, a'i helwriaethau. Oni welsom ni Gristion, yr haf diweddaf, yn un o iechydfäoedd Cymru, yn chwareu cardiau gyda'r byd. Ha, cofiem o hyd, wrth ei weled, am yr hen ddiareb, fod yn rhaid i'r neb a fynno wledda gyda'r diafol wrth lwy â choes hir iddi. Yn yr un llyfr, drachefn, ceir geiriau fel hyn: "Na cherwch y byd, na'r pethau sydd yn y byd." "Caru y byd:" tyner ymaith y gair "na," a bydd yn ddesgrifiad cywir o aml un y dyddiau hyn. Onid yw "chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd," o'r byd? a dyma y pethau yr ymgreinia llawer ynddynt yn yr amserau hyn.

Ac nid ydym ni yn deall fod gan unrhyw blaid grefyddol garreg i'w thaflu at y llall yn y pethau hyn: nid ydyw namyn chwech o un, a hanner dwsin o un arall. Crechwenai papyrau Eglwysig y dalaeth, yn ddiweddar, fel rhai wedi cael ysglyfaeth lawer, uwchben amgylch-

iad neu ddau, lle yr oedd blaenoriaid Ymneillduol wedi eu cymeryd i fyny am anonestrwydd masnachol; ac ysgrifenwyd pethau bryntion ar y mater. Prin yr oedd yr inc wedi sychu, cyn bod son, led-led y wlad, fod dyn a ddaliai swydd yn yr Eglwys blwyfol wedi ei gymeryd i fyny am yspeilio y tlodion o'u helusen blwyfol! Am yr Eglwys Wladol, y mae pawb yn gwybod ei hanes hi. Efelycha ei hesgobion hi Gristionogaeth y *Testament Newydd* trwy fyw ar bedair-mil-a-hanner o bunnau yn y flwyddyn! Bugeiliant braidd Duw, gan ddysgu iddynt hunanymwadiad, drwy fyw mewn palasau, yng Nghymru a Llundain bob yn ail! Olyna ei chanoniaid a'i changellwyr hi Grist a'i apostolion, drwy fyw, gan mwyaf, ar segur-swyddau. Pregetha ei phersoniaid a'i hoffeiriaid hi hunanaberthiad drwy werthu amaethwyr Cymru i fyny am ddegwm. Am gredo yr Eglwys, nid oes llawer i'w ddywedyd. Gellir dywedyd am dani yng Nghymru, yn awr, fel y dywedodd ysgrifennydd galluog am dani, yn Lloegr, yn union ar ol pasiad Deddf Unffurfiaeth: "Fod ganddi ffurfwasanaeth Pabaidd, credo Calfinaidd, a gweinidogion Arminaidd." Nid ar bregethu, bid a fynno, y mae hi yn byw. Yr unig beth ellir ddywedyd am bregethu y ciwrad â'r Cymraeg carpiog, ydyw, ei fod yn *oddefol;* mor oddefol y gallai fod wrthi am byth cyn yr achubai wybedyn bach! Eithr ar bregethu y mae yr enwadau Ymneillduol yng Nghymru wedi byw; ac os ydynt i fyw eto, rhaid iddynt fyw ar nerth eu pwlpudau. Y mae y doraeth fawr o'u pregethu yn dda, ïe, yn dda iawn; ond dyry yr udgorn, mewn rhai mannau, sain anhynod. Yn ol fel yr ydym ni yn deall yr hyn a elwir yn Efengyl, pregethir pregethau mewn rhai o'r pwlpudau Ymneillduol mor ddi-Grist, fel nad oes ynddynt ddigon o efengyl i achub llygoden! Ni wyddir ar glawr daiar, yn fynych, pa un ai Undodwr ai Triundodwr fydd y pregethwr. Desgrifir pob peth yn cael ei wneyd *yn* y dyn, ac, yn ol pob golwg i ni, *gan* y dyn, heb son yr un gair, Sul yn y flwyddyn, fod dim wedi ei wneyd *dros* y dyn gan Rywun Mawr, a

bod hynny yn sail a defnydd yr hyn a wneir ynddo. Dyma efengyl rhywrai y dyddiau hyn: ond yn ddilys ddiameu nid hon mo'r efengyl a bregethai y tadau pan roisant Gymru ar dân. Sonir llawer yn awr, o'r pwlpudau, am "ddyrchafu dyn;" ond sonir am dano fel brawddeg gyfleus cyfarfod llenyddol, neu fel arwyddair rhyw gyfundrefn o athroniaeth, yn fwy nag fel diben yr efengyl, yr hwn a gyrhaeddir ganddi yn ei ffordd ei hun. Ei ffordd hi o ddyrchafu dyn, onide, ydyw drwy ei ddarostwng ynddo ei hunan a'i ddyrchafu drwy Un arall. Sicr ydym i ni glywed llawer o bregethau yn ddiweddar a ddangosent lawer o ryw fath o allu ac ysgolheigdod; ond a ddangosent yn amlwg nad ydoedd y pregethwyr a'u pregethent wedi deall yr efengyl yn y fath fodd fel ag i'w chyflwyno o flaen cynulliad o bechaduriaid fel trefn i'w hachub. Clywsom ddeffinio'r efengyl o bwlpud, y dydd o'r blaen, fel cyfundrefn "i helpio dyn i fyw ar uchelfannau ei fodolaeth." Gallasai hyn weddu fel deffiniad o unrhyw gyfundrefn athronyddol neu lenyddol: nid oes ynddo, dybygem ni, ddim o nodweddion neillduol yr efengyl. Y gamp fawr i ddyn, sydd yn bechadur yn y dyfnder, ydyw cael cyhoeddiad o drefn i'w godi o'r dyfnder i fyny i "uchelfannau ei fodolaeth;" ac y mae yr un drefn, yn ol fel y deallwn ni hi, yn cynnwys darpariaeth i'w alluogi i fyw ar yr uchelfannau hynny wedi eu cyrhaedd. Ond y mae efengyl "y dyrchafu dyn" yn burion efengyl oddiwrth foneddigion sydd yn gwadu cwymp dyn a phechod gwreiddiol; hynny ydyw, yn esgeuluso eu pregethu o'r pwlpudau, ac yn eu gwadu yn y conglau! Am y rhai sydd yn ymffrostio nad oes ganddynt gredoau, ac nad ydynt yn rhwym i unrhyw athrawiaethau neillduol, y maent hwy fel yr asen wyllt wedi cynefino â'r anialwch. Ond disgwyliasem bethau gwahanol o gyfeiriadau eraill. Mewn pwlpudau y disgwyliasid i'r "Cyffes Ffydd," a hwnnw, hefyd, yn ei gyfanrwydd, gael ei bregethu allan ohonynt, teflir diystyrwch ar athrawiaeth y Cyfrifiad. Llecha rhai dan aden Calfiniaeth; a bwytânt fara wedi

ei ennill mewn pwlpudau a neillduwyd i bregethu yr athrawiaeth honno, nad ydynt yn credu mwy mewn Calfiniaeth nag yn yr eira y llynedd. Gwadant berthynas dyn â phechod Adda; eithr credant mewn ysprydegiaeth a thrychiolaethau! Y mae enwad newydd yn cyfodi yng Nghymru, nad ydyw yn credu mewn "cyfeillach eglwysig," nac mewn "seiat brofiad," a hynny yn ochr cyfundebau eraill, ac allan o rai ohonynt, sydd â'r cyfarfodydd hyn yn brif nodwedd iddynt. Honna y dynion sydd yn pigo i fyny yr athrawiaethau newyddion hyn—teulu y dduwinyddiaeth newydd, bondigrybwyll, eu bod yn anrhydeddus iawn. Pa le y mae eu hanrhydedd? Ai nid ydyw yn eithafion llwfrdra iddynt fwyta bara enwad, a llechu dan enw enwad crefyddol, heb gredu ei egwyddorion? Ai nid mwy gwrol ac anrhydeddus ynddynt, wedi iddynt gael eu hunain ynglŷn â chyfundebau nas gallant gofleidio eu credoau na phregethu eu hathrawiaethau, fyddai iddynt ymneillduo ar unwaith allan o honynt?

O ran dim a glywn o'r pwlpud, y dyddiau hyn, y mae darnau helaeth o'r Ysgrythyr Lân yn gwbl ddifudd. Y mae hyn y peth a allesid ddisgwyl oddiwrth foneddigion yn y weinidogaeth sydd yn gwrthod y peth a alwant yn ddamcaniaeth beiriannol am ysprydoliaeth yr Ysgrythyrau, ac yn credu mewn math o ysprydoliaeth athrylith yn unig. Felly, iddynt hwy, y mae Dafydd a Shakespeare rywbeth yn debyg i'w gilydd, a'r ddau yn deall y galon ddynol yn dda. Ha, er fod Wil Shakespeare yn un o'n ffafr-feirdd ni, eto ofnwn mai dyn anianol y galwesid ef gan yr apostol Paul. Pa brophwyd sydd yn awr yn cyfodi o'i gystudd, fel Ezra gynt, ac yn rhwygo ei ddillad oherwydd camwedd y bobl! Dywedwch i ni pa le y mae, ac awn yno i'w weled. Pwy a faidd bregethu i gyfoethogion cybyddlyd y cynulleidfaoedd, megis y pregethai Nehemiah, gan ddywedyd, "Peidiwn, atolwg, â'r ocraeth yma?" Pwy sydd yn gallu gwaeddi uwchben cynulliadau o foneddigesau coegion, sidanog, dyledog, a diwerth, y dyddiau hyn, yng ngeiriau Esaiah

brophwyd: "Oherwydd balchïo o ferched Sïon, a rhodio â gwddf estynedig, ac â llygaid gwamal, gan rodio a rhygyngu wrth gerdded, a thrystio â'u traed: am hynny y clafra yr Arglwydd gorynau merched Sïon, a'r Arglwydd a ddinoetha eu gwarthle hwynt!" Prin y gŵyr yr oes sydd yn codi fod y fath eiriau yn y Beibl a'r rhai canlynol:—"Dywedasant eiriau gan dyngu anudon, wrth wneuthur amod; tarddodd barn megis wermod yn rhychau y meusydd." "Meusydd a chwenychant hefyd, ac a'u dygant trwy drais; a theiau, ac a'u dygant; gorthrymant hefyd wr a'i dy, dyn a'i etifeddiaeth." Dychymyger am berson Eglwys yn pregethu ar y fath destyn i gynulleidfa o ysweiniaid! Eto y mae y geiriau yn aros yn yr Hen Lyfr, yng nghyda'r rhai canlynol: "Gwae y rhai sydd yn cysylltu ty at dy, ac yn cydio maes wrth faes, hyd oni byddo eisiau lle."

Am y difyrion anmheus, y cyfeiria Mr. Spurgeon atynt, y maent lawn mor uchel yng Nghymru ag y cwynai yntau eu bod yn Lloegr; yn unig nid ydyw ein cyfleusterau ni yn gymaint i'w dilyn. Nis gellir adeiladu addoldai, i addoli Duw y nefoedd ynddynt, yn awr, heb wneuthur hynny ar gynllun chwareu, a hwnnw yn fynych yn dibennu mewn chwareu damwain! Nid i Grist y casglir yr arian; ond cyfrennir hwynt er mwyn cael y cyfleusdra o chwareu disiau, a'r diafol yn bartner! Peth rhyfedd na buasai yn dyfod i ben Moses i gyhoeddi "nodachfa" yn yr anialwch, er cael arian i adeiladu y Tabernacl gynt. Y fath gyfleusdra ysplenydd a gawsid i gael un o gamelod Hobab y Midianiad, mewn raffl! Lle ardderchog am "*sale of work*" fuasai yng nghyntedd Teml Solomon. Y fath siawns dda, onidê, i sicrhau un o anrhegion brenines Seba am docyn chwecheiniog! Pa niwaid fuasai ynddo, gan fod "y diben yn cyfiawnhau y moddion," a chan fod papyrau newyddion yr enwadau yn eu cefnogi? Gresyn na fuasai Ezra yn meddwl am gyhoeddi "*grand bazaar*" yn Jerusalem, a'r elw at ailadeiladu y Deml,—ac Artaxerxes, y Llawhir, brenin Persia, yn dyfod yr holl ffordd o

Susan, ei freninllys, i'w hagoryd! Diffyg darfelydd, mae'n ddiau, ydoedd hyn ar ran Ezra, Zorobabel, a Nehemiah; nid oeddynt, druain, ar flaen eu hoes. Y dydd o'r blaen, gwelsom hysbyslen fawr, olygus, wedi ei hargraphu, yn hysbysu am gyfarfod i gasglu arian at deml neillduol ydoedd gerllaw; a'r ddau beth pennaf, i dynnu sylw, ydoedd hysbysiad y byddai yn y cyfarfod Arddangosiad o Ysprydion *(Exhibition of Ghosts)*, a Difyrion Amrywiaethol *(Miscellaneous Entertainments)*; ac ymysg y difyrion hynny, yr atyniad pennaf ydoedd rafflo babanod preniau!

# Y DIWYGIAD METHODISTAIDD YN EI GYSYLLTIADAU CYFFREDINOL A LLENYDDOL.

BWRIADWN i'r gair "diwygiad," yn y tudalennau canlynol, gael ei ddeall am y cyffroad crefyddol hwnnw a dorodd allan yn y ddeunawfed ganrif, ac a ymdaenodd dros ran fawr o'r byd Cristionogol, yr hwn, gyda'r eithriad o'r Diwygiad Protestanaidd, ydoedd un o'r diwygiadau crefyddol hynotaf er y Pentecost. Y mae y gair "diwygiad" yn dra phriodol am dano, oblegid yr ydoedd yn ddiwygiad yng ngwir ystyr y gair; ond nid ydyw y gair "Methodistaidd" yn ein boddhau gymaint. Yn gyffelyb i'r gair "Protestanaidd" am ddiwygiad yr unfed-ganrif-ar-bymtheg—math o lysenw yn glynu ydoedd hwnnw,—felly am ddiwygiad y ddeunawfed ganrif, nid ydyw ei alw yn Ddiwygiad *Methodistaidd* ond llysenw arno sydd, erbyn hyn, wedi dyfod yn enw o anrhydedd. Tybia rhai ddarfod i'r enw gael ei roddi ar fintai o ddynion ieuainc a gyfarfyddent â'u gilydd yn rheolaidd i gyd-ddarllen y Beibl ac i gyd-weddïo yn Rhydychain yn nechreu y ganrif honno, gyda chyfeiriad at rywbeth sydd gan y bardd Juvenal am ryw grach-feddyg enwog ag ydoedd yn sefydlydd ysgol o grach-feddygon! Dywed ysgrifennydd doniol yn y *British Quarterly Review* (Hydref, 1871, tudal. 425), ddarfod iddo ef wrando person eglwys, yn Swydd Huntingdon, yn pregethu pregeth i'w blwyfolion ar Ephes. iv. 14, ac yn egluro iddynt mai y gair Groeg am "gynllwyn i dwyllo" yn niwedd yr adnod honno ydoedd *methodeian*, ac yn sicrhau iddynt, gyda phob difrifwch, mai meddwl yr apostol Paul yn y frawddeg ydoedd, "Trwy gyfrwysdra i'ch gwneuthur yn

Fethodistiaid." Gall ysgoleigdod a rhagfarn arwain dynion i bethau rhyfedd! Ond y gwaethaf am y gair "Methodistaidd" ydyw ei fod yn cyfyngu y diwygiad i ryw ychydig nifer o bleidiau Cristionogol a arddelwant yr enw hwnnw, pryd yr ydoedd mewn gwirionedd wedi cyffwrdd holl gorff Cristionogion Prydain Fawr a'r America, os nad rhai o wledydd y Cyfandir hefyd. Hoffasem, ped fai fodd, iddo gael ei adnabod fel Diwygiad Crefyddol y Ddeunawfed Ganrif. Ei fod yn ddiwygiad nid oes betrusder yn meddwl neb sydd wedi talu rhyw gymaint o sylw i'w hanes; ac y mae ei fawredd, erbyn hyn, wedi cael ei gydnabod ar bob llaw. Fel rhai o wrthrychau mawrion y greadigaeth a rhai o chwyldroadau mawrion rhagluniaeth adnabyddir ef yn well, o ran ei faintioli a'i natur, gan y rhai a safant ychydig bellder oddiwrtho. Dywedir yr edrych Mont Blanc i'r fantais oreu pan y sefir bellder oddiwrtho, ac nad ydyw ychydig ugeiniau o filltiroedd o bellder ar wastadeddau Judi ond yn ychwanegu, i olwg yr edrychydd, at uwchder pigyn uwchaf yr Himalaya. Yn ddiweddar mewn cydmariaeth yr ydys wedi dyfod i ddeall yr egwyddorion a orweddent dan y Chwyldroad Ffrengig. Bu adeg pan y gwawdid y Diwygiad Methodistaidd gan rai oeddynt yn nes ato na'n dyddiau ni; ond bellach y mae haneswyr a bywgraffwyr yn profi fod symudiadau cenhadol a chymdeithasol, cynyrfiadau hanesyddol a llenyddol, i'w holrhain iddo fel eu tarddle. Cadarnha haneswyr fod Methodistiaeth, a deall y gair yn ei ystyr fwyaf cyffredinol, yn un o ffeithiau pwysicaf hanesiaeth ddiweddar. Haneswyr, y rhai a gyrchwyd i regi y diwygiad, cyn y diwedd, er eu gwaethaf, a gyhoeddasant eu bendith arno. "Drwy ddau o ddynion mwyaf nodedig y ddeunawfed ganrif," ebe Buckle (*History of Civilization in England*, cyf. i., tudal. 422), "sef Whitfield, un o'r areithwyr duwinyddol blaenaf, a Wesley, un o'r gwladweinwyr duwinyddol pennaf, fe ffurfiwyd un o'r cyfundrefnau crefyddol mwyaf, yr hon a ddygai yr un berthynas âg Eglwys

Loegr ag a ddug Eglwys Loegr âg Eglwys Rhufain. Felly, wedi yspaid o ddau can' mlynedd, dygwyd oddiamgylch ail ddiwygiad crefyddol yn ein gwlad." Galwai Macaulay ef (*Essays*, *Pop. E.*, tudal. 101), "y diwygiad moesol mwyaf nodedig;" a dywedai am John Wesley, y buasai ei hyawdledd a'i graffder rhesymegol yn gwneuthur iddo le uchel mewn llenyddiaeth, ac nad oedd ei ddawn i lywodraethu "yn ail i Richelieu ei hunan." Geilw Isaac Taylor ef "yr ail ddiwygiad ym Mhrydain, ac yn bwynt dechreuol ein hanesiaeth grefyddol ddiweddar." Dyry John Richard Green, gwr Eglwysig, a hanesydd diweddar pobl Prydain, (*History of the English People*, cyf. iv., llyfr viii., pen. iv.), le amlwg iawn iddo. Geilw ef yn rhan o'r bywyd cenedlaethol newydd a ddechreuai gynyrfu Lloegr ar y pryd, —yr ydoedd yn flaen y dòn o frwdfrydedd moesol newydd ydoedd i ymdori dros y deyrnas. Mae gan y Dr. Lewis Edwards, y Bala, yn ei lyfr gwerthfawr o Raglith i Gorff Duwinyddiaeth y Dr. George Lewis, bennod ardderchog ar y diwygiad hwn; a chyfaddefwn yn rhwydd ein bod dan fwy o rwymau i'r bennod honno, tuag at ddeall rhai o elfennau ac arweddion y diwygiad, nag i ddim arall a ddarllenasom. "Pa enw bynnag a roddir arno," meddai y Dr. Edwards, "y gwirionedd ydyw, ac ni ddylai rhagfarn rwystro neb i'w gydnabod, na effeithiodd un diwygiad fwy ar y byd er dyddiau yr Apostolion." "Nis gellir yn gywir ddeall," ebai Dr. Stoughton, (*Religion in England under Queen Anne and the Georges*, argraff. 1878, cyf. 2, Rhagymadrodd), "hanes y ganrif ddiweddaf heb ddwyn ar gof yn ofalus yr hyn a gymerodd le y ganrif flaenorol. * * * Mae crefydd y ddeunawfed ganrif yn gwreiddio yn yr eilfed-ganrif-ar-bymtheg. Yr oedd Puritaniaid dyddiau Cromwell a duwinyddion amser Caroline yn dadau i Eglwyswyr ac Anghydffurfwyr y cyfnod Hanoferaidd. Ond yn amser Sior yr Ail fe dorodd allan dros y wlad genllif o sel grefyddol ydoedd yn cario gydag ef argraff o wreiddioldeb, ac yn meddu cymeriad nad ydoedd wedi

ei drosglwyddo o oes flaenorol. Telais sylw neillduol [yn y cyfrolau a ysgrifenasai ar y cyfnod] i'r symudiad rhyfedd hwn, nid oddiar unrhyw deimlad sectol, eithr yn hollol fel gweithred o gyfiawnder hanesyddol. Y mae Methodistiaeth, yn ei holl ganghennau, yn ffaith yn hanes Lloegr ag sydd yn ymeangu fwyfwy mewn pwysigrwydd fel y treigla amser ymlaen; a theimlir hyn gan bob hanesŷdd diragfarn, beth bynnag fyddo ei syniadau personol ef ei hunan."

Yr ydym yn awr yn nesäu at bwnc arall sydd lawn *mor* bwysig, ac yn anhawddach na phrofi maint y diwygiad, sef, beth ydoedd sefyllfa y deyrnas cyn ac ar ei doriad cyntaf allan. Ond y mae rhyw bethau wedi ymgasglu o gwmpas y pwnc hwn yn peri mai anhawsder gyda golwg ar Gymru ydyw yn fwy na chyda golwg ar Loegr. Yng Nghymru yr oedd eglwysi Anghydffurfiol wedi eu sefydlu er's tua chan' mlynedd cyn toriad allan y diwygiad; a theimla rhywrai eiddigedd mawr os rhoddir golwg rhy dywyll ar y wlad, rhag cymylu dim ar lwyddiant a gwaith y rhai hynny. Eithr yr oedd amryw gyfundebau o Anghydffurfwyr yn Lloegr hefyd y pryd hynny, a'r rhai hynny lawn can luosoced hefyd; ond ni theimla yr un o haneswyr crefydd yn Lloegr unrhyw berygl i ddiorseddu yr hen Anghydffurfwyr wrth iddynt roddi ei le priodol i'r Diwygiad Methodistaidd. Ai am ein bod ni yn fwy sectyddol y teimlir yr anhawsder hwn yng Nghymru? Diffyg mawr haneswyr crefydd yng Nghymru ydyw peidio cymeryd golwg eang ar y pwnc; felly tynnant gasgliadau pwysig oddiwrth ry ychydig o ffeithiau; ac, yn fynych, rhoddant le mawr i ffeithiau cydmariaethol ddibwys. Fel eu gwlad, felly y maent hwythau, ar gŵr y byd mawr llydan; a llefarant am aml i gongl fechan fel pe byddai gyfandir. Cymerer, er engraifft, y llyfr goreu sydd gennym, ac, ar a wyddom ni, yr unig un sydd gennym yn proffesu bod ar y pwnc hwn yn hollol, sef *Hanes Crefydd yng Nghymru*, gan D. Peter. Heblaw ei fod wedi ei ysgrifennu yn salw ac anniben, dyry hefyd lawer gormod o le i bethau dibwys,

a phasia heibio i bethau pwysig yr hanes, rai ohonynt heb eu cyffwrdd, ac eraill heb ond braidd eu crybwyll. Pe na buasai enw tref Caerfyrddin ar ol enw yr awdwr ar wyneb-ddalen y llyfr, buasai yn hawdd casglu, oddiwrth ei hanes o'r ail-ganrif-ar-bymtheg a'r ddeunawfed, ei fod yn byw ar gyffiniau siroedd Caerfyrddin, Penfro, ac Aberteifi. Dyry hanes cwerylon neu lwyddiant mewn eglwysi lleol, yn y parthau hynny; ac yna ymresyma beth yw ansawdd crefydd yn yr holl dywysogaeth oddiwrth hynny. Ond da iawn ei gael,—efe yw yr unig un o'i fath sydd gennym; a dylem fod yn ddiolchgar am drugareddau bychain. Gobeithiwn, pa fodd bynnag, weled rhywun yn cyfodi, a chyda greddf hanesyddol ddifeth a medr llenyddol teilwng, yn ysgrifennu hanes crefyddol Cymru, dyweder o basiad Deddf Unffurfiaeth hyd doriad allan y Diwygiad Methodistaidd.

Gan mai ysgrifennu ar y diwygiad yn ei gysylltiadau cyffredinol yr ydym, ni welwn ddim yn well i'w wneyd, gyda golwg ar ansawdd foesol a chrefyddol y wlad, na chymeryd trem ar Loegr a Chymru gyda'u gilydd. Ac nid ydym yn canfod dim yn hanes Cymru yn ei gosod ar dir gwahanol i rannau eraill y deyrnas yn hyn. Darfu gallu y Puritaniaid yr amser y daeth Siarl yr Ail i awdurdod, yn 1660. Wrth gwrs, bodolent yn y wlad, ac mewn cymdeithas; ond ar ol yr Adferiad nid oeddynt yn unrhyw allu yn y wladwriaeth. O'r adeg honno hyd doriad allan y diwygiad yn y ddeunawfed ganrif, y mae gogwydd crefyddol y wlad tuag i waered. Ar y Cyfandir yn gystal ag ym Mhrydain ystyrir hwn yn gyfnod o ddirywiad cyffredinol. Deffroai ysbryd rhesymoliaeth, ac fe âi yn erbyn pob hen syniadau, traddodiadau, a sefydliadau. Newidiodd tôn llenyddiaeth, gwneid i ffwrdd â dylanwad offeiriadol mewn diwylliant a phob peth. Teflid ymaith hen ofergoelion oeddynt wedi bod braidd erioed yn gysylltiedig â thra-arglwyddiaeth. Ond yr oedd ysbryd rhyddid a rhydd-ymchwiliad, yn lle bod wedi ei gyd-dymheru âg ymddyheuadau crefyddol, wedi ei lefeinio drwyddo gan dueddiadau

amheus. "Dechreuwyd," ebe Dr. Fisher, *(History of the Christian Church, by G. P. Fisher, D.D., Period ix., chap. ii., p.* 498), "math o groesgad lenyddol o blaid Deistiaeth yn Lloegr; ac ymdaenodd fel tòn dros Gyfandir Ewrob." Yn Ffrainc cynyrchodd Atheistiaeth hollol: cwympodd y grefydd Babaidd yno o flaen y Chwyldroad, a math o athroniaeth faterol sydd wedi gadael ei hôl ar y wlad, o hynny hyd yn awr. Yng nghylchoedd uwchaf cymdeithas yr oedd claearineb, ac amheuaeth wawdlyd o bethau crefydd, wedi ymbriodi â phob math o aflendid. Yr oedd Protestaniaeth ymhob man ar y Cyfandir yn oeri, ac yn rhyw ymddatod oddiwrth ei gilydd. Blinasai dynion ar ornestau mawrion duwinyddol y cyfnodau blaenorol, ac felly yr oeddynt yn ddiymadferth hollol gyda golwg ar bethau crefyddol, ac wedi diflasu ar bob peth oedd yn sawru o son am gred neu athrawiaeth. Nid oedd pethau nemawr gwell yn Lloegr; penrhyddid yn yr Eglwys Sefydledig, a'r Presbyteriaid, gan mwyaf, wedi gwyro at Undodiaeth. Yr oedd sefyllfa foesol a chrefyddol y wlad yn ddychrynllyd o isel. O'r llys i lawr at y bwthyn—gwŷr llen a gwŷr lleyg, pobl ac offeiriaid, wedi suddo yn isel iawn. Yn fwriadol yr ydym wedi ymgynghori â thystion hollol ddiduedd, a'u tystiolaeth unol ydyw fod tôn gymdeithasol y wlad yn nodedig o isel. Yr ydym yn siarad, wrth gwrs, yn gyffredinol: gwyddom fod eithriadau. Cymerer y desgrifiad canlynol o'r Llys gan Thackeray *(The Four Georges: George II.; p.* 315):—

"Yr ydwyf yn darllen fod Arglwyddes Yarmouth (anwylen ei Rasusaf a duwiolaf Frenin) wedi gwerthu esgobaeth i glerigwr am 5,000p. Daliodd hi gydag ef am gyngwystl o 5,000p. y byddai iddo gael ei wneyd yn esgob; collodd ef, a thalodd yntau iddi. Ai efe oedd yr unig brelad a arweiniwyd i fyny i gael ei gysegru, y dyddiau hynny, gan y fath ddwylaw? Wrth ysbïo i lys St. Iago, yn amser Sior yr Ail, gwelaf dyrfaoedd, â'u gwisgoedd offeiriadol yn siffrwd, yn myned i mewn i'r llys drwy ddrysau cefn y boneddigesau: clerigwyr yn gwthio yn lladradaidd byrsau trymion i'w harffed, a'r hen Frenin annuwiol yn dylyfu gên, o dan ei ganopi yn y Capel Breninol, tra y mae ei gaplan yn pregethu! yn pregethu am beth?—am gyfiawnder a

barn? Tra y mae y caplan yn pregethu y mae y Brenin yn clebran yn Germanaeg uched a'r pregethwr, mor uchel nes y mae y pregethwr—feallai un Dr. Young a ysgrifennodd y "Nôs-Feddyliau" ac a bregethodd ar ddisglaerdeb y ser, gogoniant y nefoedd, a chwbl wagedd pethau y byd—yn torri allan i wylo yn ei bwlpud oherwydd na wrendy amddiffynydd y ffydd a rhoddydd yr esgobaeth arno yn pregethu. Nid rhyfedd fod y clerigwyr yn llygredig a dideimlad ynghanol y fath ddideimladrwydd a llygredigaeth. Nid rhyfedd, mor belled ag yr oedd hynny yn dibynnu ar ddylanwad y fath frenin, fod amheuwyr yn amlhau a moesau yn dirywio. Nid rhyfedd i Whitfield fyned i'r diffaethwch i lefain ac i Wesley fyned allan o'r fath deml halogedig i weddïo ar ael y bryn. Yr ydwyf yn edrych gydag edmygedd ar y dynion hynny yr amser hwnnw. Pa un yw yr olygfa fwyaf arddunol—pa un ai yr haeddbarch John Wesley yn cael ei gylchynu gan gynulleidfa o fwnwyr wrth enau y pwll, ai y caplaniaid breninol yn mwmial y gwasanaeth boreuol yn yr ystafell allanol, o dan ddarlun o'r dduwies Gwener, a'r drws yn agored i'r ystafell nesaf, lle y mae y frenines yn siarad enllib wrth Arglwydd Hervey, neu yn gwawdio Arglwyddes Suffolk sydd yn penlinio, â dysgl yn ei llaw, wrth ochr ei meistres. Byddaf yn dychryn wrth edrych o gwmpas ar y gymdeithas hon —ar y brenin hwn, y gwŷr llys, y gwladweinwyr, yr esgobion hyn—yr ysgafnder a'r drygioni rhodresgar hwn. Pa le yn y llys hwn y mae y dyn gonest? Hoffai dyn wybod pa le y mae y dyn pur: y mae yr awyr yn drom gan arogl afiachus y llys."

Dyma ddarlun y nofelydd o'r llys; a diau nad ydyw wedi ei liwio yn ffafr nac yn erbyn unrhyw blaid grefyddol pa bynnag. Cawn dystiolaeth gyffelyb gan y Ffrancwr dysgedig Taine (*History of English Literature*, cyf. iii., llyfr iii., pen. 3), yr hwn sydd ysgrifennydd cwbl ammhleidiol. Gyda'r eithriad o amser Sior III., dywed Taine fod y Llys Prydeinig, yn amser yr Hanoferiaid, yn un o'r llysoedd mwyaf dirywiedig ar Gyfandir Ewrob. Fel rheol cashai y brenin a deyrnasai ei fab hynaf, rhedai hwnnw i ddyled, ac ymunai â gelynion politicaidd ei dad, a chrefai ar y Senedd i gynyddu ei flwydd-dal. Cadwodd Sior I. ei wraig yn y carchar am 32 o flynyddoedd; a meddwai bob nos gyda'i ddwy gyffoden ddigywilydd! Carai Sior yr II. ei wraig, a chymerai ei lywodraethu ganddi; ond cadwai yntau ordderchadon o ran ffasiwn; torodd ewyllys ei dad, ac ymlawenychai ym marwolaeth ei fab.

Treiglai y dylanwad cymdeithasol hwn o uchelderau cymdeithas i lawr at ddosbarthiadau is. Gwir fod llawer o'r yspryd Puritanaidd yn parhau i lechu yn nosbarthiadau canol cymdeithas, ac o'r rhai hynny y tarddodd y Diwygiad Methodistaidd, yr hwn a roddes dôn newydd hollol i gymdeithas; ond, ebe Green (*History of the English People*, llyfr ix., pen. 9), "am tua hanner can' mlynedd cyn toriad hwnnw allan nid ydym yn cael nemawr ddim yng nghylchoedd uwchaf ac isaf cymdeithas namyn gwrthwynebiad i eglwysi a phob ffurf ar grefydd." "Chwarddant am eich pen," ebe Montesque, ar ei ymweliad â Lloegr, "ymhlith dosbarthiadau uwchaf y wlad, os soniwch am grefydd." Nid oedd y rhan fwyaf o wladweinwyr amlycaf y dyddiau hynny yn credu mewn math yn y byd o Gristionogaeth, ac yr oeddynt yn nodedig am anfoesoldeb eu bywydau. Nid ystyrid iaith fasweddol a meddwdod yn unrhyw ddianrhydedd ar Robert Walpole, yr hwn a fu yn brifweinidog am ugain mlynedd. Arferai y Duc Grafton, a fu yn brif-weinidog ar ei ol, ymddangos yn gyhoeddus yn y chwareudy a phutain gydag ef! Gwawdid purdeb a ffyddlondeb i'r cyfamod priodasol fel peth allan o'r ffasiwn. Yn yr eithaf arall i gymdeithas yr oedd y tlodion mor anwybodus ac anifeilaidd ag y gallent fod. Yngwyneb cynnydd y boblogaeth a'r trefi a chynnydd masnach, nid oedd unrhyw ymdrech neillduol yn cael ei wneyd, ysywaeth, i wareiddio y bobl. Ni chreid plwyfi ychwanegol, ac nid adeiledid eglwysi newyddion. Nid oedd ysgolion i'w cael ond ychydig o ysgolion gramadegol a sefydlasid yn nyddiau Edward ac Elizabeth. Darostyngid pobl y rhanbarthau gwledig i dlodi drwy gamddefnydd o gyfreithiau y tlodion, a gadewid hwynt braidd yn hollol heb fath yn y byd o addysg foesol a chrefyddol. Nid oedd pethau nemawr gwell yn y trefi. Yr oedd y carcharau yn llawnion, y crogbrenau ar waith ymhob man, a'r tafarndai yn cael eu gorlenwi. Dygasid *gin* i arferiad yn ddiweddar; a gallasai unrhyw un weled hysbysiadau yn ffenestri y *gin-shops*, yn Llun-

dain, yn dyweyd fod yno gyfleustra i un gael ei wneyd yn feddw am geiniog, ac yn farw-feddw am ddwy geiniog! ac ychwanegid, am rai mannau, y gellid cael yno yr amheuthyn mawr o gael gwellt yn y seler i orwedd arno nes sobri! Gorweddai llawer o'r cyfrifoldeb am y dirywiad moesol hwn yn ddiau wrth ddrws yr offeiriadaeth; yr oedd cyfanrif gweinidogion pob cyfundeb, ysywaeth, wedi myned i hepian. Dywed Burnet fod offeiriaid Seisnig ei ddyddiau ef y rhai mwyaf difywyd yn Ewrob. Y rhan fwyaf o'r esgobion oeddynt bleidwyr y Whigiaid, heb unrhyw amcan uwch ganddynt na chael dyrchafiadau. Ymdyrent i'r gwleddoedd ym mhalasdai gweinidogion y Goron. Dywed J. R. Green fod un o esgobion Cymru yn addef na welodd ei esgobaeth ond unwaith, a'i fod yn arfer byw yng nghymydogaethau y llynnau yn Westmoreland. Galluogai y drefn o ddal amryw fywiolaethau y rhai mwyaf dysgedig a chyfoethocaf o'r clerigwyr i fod yn absenolion, tra yr oedd y rhelyw ohonynt yn ddiog a thlawd, ac heb ganddynt unrhyw safle gymdeithasol.

Ond wrth ysgrifennu o barthed i fater fel hwn, sef cyflwr cymdeithas, y mae yn bur hawdd tynnu casgliadau rhy ëang oddiwrth ry ychydig o ffeithiau. Dylem ar bob cyfrif ddwyn barn dêg i weithredu arno. Ni fynnem er dim dynnu darlun rhy bruddaidd; ac, ar y llaw arall, ni fynnem er dim wneyd cam â'r gwirionedd. Ond y mae gennym gynifer o ffeithiau, a'r rhai hynny yn gyfryw ag y dygir tystiolaeth iddynt gan gynifer o dystion o bob cyfeiriad, fel y rhaid dyfod i'r casgliad fod y ganrif, a'i chymeryd yn y cyfanswm, yn hynod o lygredig. Y cyhuddgwyn mwyaf ofnadwy yn erbyn awdurdodau crefyddol yr amser hwnnw a ddarllenasom ni erioed a ysgrifenwyd gan wr Eglwysig, lawer o flynyddoedd yn ol—gwr sydd erbyn hyn wedi ei ddyrchafu i'r fainc esgobol—yr Esgob Ryle, o Lynlleifiad. Ymddangosodd yr erthyglau mewn cyhoeddiad cyfnodol (*"England a Hundred Years Ago." The Family*

*Treasury*, 1866); ac y maent, os nad ydym yn camgymeryd, wedi eu cyhoeddi yn llyfr.

"Yr oedd stad crefydd a moesoldeb yn y deyrnas hon," meddai, "mor boenus o anfoddhaol tua chanol y ganrif ddiweddaf fel y mae yn anhawdd rhoddi unrhyw syniad am dani. Nid oes gan bobl y dyddiau hyn, y rhai ni thalasant unrhyw sylw i'r mater, un syniad am y tywyllwch a fodolai y pryd hwnnw. Y mae yn anamgyffredadwy i feddwl pa fodd y gallai y fath sefyllfa ar bethau fodoli mewn gwlad lle yr oedd Beiblau a Phrotestaniaeth rydd. Gorweddai Cristionogaeth fel yn farw, mor farw fel ag y gallesid dweyd am dani, 'Wele marw ydyw.' Pa mor uchel bynnag y dyrchefid moesoldeb yn y pwlpudau, methrid ef dan draed yn yr heolydd. Yr oedd tywyllwch yn y lleoedd uchel a'r lleoedd isel—yn y llys, y gwersyll, y Senedd, a'r ddadleufa,—tywyllwch yn y wlad a'r dref, yn mysg tlawd a chyfoethog,—tywyllwch moesol a chrefyddol,—tywyllwch dudew—tywyllwch y gellid ei deimlo. A oes rhywun yn gofyn beth oedd yr eglwysi yn ei wneyd gan' mlynedd yn ol? Gellir ateb yn ebrwydd. Bodolai Eglwys Loegr y dyddiau hynny gyda'i herthyglau ardderchog a'i ffurf-wasanaeth anrhydeddus, ei chyfundrefn blwyfol, ei gwasanaeth Sabbothol, a'i deng mil o glerigwyr. Bodolai yr Ymneillduwyr gyda phwlpud rhydd, a rhyddid newydd ei ennill. Eithr yn anffodus gellir rhoi yr un hanes am y ddwyblaid. Yr oeddynt yn bodoli, eithr prin y gellid dweyd eu bod yn fyw. Nid oeddynt yn gwneyd dim; yr oeddynt mewn cwsg trwm. Gorffwysai melldith Deddf Unffurfiaeth ar Eglwys Loegr; gorweddai gwywdra hawddfyd, a rhyddid oddiwrth erledigaeth, ar yr Ymneillduwyr. Uniongrededd digynyrch, moesoldeb oer, a duwinyddiaeth naturiol, heb unrhyw un o wirioneddau bywydol Cristionogaeth, a ffurfient gyfanswm dysgeidiaeth yr eglwys a'r capel. Cytunai y ddwyblaid, o'r diwedd, ar un peth, sef gadael y diafol yn llonydd a pheidio a gwneyd dim er gwella calonnau ac achub eneidiau. Ac am y gwirioneddau pwysig dros y rhai yr aethai Hooper a Latimer at yr ystanc, a thros y rhai yr aethai Baxter, ac ugeiniau o Buritaniaid, i'r carcharau, yr oeddynt wedi eu llwyr anghofio a'u rhoi i gadw ar y silff. Yn gynnar yn nheyrnasiad Sior III. aeth y cyfreithiwr enwog Blackstone, o gywreinrwydd, o eglwys i eglwys yn Llundain i wrando pob clerigwr o unrhyw nod. Dywedai na chlywodd un bregeth a gynnwysai fwy o Gristionogaeth nag a geir yn ysgrifeniadau Cicero, a bod yn ammhosibl gwybod, oddiwrth ddim a glywodd, pa un a oedd y pregethwr yn ddisgybl i Confucius, Mahomed, ynte Crist."

I'r un cyfeiriad yr aiff tystiolaeth Dr. Stoughton, efe yn Annibynwr, ac yn un a gydnabyddir ar bob llaw yn

un o'r awdurdodau diogelaf ar hanes crefydd yn Lloegr yn y cyfnod hwn.

"Dengys tudalenau y *Spectator*," ebai (*Religion in the time of Queen Anne and the Georges*, cyf. i., tudal. 164), fodolaeth ffolineb dychrynllyd; ac o dan, a thu hwnt, i'r ffolineb hwnnw nis gall unrhyw ddarllennydd lai na chanfod swm dirfawr o ddrygioni, gan nad pa mor gelfydd y'i gwyngelchir. Rhaid fod nifer fawr, yn y cylchoedd uwchaf, o'r meibion a'r merched yr ysgrifennai Addison ac eraill yn bennaf ar eu cyfer, yn ddwfn mewn anfoesoldeb. Ond nid mor hawdd ydyw penderfynu pa mor bell y mae y desgrifiadau yn ateb i'r gwirionedd. * * * Ar y cyfan, argraff boenus ac anhapus a gynyrchir. Ac nis gallwn lai na theimlo, pa mor ddidwyll bynnag yr amcenir at hynny, nad oes yng ngwawdiaeth finiog yr ysgrifenwyr ffraeth hyn nemawr o ddylanwad tuag at wella y drygioni a ddadlenir mor fedrus ganddynt. Ac nid oedd, ychwaith, nemawr ddim dylanwad iachus at hynny yn y pregethau dysgedig a moesol a draddodid yn yr eglwysi. Cyflea nofelau De Foe ddesgrifiadau dychrynllyd o gnawdolrwydd, y rhai oeddynt yn ddiau yn sylfaenedig ar ffeithiau. Yr ydym yn teimlo hefyd fod cyhoeddiad y fath weithiau, gan y fath awdwr, a'r derbyniad helaeth a gawsant, yn adlewyrchu goleuni anffafriol iawn ar y chwaeth gyhoeddus. Dylem gofio, hefyd, yr hyn a ddywedwyd mor fynych am benrhyddid y chwareudy, yn yr adeg honno. Yr ydym yn cyfarfod â golygfa ofnadwy hefyd wrth ddisgyn i'r cylchoedd isaf; gesyd un o esgobion y dyddiau hynny hi allan mewn modd tra grymus. Trowyd dydd yr Arglwydd i fod yn ddiwrnod y diafol; y mae mwy o benrhyddid, halogrwydd, a meddwdod, mwy o ymladdau a mwrdradau, ar y dydd hwn nag ar yr holl wythnos gyda'i gilydd. Mae defnyddio gwirodydd poethion wedi dyfod yn haint; lleddir pobl gan frandi: y mae drygioni yn gyffredinol."

Yn awr, y mae yn bryd i ni droi ein hwynebau tua Chymru. Gallech dybied, ar rai ysgrifenwyr, fod Cymru, yn enwedig deheubarth y Dywysogaeth, yn rhyw hanner paradwys y pryd hynny. Ceisir bychanu y Diwygiad Methodistaidd,—weithiau yn ffafr yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru, yr adeg honno; a phryd arall, o eiddigedd dros lafur a gwaith yr hen Anghydffurfwyr. Nid ydym yn ol i neb pwy bynnag yn ein parch iddynt a'n hedmygedd o'u gwaith, eu dysgeidiaeth, eu llafur, a'u dioddefiadau, yn Lloegr a Chymru. Tua chan' mlynedd cyn toriad allan y diwyg-

iad y sefydlwyd yr eglwys Anghydffurfiol gyntaf yng Nghymru; a thua chan' mlynedd cyn hynny y sefydlasid Protestaniaeth yn drwyadl drwy y deyrnas hon. Y dydd olaf yn unig a ddengys faint a gwerth y gwaith a wnaed gan yr hen Anghydffurfwyr yn y cyfnodau hyn. Hwynt-hwy, gan mwyaf, a gadwasant Brotestaniaeth yn fyw yn y wlad, ac a gadwasant yn fyw Buritaniaeth dosbarthiadau canol cymdeithas drwy y deyrnas; ac o'r dosbarthiadau hyn yn bennaf y tarddodd y Diwygiad Methodistaidd. Hwy oeddynt y "Diwygwyr o flaen y Diwygiad": ac o ran ei hanes dynol neu ddaearol yr oedd ganddynt law yn ei ddwyn oddi amgylch, o leiaf yn ei wneyd yn bosibl. Nid ydym i anghofio mai dyma y cyfnod y blodeuai Dr. Doddridge a Dr. Watts, gyda'r Ymneillduwyr yn Lloegr, a dyn o ddefosiwn yr Esgob Thomas Wilson yn yr Eglwys Sefydledig. Lleinw William Law hefyd le neillduol yn y cyfnod fel awdwr amryw lyfrau ymarferol a defosiynol, ac yn eu plith un —*Y Galwad Difrifol*—a gafodd y fraint o fod yn un o ddau lyfr â digon o swyn ynddynt i allu cyfodi Dr. Johnson o'i wely yn blygeiniol i'w ddarllen, a llyfr ag yr addefa Wesley ei hunan ddarfod i'r darlleniad ohono fod yn foddion i hau yn ei feddwl hadau y diwygiad. Meddai Cymru hefyd restr ddisglaer o gymwynaswyr, yn Eglwyswyr ac Anghydffurfwyr, yn y cyfnod hwn. Perthynai yr Eglwyswyr ohonynt yn bennaf i'r unfed-ganrif-ar-bymtheg, a'r Anghydffurfwyr i'r ganrif ddilynol. Ymhlith y dosbarth cyntaf enwir Salisbury, Dr. Davies, Thomas Huett, Dr. Morgan, Dr. Powel, Dr. Davies, E. Prys, Dr. Parry, Heylin, Middleton, a Rhys Prichard. Ymysg yr Anghydffurfwyr nodir Wroth, Robert Powel, Erbury, Walter Cradoc, Vavassor Powel, Morgan Llwyd, Thomas Gouge, Stephen Hughes, Peregrine Philips, Hugh Owen, James Owen, &c. Cafodd hanes John Penri, yr hwn, mewn rhyw ystyr, a ystyrir y pennaf o'r Anghydffurfwyr, amlygrwydd haeddiannol ar dudalennau *Y Geninen* yn ddiweddar. Ceir hanes cryno a chywir ohonynt yn y llyfr

tra dyddorol hwnnw, *Cambro-British Biography—(Sketches of Several Welsh Nonconformists of the Seventeenth Century, by W. Richards, LL.D.).* Mae eu hanes nid yn unig yn ddyddorol, eithr yn rhamantus. Diau hefyd fod pethau mwy wedi eu colli neu heb eu hysgrifennu erioed. Y fath hanes sydd wedi ei grynhoi i oes a llafur Vavassor Powel a'i gydoeswyr! "Dyma y cedyrn a fu wyr enwog gynt."

Diau fod rhywrai hefyd, fel y sylwa Dr. Lewis Edwards, heblaw Griffith Jones o Landdowror, ond heb fod mor enwog ag ef, yn llanw y bwlch, yn hanes cymwynaswyr ein gwlad, rhwng hen Anghydffurfwyr yr ail-ganrif-ar-bymtheg a Methodistiaid y ddeunawfed ganrif. Nid oes mewn hanes ond ei enw ef yn unig; ac y mae fel dolen gydiol y ddau gyfnod a'r ddwy ganrif rywfodd, gan fod dechreu ei hanes ef yn ymestyn yn ol at yr hen Anghydffurfwyr, a diwedd ei hanes yn ymestyn ymlaen i doriad gwawr y Diwygiad Methodistaidd. Hawdd ydyw olrhain hefyd ddylanwad yr Anghydffurfwyr i mewn i'r diwygiad ei hunan. Yr oedd Gruffydd Jones yn disgyn o rieni Anghydffurfiol, ac ei hunan wedi bod yn efrydu, yn nechreu ei oes, mewn athrofa a berthynai i'r Anghydffurfwyr, yn nhref Caerfyrddin. Felly yr oedd Williams o Bantycelyn. Cafodd Daniel Rowlands o Langeitho lawer o'i gyfarwyddo gan y Parch. Philip Pugh, gweinidog Anghydffurfiol Llwynpiod. Argyhoeddwyd William Pritchard, Clwchdernog, un o gyndadau Ymneillduaeth yn Ynys Môn, drwy wreichionen o dân oddiar allor deuluaidd un Francis Evans, un o aelodau eglwys Anghydffurfiol Pwllheli. Ac nid yw hyn yn ddiameu ond ychydig o ffeithiau allan o liaws o rai cyffelyb a gymerasant le mewn parthau eraill o Gymru. Dywedwn yn ddibetrus, fod rhan i'r Anghydffurfwyr yn y Diwygiad; ond dywedwn yr un mor ddibetrus, na buasent byth yn ei gynyrchu. Darfu i Morgan Llwyd o Wynedd brophwydo am y Diwygwyr Methodistaidd (*Trysorfa Ysprydol*, llyfr ii., tudal. 175); ac er mai am rai Cymru yn unig y prophwydai

efe, y mae ei eiriau y desgrifiad goreu sydd bosibl o'r Diwygwyr yn gyffredinol yn Lloegr a Chymru. "Mae dynion gwych, hiliogaeth yr hen Jacob, yn barod i gyfodi allan o'r pridd; ac er hynny o'r nefoedd y disgynant. Y mae ffynonnau y môr tragywyddol yn torri allan ynddynt; ac ni all y byd, na'r cnawd, na'r cythraul, mo'u cau, na'u cadw dan y ddaear. * * * Mae hyn yn agos, wrth y drws; ïe, ac yn oes gŵr fe'i gwelir." Darluniad hollol gywir; cyfodasant o'r pridd, ac eto o'r nefoedd y disgynasant. Yn Wesley a Whitfield yn Lloegr, yn Harris a Rowland, ac eraill, yng Nghymru, yr oedd ffynonnau y môr tragywyddol yn torri allan. Daethant mewn rhan o Eglwys Loegr, ac mewn rhan oddiwrth yr Anghydffurfwyr; eto o'r nefoedd y disgynasant. Yr oedd yn eu hanes ryw elfennau dwyfol nas gallesid cyfrif am danynt ond ar y tir eu bod wedi disgyn oddiwrth Dduw, ac nis gallai dim eu "cau na'u cadw dan y ddaear."

Ond y pwnc pennaf, feallai, yng nglŷn â hanes y Diwygiad ydyw, Beth oedd cyflwr y deyrnas gyda golwg ar grefydd ysprydol cyn ei doriad allan. Nid pa faint o oleuni a fodolai yn y wlad yw y pwnc pennaf, eithr *pa fath oleuni ydoedd*. Credwn y gellir profi mai goleuni oer y pen ydoedd, heb nemawr o wres calon ynddo. Nid mater o ystadegaeth mo hwn,—nid wrth gyfrif nifer yr Anghydffurfwyr y penderfynir hyn, eithr wrth sylwi ar eu gweithrediadau. Y mae gennym bob tystiolaeth i brofi fod tywyllwch anwybodaeth yn ymdaenedig dros Wynedd, a bod eglwysi Anghydffurfiol y Deheubarth, y mwyafrif ohonynt, yn gwyro i'r goriwaered. Ysid hwynt gan yspryd dadleuaeth. Yn wir y mae gennym brofion pendant na roddai y pwlpud Anghydffurfiol yn Lloegr sain glir ar brif wirioneddau yr Efengyl. Ni roddid nemawr o bwys ar wirioneddau crefydd ddatguddiedig, ond traethid yn helaeth ar grefydd naturiol. Hynny o wir Buritaniaeth a fodolai, yn y pwlpudau Ymneillduol yr ydoedd; ond ni cheid namyn eilun ohono yno. Addefir yn gyffredinol fod yr hyn a elwir y ddadl

Arminaidd wedi arwain yn naturiol i Ariaeth, ac wedi hynny i Undodiaeth. Edrydd un o weinidogion Ymneillduol blaenaf Llundain wrth Wilberforce *(Life and Times of Lord Palmerston, by Ewing Ritchie;* cyf. i. tudal. 99), fod tuag un allan o bob ugain o'r rhai fu dan addysg gyda Dr. Doddridge efengylaidd wedi troi yn Sociniaid, neu yn gogwyddo felly; ac fod braidd yr oll o'r hen eglwysi Presbyteraidd wedi troi yn Sociniaid. Dyma sefyllfa pethau yn Lloegr; ac y mae gennym bob lle i gredu nad oedd pethau nemawr well yng Nghymru. Addefir na fu yn y Dywysogaeth unrhyw adfywiad crefyddol tua'r adeg honno ond yr hyn a ddaeth drwy offerynoliaeth Griffith Jones o Landdowror, yr hwn a ystyrir yn Seren Foreu y Diwygiad Methodistaidd, ac yn rhan o hono. Felly nid oedd dim yn hanes crefyddol Cymru a allasai beri gwahaniaeth rhyngddi a rhannau eraill y deyrnas. Yn y flwyddyn 1715 casglwyd, gan Daniel Neal, hanesydd y Puritaniaid, ystadegau yr Anghydffurfwyr drwy y deyrnas, a rhoir eu nifer ganddo yn 1,107 o gynulleidfaoedd. Yn ei ystadegaeth ef, nifer yr holl gynulleidfaoedd drwy Dde a Gogledd Cymru ydoedd 43, yn cael eu gwneyd i fyny o Bresbyteriaid, Annibynwyr, a Bedyddwyr. Yn niwedd y trydydd deng mlynedd o'r ddeunawfed ganrif cwynid gan amryw o'r Ymneillduwyr goreu drwy y deyrnas fod eu heglwysi yn gwywo mewn rhif ac ysprydolrwydd. Cwyn y *downgrade*, gant-a-hanner o flynyddoedd, a mwy, yn ol, ydoedd. Cyhoeddwyd llyfr yn cynnwys ymchwiliad i achosion dirywiad Ymneillduaeth *(Dr. Stoughton,* cyf. i., tudal. 221); ac er fod yr awdwr yn amheu gwirionedd yr haeriad, eto y mae y ffaith ei fod yn cyhoeddi y llyfr yn profi fod y fath haeriad yn cael ei wneyd. Yna aiff ymlaen i nodi yr achosion o'r dirywiad, os ydoedd yn bod, sef rhagfarn y gweinidogion, pregethau hirion, gweddïau byrion, yr ieuenctyd yn cael eu rhoi mewn ysgolion Uchel-eglwysig, &c. Ac, fel un o'r prif bethau, awgryma y dylai gweinidogion Ymneillduol ddysgu arferion cymdeithasol mwy boneddigaidd! Hawdd can-

fod oddiwrth y feddyginiaeth nad oedd hwn yn deall arwyddion yr afiechyd. Atebwyd ef gan weinidog ieuanc a ddaeth wedi hynny yn enwog, nid neb llai na Dr. Philip Doddridge, yr hwn oedd ar y pryd (1729) yn weinidog i gynulleidfa o Ymneillduwyr yn Kibworth, swydd Leicester. Teitl yr atebiad ydyw, "*Free Thoughts on the best Means of Reviving the Dissenting Interest.*" Yr achos o'r dirywiad, yn ei fryd ef, ydoedd gwrthgiliad ysprydol yr aelodau; a gesyd allan y dylai pawb sydd yn ewyllysio yn dda i Ymneillduaeth ymegnio eu goreu i gael adfywiad ar grefydd ymarferol. Fel un peth tuag at wella, anoga i gael pregethu da, llawn o ddifrifwch ac eneiniad,—nid pregethu uniongred sychlyd yn unig, eithr pregethu llawn o yspryd efengylaidd, ac yn gyfaddas i'r oes. Y bobl gyffredin, yn ei fryd ef, ydoedd nerth yr eglwysi Anghydffurfiol; felly argymellai weinidogaeth fuddiol iddynt hwy. "Dylai y pregethwr," eb efe, a fyddo yn gymeradwy gan Ymneillduwyr, fod yn bregethwr efengylaidd, profiadol, syml, a serchiadol."

Yr ydym wedi cymeryd trafferth i fanylu ar hyn gan ein bod yn ystyried ei fod yn ddesgrifiad lled gywir o Gymru yn yr adeg dan sylw. Mae'n amlwg i bob meddwl diduedd mai gwanychu yr oedd Ymneillduaeth o ran ei hysprydolrwydd yn y Dywysogaeth, ac mai gwanychu y buasai oni bai toriad allan y Diwygiad Methodistaidd. Am yr Eglwys Sefydledig, yr oedd ei gwaith yn anghefnogi llafur Griffith Jones yn profi beth oedd ei sefyllfa hi; a chyflawnodd fesur ei hanwiredd yn nhroad allan y diwygwyr yn Lloegr a Chymru. Ac y mae yn bur darawiadol, pan y daeth y diwygiad, nad oedd neb yn ei brisio yn fwy na'r rhai mwyaf ysprydol ymysg yr hen Anghydffurfwyr. Yr ydoedd iddynt hwy fel bywyd o feirw. Yn Hunanfywgraffiad John Thomas, a ysgrifenwyd ganddo yn y flwyddyn 1767, ceir gair tra nodweddiadol. Dechreuasai y gwr hwn bregethu gyda'r Methodistiaid; bu yn cadw ysgol mewn amrywiol fannau, eithr ymunodd â'r Annibynwyr, a bu yn weinidog

llafurus ar eglwys Rhaiadr Gwy a nifer o eglwysi eraill yn sir Faesyfed. Yn y flwyddyn 1761 aethai i Athrofa y Fenni; "ond byddwn, yn y gwyliau," meddai, "yn rhoi tro i sir Aberteifi, i gael tipyn o dân Llangeitho i gadw fy enaid rhag sythu yn y fro tua'r Fenni." Tebyg fod digon o oleuni i'w gael "yn y fro tua'r Fenni," ond tân oedd yn brin yno.

Gellir casglu beth oedd sefyllfa crefydd yng Nghymru hefyd mewn adeg foreu oddiwrth ganeuon Rhys Prichard, ac mewn adeg ddiweddarach oddiwrth farwnadau Williams o Bantycelyn. Y mae yr un mor deg i ni gasglu hanes crefydd yng Nghymru oddiwrth y caneuon hyn, ag ydyw i feirniaid Homer gasglu pa fath grefydd oedd yng ngwlad Groeg oddiwrth ei ganeuon ef. Dylid cofio hefyd, heblaw bod yn awenydd blas-ber, fod Williams yn hanesydd eglwysig o gryn ymchwil, fel y prawf ei lyfr ar "Hanes Holl Grefyddau y Byd." Yn ei farwnad i Howel Harris, yn y pennill a feirniedir mor lym yn fynych, gallwn ganfod nid yn unig nerth desgrifiadol, eithr hefyd graffder hanesyddol:—

"Pan 'roedd Cymru gynt yn gorwedd,
Mewn rhyw dywell, farwol hûn,
Heb na Phresbyter na 'ffeiriad,
Nac un esgob, ar ddi-hûn;
Yn y cyfnos tywyll, pyg-ddu,
Fe ddaeth dyn fel mewn twym ias,
Yn llawn gwreichion goleu, tanllyd,
O Drefeca fach i ma's."

Credwn mai nid heb amcan neillduol y defnyddia y bardd y gair "cyfnos"—yr adeg rhwng dydd a nos; ac nid cyfddydd—yr adeg rhwng nos a dydd. Dydd Puritaniaeth wedi darfod; ac, o ran dim ellid ei ddisgwyl oddiwrtho, ei haul wedi machludo. Yn agosach i ddiwedd yr un gân sonia am Harris yn "dihuno" yn y plygain pan 'roedd hi yn dywyll nos. Wrth son yn y rhan gyntaf am y "cyfnos," edrycha ar y dydd oedd wedi myned heibio; ond yn y rhan arall, wrth son am y "plygain," golyga y dydd oedd ar dorri. Cadarnheir

ni yn y syniad ei fod yn dewis ei eiriau gydag amcan neillduol, pan y darlunia Griffith Jones, o Landdowror, yn ei farwnad iddo, fel seren :—

"* * * A ddisgleiriodd
Pan oedd tew gymylau'r hwyr
Wedi 'hedeg dros ardaloedd,
A difetha'u goleu'n llwyr;
Gweinidogion bron yn gyson
Oedd yn eu hanner nos o hûn,
Bloedd ei udgorn ddaeth yn union,
Ac fe'i clywodd ambell un."

Ond y mae yn eglurach o lawer eto pan y dywed, mewn rhyddiaeth blaen, yn ei atebiad gan *Philo Evangelius* i lythyr *Martha Philopur* am ansawdd crefydd yn adeg toriad allan y Diwygiad Methodistaidd :—

"Ac ar ol dyfod rhyddid cydwybod, yn nyddiau'r Brenin William, o fendigedig enw, yr *act* orau wnaed erioed ar ochr crefydd; eto ymhen ychydig oerodd y ddwy eglwys, nes i anwybodaeth oresgyn wyneb y tir, gwŷr y cwrdd, cystal a gwŷr yr eglwys, oedd yn diodde'r twmpath chwareu, anwybodaeth oedd yn goresgyn wyneb Cymru, nid oedd braint a safai i fyny yn erbyn llygredigaeth yr oes, nes oddeutu'r flwyddyn 1738 y torodd goleuni allan fel y wawr mewn llawer o ardaloedd y byd: offerynau bywiol amryw a godasant yn Lloegr, ac aethant i'r prif-ffyrdd a'r caeau gan bregethu gair y bywyd mewn amser ac allan o amser."

Yna aiff ymlaen i ddangos, mewn iaith ddesgrifiadol gref, fel yr oedd y tân nefol wedi ennyn yn yr Alban, yn Lloegr Newydd, ac yn Georgia; a thyr allan, pan y daw at hanes enynniad y tân yng Nghymru, yn y geiriau canlynol :—

"Ond O! hyfryd forau, disgleiriodd yr haul ar Gymru, fe gododd Duw offerynau yma o'r llwch ac a'u gosododd i eistedd gyda phendefigion ei bobl." * * * "Chwe' sir y Dehau a gofleidiodd y gair yn forau, fe glywyd y ceiliogod yn canu, fe ddihunodd hen wylwyr ag oedd wedi cysgu; pregethwyd bob Sul yn yr eglwysi; deffrodd Ymneillduwyr."

Gadawn, hyd ysgrif arall, ein sylwadau ar y diwygiad yn ei nodweddau cyffredinol, ei gysylltiadau llenyddol, a'i ganlyniadau.

II.

Yr ydym, yn ein hysgrif flaenorol, wedi profi, i bob meddwl diragfarn, ni dybygem, beth oedd sefyllfa Cymru ar doriad allan y diwygiad, a pha beth a ddaethai o'r wawr a dorasai allan cyn hynny drwy lafur yr Anghydffurfwyr. Y mae yn demtasiwn i ni ddyfynnu ychydig o ymadroddion ymhellach, ar yr un mater, a geir gan Charles o'r Bala. Nis gwyddom pa un i synnu ato fwyaf yn Mr. Charles, ai eglurder ei dduwinyddiaeth, boneddigeiddrwydd ei ysbryd, ai ynte ei degwch hanesyddol. Un amcan ganddo yn ddiau yng nghychwyniad y *Drysorfa Ysprydol* ydoedd gwneyd cyfiawnder â'r hen Anghydffurfwyr. Fel hyn y dywed yn ei sylwadau am Walter Cradoc:—

O osod y cwbl ynghyd, pell fyddom oddi wrth feddwl yn wael am y deffroad a'r diwygiad crefyddol a welodd Cymru yn yr oes ddiweddaf. Er na chyrhaeddodd trwyddi, yn gyffredinol oll, fe wnaeth ei ol, gyda nerth neillduol, trwy lawer o'i hardaloedd, yn enwedig yn siroedd Mynwy, Brecheiniog, Maesyfed, Trefaldwyn, a Dinbych: a ffrwyth oddiwrtho ydyw amryw o gynulleidfaoedd yr Ymneillduwyr a'r Bedyddwyr, sydd mewn amryw fannau hyd heddyw. Parch dyladwy i'r gwŷr enwog, llafurus uchod, yw fod eu coffadwriaeth yn beraidd ac yn werthfawr gan bawb a garant lwyddiant yr Efengyl yn ein gwlad. Drwyddynt hwy, ac eraill o'u cyd-weithwyr, nad ydynt mor hyspys i ni, fe wawriodd goleu-lewyrch ar ein gwlad: ac y mae, mewn mesur mwy neu lai, yn parhau o hynny hyd heddyw; ydyw, trwy anfeidrol ddaioni Duw; ac, er pob rhyw gymylau, fe "gododd yr haul yn uwch i'r lan:" torrodd ei oleu a'i wres allan yn fwy grymus: ymledodd gwybodaeth, er gwaethaf pob gwrthwynebiad; bu orfod ar y bwystfilod rhuadwy, na fedrant garu'r goleuni, ffoi a distewi yn eu llochesau dreigaidd eu hunain. * * * Ond cafodd y wawr hyfryd a'r boreu-oleuni hwn ei orchguddio gan gymylau duon: daeth ataliad buan ar y gwaith, o ran ei lwyddiant grymus; a'i effeithiau harddaf a aethant yn raddol ar ddiflaniad.

Yna dyry Mr. Charles y rhesymau tebygol am y dirywiad, megis y rhyfeloedd gwladol, a'r terfysgoedd a gymerasant le yn y blynyddoedd hynny, a'r erlid a'r

carcharu fu ar yr hen Ymneillduwyr tua'r adeg honno; ond yn y geiriau canlynol rhydd yr hyn a ystyriai efe y prif reswm dros fethiant y diwygiad hwnnw, yn amser yr Anghydffurfwyr:—

Ond feallai mai yr achlysur mwyaf o'r diflaniad oedd y diffyg o ymuniad â'u gilydd fel corff cyd-gysylltiol. Yr oeddynt megis esgyrn da i'w corffori: ond eto yn parhau heb *gymalau cynhaliaeth*. Heb law hyn oll, er bod y tri gwŷr uchod (sef Mri. Wroth, Vavassor Powel, a Walter Cradoc) o yspryd tangnefeddus, ac yn cyd-rodio mewn cariad, ar yr un pryd ag yr oeddynt yn wahanol eu barnau am rai pethau; eto ymhlith eu canlynwyr cyfododd *dadleuon anfuddiol* ynghylch trefniadau a llywodraeth eglwysig, y drefn o fedyddio, &c. A'r dadleuon hyn am bethau o ychydig bwys a fagasant bleidgarwch ac anghariad; aeth rhwymyn tangnefedd yn chwilfriw; a darfu, mewn gradd mawr, am bob undeb yspryd. Dyma'r modd y gwanhawyd, ac, yn y diwedd, y difethwyd eglwysydd cyfain.—(*Trysorfa Ysprydol*, cyf. i., Hyd., 1799).

Bellach awn ymlaen at amser toriad allan y Diwygiad Methodistaidd. Cofier mai yn ei gysylltiadau cyffredinol yn unig y mae a wnelom ni âg ef yn awr; nid ydym yn proffesu myned i mewn i'w fanylion na cheisio olrhain ei hanes mewnol,—perthyn hynny yn bennaf i diriogaeth y duwinydd a'r hanesydd eglwysig. Y mae un peth ynglŷn âg ef yn taro pawb, sef ei sydynrwydd, a'r ffaith ei fod wedi torri allan tua'r un adeg mewn amrywiol fannau. Rhyw gyffrawd nefol ydoedd yn cynniwair draw ac yma, ac nid llanw rheolaidd yn llifo o'r naill wlad i'r llall ar hyd y sianelydd arferol. Felly y dengys hanesiaeth eglwysig y bu gydag amryw ddiwygiadau yn flaenorol. Torodd y Diwygiad Protestanaidd allan, tua'r un adeg, yn Germani, Switzerland, a Ffrainc, a hynny ar unwaith, ac heb unrhyw gysylltiad, i olwg dyn, rhwng y toriadau allan â'u gilydd. Gwir fod yr offerynnau drwy y rhai y daeth i'r golwg yn naturiol yn agosau at eu gilydd; ond yr oedd hynny bob amser ar ol i'r amgylchiad gymeryd lle. Digon gwir hefyd fod parotoadau rhagluniaethol, bob amser, yn rhagflaenu y diwygiadau; ond yr oedd y cyfryngiadau dwyfol yn ym-

ddangos fel yn hollol annibynol ar y rhai hyn. Symudiadau dwyfol yn nhiriogaeth crefydd hefyd ydyw pob gwir ddiwygiad, er y bydd llawer o gyfnewidiadau cymdeithasol a hanesyddol yn canlyn fel effeithiau. Yr oedd cychwyniad Cristionogaeth, y Diwygiad Protestanaidd, a'r Diwygiad Methodistaidd, yn meddu rhyw nodweddau tebyg i'w gilydd. Cynwysai pob un ohonynt ffrwyth aeddfed cyfnodau blaenorol, a gwreiddiau cryfion oesau dilynol. Ffurfia pob un ohonynt drobwynt hanesyddol pwysig: teimlir eu heffeithiau hyd ddiwedd amser. Arweiniwyd hwynt i mewn gan ogwyddiadau meddyliol a chan amgylchiadau rhagluniaeth. Rhagflaenid cychwyniad Cristionogaeth gan y dyheuadau a gynyrchwyd gan fynegiadau prophwydi ac arweinwyr, gan wasgariad yr Iuddewon, buddugoliaethau Alexander, iaith a llenyddiaeth Groeg, arfau a chyfreithiau Rhufain, dirywiad eilunaddoliaeth, lledaeniad ammheuaeth, awydd am ddatguddiad adnewyddol o Dduw, a gobeithion am Fessiah. Blaenorid y Diwygiad Protestanaidd gan ymlygriad y Babaeth, dirywiad mynachaeth, duwinyddiaeth yr Ysgolwyr, cynnydd cyfriniaeth, adnewyddiad llenoriaeth, darganfyddiadau celfyddydol a daearyddol, cyhoeddiad y Testament Groeg, yspryd rhydd-ymchwiliad, egnion tuag at gyrraedd rhyddid personol a chenedlaethol. Deffroid gwledydd cyfan gan leisiau dwyfol yn galw trefn allan o'r annhrefn. Ac fel yr ydym wedi dangos o'r blaen, yr oedd arwyddion cyffelyb i'r rhai hyn, eithr ar raddeg lai, yn blaenori y Diwygiad Methodistaidd hefyd. O dan y llygredigaeth a'r anystyriaeth, o dan y ffurfioldeb peirianyddol, a nodweddai yr oes honno, islaw i arwyneb cymdeithas, yr ydoedd rhyw is-lais dwfn yn prophwydo i'r craff ei olygon a'r teneu ei glust fod, wrth y drws, rywbeth a dorai ar yr unffurfiaeth marw hwn. Eithr pan ddaeth y diwygiadau cydnabyddai pawb mai cyfryngiadau dwyfol oeddynt. Er y dymuno a'r disgwyl am dano, a'r parotoi mewn rhagluniaeth ar ei gyfer, pan y daeth y diwygiad teimlai pawb mai y "peth yma" yn cael ei

dywallt o'r nefoedd ydoedd. Nis gellid ei gamsynied. Nid oedd y parotoad rhagluniaethol yn gwneyd y cyfryngiad ysprydol, yr hyn a ffurfiai gnewyllyn y diwygiad, yn llai dwyfol.

Teimlai arwyr y diwygiadau hyn ryw hoender ysprydol yn eu meddiannu yn awyr y diwygiad. Y teimlad o ddechreu gwanwyn a dyfodiad haf ysprydol ydoedd. Toddai i ffwrdd rew gauafau hirion, a thywynai, o'r diwedd, haulwen haf. Cwynai grwgnachwyr ac ofnai llwfriaid; ond meddiennid ysprydoedd eraill gan asbri digyffelyb. "O! ganrif," meddai Ulric Von Hutten, "ffynna yr efrydiau, deffry yr ysprydion, amheuthyn ydyw cael byw." "Pe y darllennech holl groniclau yr amser a aeth heibio," ebe Luther, "ni chaech ganrif, er genedigaeth Crist, fel hon." Tebyg ydoedd hanes ysprydoedd yng ngwawr y Diwygiad Methodistaidd. Dyfynasom eisoes beth a ddywedai Morgan Llwyd o Wynedd am dano, cyn ei doriad allan. Ymbranciai Williams o Bantycelyn mewn nwyfiant yn ei oleuni a'i wres. Tebyg mai efe oedd un o'r rhai mwyaf eryraidd ei olygon o'r Diwygwyr Cymreig. Gwrandawer arno yn y llinellau canlynol:—

Oddeutu dechreu y dyddiau hynny, meddaf, y torrodd allan ddiwygiad hyfryd mewn amrywiol fannau o'r byd, fel goleu yn torri allan o tan gwmwl tywyll; yn gyflawniad o'r 'sgrythyr sy'n dywedyd, "Y bobloedd oedd yn eistedd mewn tywyllwch a welodd oleuni mawr; ac i'r rhai a eisteddent ym mro a chysgod angeu y tywynodd goleuni iddynt." Er's oes o'r blaen yr oedd trwmgwsg fel diluw wedi ymdaenu dros wyneb yr holl eglwysi diwygiedig; nid yn unig yn Europ, megis Cymru, Lloegr, Scotland, ac Iwerddon, ond hefyd eglwysi Gogledd America; a'r goleuni hwn, pan y torrodd allan o ganol y tywyllwch, oedd ryfeddod a syndod i bawb, megis y goleuni yn y Gogledd; mor ddisymwth, mor oleu, ac mor awdurdodol y daeth i lawr at ddynolryw, i ddatguddio iddynt eu trueni a'u colledigaeth, fel yr oedd goleuni y Gogledd yn arwydd cymhwys ohono; mor oleu ac mor awdurdodol fel nad oedd lle i neb i'w wrthsefyll; mor ddisymwth fel na ŵyr neb yn iawn pa le y dechreuodd gynta'; ac mor gynted yr ehedodd ymlaen, ac y cynysgaeddodd, fel y llanwodd wyneb y tir mewn ychydig ddyddiau; yn cyflawni yr Ysgrythyr sy'n dywedyd, "Fel y tywyna'r fellten o'r dwyrain i'r gorllewin, felly y bydd dyfodiad Mab y Dyn."

Nid oes neb a wyr, meddaf, pa le y torrodd y tân hwn allan gyntaf; os yn America, yr oedd efe wedi ennyn yma yn Europ erbyn i'r newydd ddyfod trosodd o'i fod wedi ennyn yno; os yn Europ, gynted ag yr oedd y fflam yma, daeth y newydd ei bod hi yno hefyd; ac y mae yn bur debyg i'r Yspryd a gwympodd ar y ddau dyst yn Lloegr Newydd gwympo hefyd ar yr un amser ar ddau arall yn hen Loegr: ac felly eilwaith ar ryw rifedi bychain o athrawon yn Scotland, Cymru, a lleoedd eraill: ond ymhen ychydig flynyddau yr oedd y tân hwn wedi ymdaenu i amryw ardaloedd yn Europ ac America; fel erbyn heddyw y mae holl Ogledd America yn cael clywed Efengyl Crist: ac nid llai yr ymdaenodd yn Europ; canys Gwynedd a Deheudir Cymru, Iwerddon, ac amryw leoedd eraill, a gafodd yn ddi weddar glywed am yr iachawdwriaeth rad.

Dyfynasom y desgrifiad uchod o'i Draethawd a eilw *Aurora Borealis*, lle y mae, mewn afiaeth mawr, yn ceisio cysylltu rhyw ymddangosiadau neillduol o'r Goleuni Gogleddol, ag oedd wedi ymddangos yn y ffurfafen y pryd hynny, â'r diwygiad oedd yn canlyn, fel ei arwydd, lle y dengys ei fod yn gorfoleddu yn ei oleuni. Gyda'i fedr desgrifiadol fe welir ei fod yn troi ac yn ymdroi gyda'r diwygiad nes myned yn amleiriog; ond gan ei fod yn ddarlun mor gywir o doriad allan y Diwygiad Methodistaidd tybiasom mai gwell oedd ei adael, er ei feithed, i lefaru drosto ei hun.

A oes rhyw ddeddf yn llywodraethu ysgogiadau diwygiadau crefyddol, ai ynte yr hyn a elwir gan dduwinyddion yn benarglwyddiaeth yw y cwbl o'u hanes? Yr unig un ar a welsom ni, a geisiodd ateb hyn, oedd y meddyliwr Americanaidd gwreiddiol, Horace Bushnell. Mewn cyfrol o draethodau o'i eiddo *(Pulpit Talent: Essays;* cyhoeddedig gan R. D. Dickinson, tudal. 138), ceir traethawd ar "*The Spiritual Economy of Revivals of Religion*," lle y ceir ef yn ymdrin yn helaeth â'r cwestiwn uchod. Wedi darllen yr ymdriniaeth, amryw weithiau drosodd, nid ydym yn proffesu ein bod lawer cymhwysach i ateb y gofyniad uchod. Dylid cofio hefyd mai am Adfywiadau, ac nid Diwygiadau, y sonia Bushnell. Deil ef fod rhyw ymdoniadau tebyg, mewn ystyr wleidyddol a chym-

deithasol, yn ymdaenu yn fynych dros arwynebedd eang, a'u bod megis yn heintus, nas gellir eu troi yn ol na'u llywodraethu mwy na llanw y môr. Tybia fod yma gyfatebiaeth rhwng y rhai hyn a chynhyrfiadau yn y byd crefyddol. Os ydyw Duw mewn anian, a thrwy ragluniaeth mewn cymdeithas, yn ysgogi pob peth, llawer mwy y gellid disgwyl ei fod yn ei eglwys yn peri y cyfnewidiadau sydd yn angenrheidiol er cynnydd a llwyddiant crefydd yn y byd. Dengys fod y cynhyrfiadau mewn natur yn ateb dibenion goruchel, yn gystal a'r rhai mewn cymdeithas; paham lai nad ydyw cynhyrfiadau crefyddol yn ateb amcanion teilwng o Dduw. Nis gall anian ddangos ei bod yn llawn o Dduw oddieithr drwy gyfnewidiadau: gelwir natur yn wisg yr Anfeidrol: pe na byddai ysgogiadau bywyd o dan y wisg, ni byddai ond amdo, ac nid gorchudd dros fywyd. Dengys Duw ei Hun, mewn natur, drwy chwyldroadau yn gystal ag mewn tawelwch, drwy bethau ofnadwy yn gystal ag ym mhrydferthion y greadigaeth. Felly y mae yr Yspryd yn datguddio y presenoldeb Dwyfol yn yr Eglwys drwy amseroedd o gynhyrfiadau ac adfywiadau, yn gystal a thrwy adegau o ddisgwyl tawel ac o gymundeb distaw.

Ond pa fodd bynnag, y mae yn ffaith hanesyddol darawiadol am y Diwygiad Methodistaidd iddo dorri allan mewn amryw wledydd tua'r un adeg, ac mewn tri o fannau yng Nghymru, heb fod unrhyw gysylltiad i'w weled rhyngddynt â'u gilydd. A pheth arall am dano, y mae yn hawdd ei adnabod, mai yr un symudiad ydyw, —oblegid caria ei brif nodweddion gydag ef i bob man. Fel pob symudiad o'i fath, cyfaddasa ei hunan i'r wlad a'r genedl y tŷr allan ynddi; a chan ei fod yn ddyfnach ei wreiddiau na chyffroadau cyffredin, cyfranoga yn helaeth o nodweddion cenedlaethol y gwledydd hynny. Ond nid ydyw yn meddu cymeriad politicaidd o gwbl. Ni bu diwygiad erioed yn llai felly. Cyfranogai Cristionogaeth yr eglwysi Dwyreiniol a Gorllewinol o deithi y cenedloedd y ffynnent yn eu mysg, sef y Groegiaid, a

hoffent athroniaeth, a'r Rhufeiniaid, a garent lywodddyeg. Cyfaddasodd y Diwygiad Protestanaidd ei hun, i'r cenedloedd Teutonaidd drwy Luther, ac i'r cenedloedd Lladinaidd drwy Calfin a Zwinglius. Yr un ydoedd y diwygiad; eithr derbyniai rhyw gymaint o naws oddiwrth y cenedloedd y ffynnai yn eu plith. Felly hefyd am y Diwygiad Methodistaidd; gwahaniaetha ychydig yn ei ddiwyg yn ol y cenedloedd a'r gwledydd y tarddodd ynddynt. Ond yr ydym yn dal ei fod yn llai felly na diwygiadau yn gyffredin; oherwydd fod, o'r dechreu, lai o elfennau gwleidyddol yn gymysgedig âg ef. Daeth fel yspryd o fyd arall; ac ni fynnai, am amser, unrhyw wisg ddaearol. Bu, am yspaid hir, yn "ronyn noeth," ac fel pe buasai Duw am "roddi iddo gorff fel y mynnodd efe." Daeth tywysogion y byd hwn, yn fuan wedi cychwyniad y diwygiad yn Germani, i ymyryd yng ngwaith Luther, ac i roddi arlliw politicaidd ar y diwygiad; yr oedd Zwinglius, o'r dechreu, yn wleidyddwr, a'r diwygiad drwyddo yn cyfranogi o'r cymeriad hwnnw. Gwrthwynebai yn bybyr i'w gydwladwyr gael eu hurio yn filwyr llog i Gyfandir Ewrob, a bu yntau ei hunan farw mewn brwydr dros yr egwyddor hon. Ond am arwyr y Diwygiad Methodistaidd, nid oedd ganddynt hwy unrhyw genadwri wleidyddol, fel y cyfryw, i'w dwyn at eu cyd-ddynion. Yr oedd hynny, wrth gwrs, yn dyfod i mewn, yn gryf ac yn gyfreithlawn, yn hanes eu holynwyr; eithr nid oedd ganddynt hwy eu hunain, ar y cychwyn, unrhyw ffydd wleidyddol *(propoganda)* i'w lledaenu. Difyrus ydyw darllen yr hyn a ysgrifennir am "wladweiniaeth John Wesley;" ond nid oedd gan Wesley unrhyw wladweiniaeth, mwy nag yr oedd gan George Whitfield neu Hywel Harris gredo politicaidd i'w phregethu. Arhosasant yn Eglwys Loegr tra y cawsant fod ynddi; a chymerasant eu troi allan ohoni pan y daeth hynny i'w rhan: ac hyd ag y gwelwn ni oddiwrth eu hanes, ni ddarfu i gysylltiad eglwys â gwladwriaeth, neu ragoriaeth gweriniaeth ar freniniaeth, demtio sylw yr un ohonynt erioed. Achub eu

cyd-ddynion, a phregethu i'r byd, oedd eu gwaith mawr; a'r Efengyl ydoedd eu cenadwri fawr hwy i'w hoes. Yn hyn yr oedd y tadau Methodistaidd Cymreig yn wahanol iawn i'r hen Anghydffurfwyr Cymreig oedd o'u blaenau. Yr *oedd* gan yr Anghydffurfwyr syniadau politicaidd cryfion. Ni chredai rhai ohonynt mewn breniniaeth fel y ffurf oreu o lywodraethu; ac ni chredai neb ohonynt mewn cysylltu eglwys â'r llywodraeth. Ymranasant yn ddau wersyll, yn y Dywysogaeth, yn yr amser y cyhoeddwyd Cromwell yn Arglwydd Amddiffynydd Prydain Fawr,—Walter Cradoc a'i ganlynwyr o blaid, a Vavassor Powel ac eraill yn erbyn. Hyn a barai i Ieuan Brydydd Hir alw yr Anghydffurfwyr, bob amser yn "Ymwahanyddion;" tra mai ei enw ar y diwygwyr ydoedd "Methodyddion." Un gofalus am ei enwau ydoedd Ieuan Brydydd.

Ond dylid cadw mewn cof wirionedd arall, sef, ddarfod i'r Diwygiad Methodistaidd ddeffroi yspryd cenedlaethol y gwledydd yr ymdonnodd drwyddynt, ac yn neillduol felly Cymru. Y mae cysylltiad agos yn wastad rhwng diwygiad crefyddol â deffroad cenedlaethol. Nis gall hynny beidio a bod: oblegid y mae deffro cydwybod a chalon dyn yn ysprydol yn ei wneyd yn elyn i bob trais a gorthrwm, lle bynnag y byddo. Ond nid oedd hyn yn amcan gan y diwygwyr. Aethant hwy allan gyda'r amcan syml o achub eneidiau coll. Llyngcasid hwynt yn gymaint gan hyn fel y cyhuddid hwynt gan eu gelynion o wallgofrwydd a phenboethni. Ni fu Lloegr byth mor ferfaidd farw mewn ystyr genedlaethol, ar ol y diwygiad; a chyfododd llu o ddynion yng Nghymru yn meddu asgwrn cefn i ddioddef, a gwroldeb i herfeiddio pethau na ddywedid gair yn eu herbyn cyn hynny. Fe fyn gwŷr ieuainc aiddgar "Cymru Fydd," yn neillduol y rhai hynny ohonynt a ddygwyd i fyny ar aelwydydd lle yr oedd dylanwad y Diwygiad Methodistaidd yn gryf, fod y ffurf a gymerodd yng Nghymru wedi parotoi y genedl at hunan-lywodraethiad. Edrych y peth ar ei wyneb yn eithaf tebyg fod y

"seiat brofiad" yn parotoi ar gyfer y Cynghor Plwyf, fod y "Cyfarfod Misol" yn gyndd[illegible] o'r Cynghor Sir, a bod y "Sasiwn" yn gynllun godidog o'r Cyngor Gwlad sydd mewn addewid i ni yn y man. Ond nid ydynt hwy, ac ni ddylem ninnau, olygu hyn fel amcan gan y diwygwyr, nac mewn un modd yn rhan o'r diwygiad. Ynddo ei hunan, cyffrawd crefyddol pur a syml ydoedd, heb unrhyw elfennau politicaidd ynddo o gwbl. Ei ganlyniadau ydyw y pethau hynny. Pob peth o nodwedd wleidyddol ydynt yn ffrwythau iddo. "O'r diwygiad hwn," medd Dr. Lewis Edwards, "y tarddodd y sefydliadau gwladgarol a'r cymdeithasau crefyddol sydd yn cyfansoddi prif hynodrwydd y ganrif hon."

Pe gofynnid i ni ddesgrifio y diwygiad hwn mewn un gair, ni byddai ynom y petrusder lleiaf i ddweyd mai y gair priodol fyddai *tân*. Dyma ei air allweddol,—oherwydd mai dyma ydoedd ei brif nodwedd—gwres mawr a thân eirias-boeth yn llosgi ar ddeheu ac ar aswy. Geilw Dr. Fisher y diwygiad yn Lloegr yn "Arminiaeth ar dân" *(Fisher's Church History*, tudal. 519); a gallwn ninnau, yr un mor briodol, alw y rhan Gymreig ohono yn "Galfiniaeth ar dân." Yr un yw y tân, er y gwahaniaeth credöau; ïe, y mae y tân, pan y'i teimlir, yn llosgi ymaith, i fesur mawr, y gwahaniaeth credoau. Mae'n ddiameu fod y ddwy adran o'r diwygiad a gynrychiolir gan y ddau gredo hyn yn nes at eu gilydd nag y meddyliasant eu bod ar y cyntaf. Y mae yn sicr eu bod yn agosach at eu gilydd nag yr oeddynt at y pleidiau eithafol a ymarddelwent ar eu henwau ar bob llaw iddynt. Nid hen Arminiaeth Holland, yr hon a ddaeth drwy Eglwys Loegr, ag a gollwyd yng nghorsdiroedd Sociniaeth a Phelagiaeth, mo Arminiaeth John Wesley; ac nid Calfiniaeth oer rhai o'r hen Anghydffurfwyr, yr hon a gollwyd yn sych-diroedd Uchel Galfiniaeth, mo Galfiniaeth George Whitfield a'r tadau Cymreig. Gwres y diwygiad a wnaeth y gwahaniaeth. Yn Lloegr, yn amser y Freninen Caroline, daeth Arminiaeth Holland

yn gred gyffredinol yr Eglwys Esgobyddol Seisnig. Lefeiniodd, gyda'i hyspryd ysgoleigaidd eithr clauar, dduwinyddiaeth Seisnig y ddeunawfed ganrif; ond daeth, trwy gael ei berwi yn nhân y Diwygiad Methodistaidd, yn rhywbeth amgenach, ïe, yn wir, yn rhywbeth arall gwahanol i ddim ydoedd yn ei chartref brodorol, a thra gwahanol i ddim y bu wedi ei thrawsblannu i Loegr. Yr oedd y lle mawr a roddai Wesley i'r angenrheidrwydd am waith yr Yspryd Glân, ynghyda'r brwdfrydedd sanctaidd a dreiddiai drwy yr holl symudiad Wesleyaidd, yn peri fod Arminiaeth y Methodistiaid, fel cyfundrefn ymarferol, yn rhywbeth holl wahanol i hen Arminiaeth Holland a Lloegr. Ac y mae'n debyg mai y clauarineb ofnadwy a fodolai ymhob cylch yn flaenorol iddo sydd wedi rhoi ffurf i'r Diwygiad Methodistaidd; nid oedd ond tân, a thân mawr, a allasai weithio i ffwrdd y llugoerder merfaidd a nodweddai braidd bob peth pan y torodd allan. Collasai crefyddwyr, o bob plaid a chyfundeb, eu hynni i ddim ond i ymddadleu â'u gilydd; tebyg mai yr oes honno oedd milflwyddiant cyndyn-ddadleuaeth. I dorri ar hyn rhoddes Duw y ddaear ar dân, a'r oddaeth honno yw y peth a elwir y Diwygiad Methodistaidd.

Gofyniad tra naturiol, yn y fan hon, ydyw, Pa gyfrif sydd i'w roddi am fethiant yr aden Galfinaidd o'r diwygiad yn Lloegr, tra y bu mor llwyddianus yng Nghymru. Ac y mae hyn yn fwy rhyfedd pan y cofiom y fath ffaith fawr ydyw llwyddiant yr aden Arminaidd ohono drwy Loegr a'r byd. Clywsom a gwelsom amryw resymau yn cael eu dwyn ymlaen i geisio esbonio hyn. Tybia Dr. Lewis Edwards fod gwaith Whitfield *wedi* llwyddo; ond ei fod wedi ei lyncu i fyny, yn Lloegr, yn y blaid Efengylaidd yn yr Eglwys Sefydledig. Ond y mae y blaid honno, fel y bodola yn awr, yn Eglwys Loegr, fel y mae'r gwaethaf, yn prysur ddiflannu. Eraill a dybiant fod Arminiaeth wedi llwyddo yn Lloegr, oblegid fod awyrgylch yr Eglwys Sefydledig yn llawn o'r syniadau hynny. Eithr onid oedd awyrgylch

yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru i ryw fesur wedi ei lefeinio gan yr un syniadau? ac eto, wele y rhan Galfinaidd o'r diwygiad wedi ffynnu yma, er hynny. Ond y mae y Prifathraw T. C. Edwards, D.D., mewn anerchiad galluog a draddododd, yn y Bala, ar yr achlysur o drydedd Jiwbili y Methodistiaid Calfinaidd, yn awgrymu fod ei lwyddiant yng Nghymru i'w briodoli i ddylanwad Griffith Jones o Landdowror, yr hwn a dderbyniai erthyglau Eglwys Loegr yn eu gwedd Galfinaidd. Ond nid ffyniant y rhan Galfinaidd o'r diwygiad yng Nghymru sydd gennym dan sylw yn awr, eithr aflwyddiant y rhan Galfinaidd, gyda Whitfield, yn Lloegr. Addefa pawb mai felly y bu; oblegid nid ydyw Cyfundeb yr Arglwyddes Huntingdon, ei olynydd uniongyrchol, ond ychydig iawn mewn nerth na rhif; ac am y gweddill o ddylanwad uniongyrchol Whitfield, y mae fel wedi ei golli yn y tywod. Yr ydym yn credu fod a fynno y diwygiwr ei hunan i fesur â hyn. Addefwn yn rhwydd nad ydoedd efe hafal i Wesley fel trefnydd; ond credwn ei fod yn llawer gwell trefnydd nag y caiff y gair o fod. Credwn fod dylanwad yr Arglwyddes Huntingdon, am y blynyddoedd cyntaf ar ol ei doriad allan, wedi gwneyd llawer mwy o niwed nag o les i'r diwygiad, yn enwedig gyda'r werin a'r dosbarthiadau canol. Yn nosbarthiadau canol cymdeithas, fel Puritaniaeth yn flaenorol, yr oedd prif gartrefle y diwygiad hwn. "Y cylchoedd y caiff le i roddi ei droed i lawr ynddynt," ebe Dr. Karl Sell, am y Diwygiad Methodistaidd, (*The Church in the Mirror of History*, tudal. 228), "ydyw yr un rhai ag y ffynnai Puritaniaeth ynddynt, sef y dosbarthiadau canol, yn y trefi, a'r rhanbarthau gwledig." Byddai yn burion i'r cyfundebau hynny sydd wedi tarddu yn uniongyrchol o dân y diwygiad hwn gofio nad ydyw eu *genius* hwynt at y bendefigaeth. Rhan o'u dirywiad hwy ydyw ymfoneddigeiddio, ac yn eu hanes hwy, yn anad unrhyw gyfundebau, y mae uwchder yspryd bob amser yn myned o flaen cwymp. Safodd Wesley gyda'r canolradd a'r

werin,—arweiniodd rhagluniaeth Whitfield i gyfathrach â rhai o'r bendefigaeth. Prif amcan Arglwyddes Huntingdon, yn ei pherthynas â'r diwygiad, am flynyddoedd—y blynyddoedd cyntaf, ydoedd iachawdwriaeth pobl fawr *(Fisher*, tudal. 520). Amcan clodwiw yn ddiau ydoedd hwn: ac os bu pendefigaeth erioed ag eisiau ei hachub yr oedd pendefigion Prydain yn nyddiau y Frenines Anne yn sefyll mewn angen am hynny. Ond buan yr argyhoeddwyd yr arglwyddes fod y bendefigaeth heb eu braenaru i had y diwygiad, na'u bod yn credu y gwirioneddau a bregethid gan Whitfield iddynt. Adeiladodd y bendefiges gapel yng Nghaerbaddon *(Bath)*, yn bennaf ar gyfer y pendefigion a'r pendefigesau: deuai rhai ohonynt i wrando, gan dderbyn rhyw gymaint o argraff; elai y lleill adref wedi eu caledu gan athrawiaeth a phlaendra y pregethwyr. "Y mae yn ofnadwy i chwi orfod dioddef i ddweyd wrthych," ebe y Dduces o Buckingham, wrth ysgrifennu at Lady Huntingdon, ar ol bod yn gwrando Whitfield yn pregethu, "fod gennych galon can waethed a'r creaduriaid truenus sydd yn ymlusgo ar hyd y ddaear. Mae hyn yn dra thramgwyddus ac anmharchus; ac y mae yn rhyfedd gennyf fod eich arglwyddiaeth yn gallu goddef peth sydd mor groes i wir foneddigeiddrwydd a dygiad da i fyny." Y mae un cysur o'r llythyr trahaus hwn: dengys fod Whitfield yn ffyddlon i wirionedd mawr y diwygiad, wrth bregethu i wreng a boneddig. Athrawiaeth fawr y Diwygiad Methodistaidd ydoedd ailenedigaeth, a chyhoeddai y diwygiwr uwchben boneddigesau llygredig y palasdai gorwych, yr un peth ag a bregethai i lowyr tlodion y glofeydd ac i ysgubion heolydd Llundain, sef "Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." Ond hawdd gennym gredu mai megis halen ar gnawd noeth oedd gwirioneddau fel hyn i'r cyfryw. Elai rhai boneddigesau allan o'r ystafell, ym mhalas yr arglwyddes, lle y pregethai Whitfield, mewn nwyd, gan haeru fod y bregeth yn ymosodiad personol arnynt hwy. Caffai rhai o'r bendefigaeth fendith yn ddiau; ond am y

rhan fwyaf ohonynt elent i wrando yr areithydd diail am fod hynny yn un o ffasiynau y dydd; a pha argraff bynnag a wneid arnynt a ymadawai fel cwmwl y boreu.

Gellir casglu ddarfod i Whitfield geisio dwyn oddiamgylch ryw fath o gysylltiad ffurfiol, os nad swyddogol hefyd, rhwng yr Iarlles Huntingdon a'r diwygiad. Yn y flwyddyn 1749 dywedodd Whitfield wrth yr Arglwyddes Fanny Shirley, perthynas i Lady Huntingdon, eu bod, ill dwyoedd, i fod, fel Dorcas a Phœbe, iddo ef, yn gynorthwy-yddesau yn y gwaith. Yn y Tabernacl ym Moorfields, yn yr un flwyddyn, darllenodd lythyr ar goedd y gynulleidfa oddiwrth yr iarlles. Ar ol ei ddarllen canwyd emyn sydd, i chwaeth lednais, yn sawru yn ormodol o fawl i'r arglwyddes,—er ei fod yn y ffurf o weddi drosti. Yn ebrwydd ar ol y cyfarfod hwnnw danfonodd Whitfield lythyr ati fel y canlyn:—"Y mae arweinydd yn eisiau. Hyn, pa fodd bynnag, a osodwyd ar eich arglwyddiaeth gan ben Mawr yr Eglwys, anrhydedd na osodwyd ond ar ychydig, eithr ernes o anrhydedd a osodir ar eich arglwyddiaeth yng ngŵydd dynion ac angylion, pan na byddo amser mwyach." *(Stoughon*, cyf. ii., tudal. 149). O hyn allan gellir dyddio cysylltiad agos a ffurfiol rhwng yr Arglwyddes Huntingdon â'r adran Galfinaidd o'r Diwygwyr Methodistaidd; a bu hyn, i'n bryd ni, yn beth atalfa ar ei lwyddiant. Yr oedd Whitfield yn bregethwr o ddoniau dihafal—efe yn ddiau ydoedd prif bregethwr y diwygiad, ac yr ydoedd yn drefnydd gwell nag y tybir yn gyffredin; ond credwn ei fod heb ddeall ar y cyntaf nad oedd gan y diwygiad ddawn i gyfarfod â'r bendefigaeth, fel y cyfryw, ond ei fod wedi ei fwriadu i, ac wedi cyfodi o, ddosbarthiadau cyffredin cymdeithas. Sonia yn rhywle, yn ei lythyrau *(Whitfield's Letters*, cyf. iii., tudal. 384), am brydferthwch taleithiau *(coronets)* y pendefigion, yn ymyl coron ddrain y Ceidwad! "Y mae rhai taleithiau eto, mi glywaf, i gael eu rhoddi wrth draed y Gwaredwr. Disgleiriant yn ardderchog pan y gosodir hwy yn, ac yr

amgylchynir hwy gan, goron o ddrain!" Ond daeth yr arglwyddes ac yntau i ddeall eu camgymeriad. Fe drowyd Arglwyddes Huntingdon, cyn diwedd ei hoes, gan nerth y diwygiad, oddiwrth y bendefigaeth, at ddosbarthiadau eraill cymdeithas; a chyda y rhai hynny y bu ei llafur diweddaf; ond beth er hynny, yr oedd nerth y diwygiad, yn ei gychwyn, wedi ei lesteirio, hynny ydyw, mor bell ag yr oedd ffyniant y rhan Galfinaidd ohono, yn Lloegr, yn y cwestiwn.

Hawdd canfod, oddiwrth hyn, mai tân oedd y diwygiad; ac nis gallai oddef clauarineb. Yr oedd ei fodolaeth yn fath o wrthdystiad yn erbyn pob math o ddideimladrwydd gyda golwg ar bethau crefyddol; ac y mae yn anhawdd meddwl pa le y gallesid cael mwy o hwnnw yn un man nag a geffid ymysg pendefigion Prydain ar y pryd. Bu agos i'r tân gael ei ddiffodd hefyd yn yr Alban, bu agos i'r peth a elwid *Moderatism*, yr hyn nid ydyw amgen nag enw clasurol ar glauarineb, ei fygu. Yn Lloegr Newydd nid oedd eglwys sefydledig o hir sefydliad i geisio lladd y mab bychan. Yn Lloegr fe gollodd y rhan Galfinaidd ei nifer drwy gael sugno yr elfennau goreu ohono yn ol i'r Eglwys Sefydledig, a chan yr Annibynwyr; a pheth oedd lawer yn waeth, fe gollodd ei nerth drwy gael ei wywo gan foneddigeiddrwydd; ond gyda Wesleyaeth yn Lloegr, a Threfnyddiaeth Galfinaidd yng Nghymru, cafodd fyw. Nid oedd ei dadmaethod yn dychmygu iddo fyw ar wahan oddiwrth ei fam. Mynent iddo ddychwelyd ati, ond nid oedd ganddi foddion magwraeth iddo. Mam farw, ysywaeth, ydoedd; a buasai y baban byw yn trengu yn ei breichiau oerion!

O'r holl ddiwygiadau y Diwygiad Methodistaidd yw yr hawddaf ei adnabod. Ei linellau gwahaniaethol ydynt gryfion ac amlwg. Adwaenir ef ym mhob man gan ddwysder profiad, melusder emynyddiaeth, a nerth pregethu. Cyfyd hyn yn naturiol o'i brif nodwedd, sef y tanbeidrwydd teimlad a berthyn iddo. Gwir y ceir y pethau hyn yn hanes diwygiadau eraill, ac y ceir

pethau heblaw y rhai hyn yn ei hanes yntau; eithr yn nerth ac amlygrwydd y pethau hyn y ceir ei deithi gwahaniaethol. Dywed Dr. Lewis Edwards:

> Ac yn awr y mae yn bryd gofyn, Pa beth yw nod angen y Diwygiad Methodistaidd yn ei berthynas â hanes Duwinyddiaeth? Nid yw mor hawdd ateb; ond y mae yn amlwg ar unwaith mai un peth a wnaeth y Methodistiaid oedd dangos fod teimlad mewn crefydd, neu yn hytrach fod crefydd yn gwreiddio yn y galon, ac nid yn y deall yn unig. Dangosasant fod rhywbeth yn bod a alwent hwy yn brofiad, ei fod yn beth mawr, y peth goreu mewn crefydd,—er mai y tebyg iddo, hebddo ef ei hun, yw y peth gwaelaf. Dangosasant fod teimlad yn cynyrchu gweithgarwch; a bod yr hwn a welodd ei gyflwr ei hun yn llawn o awydd angerddol i achub eraill. Ond yr oedd hyn yn tarddu o ryw un gwirionedd mawr gwreiddiol; a'r gwirionedd hwnnw ydyw *effaith gwaith Crist yn dufewnol*, neu waith yr Yspryd Glân yn cyfnewid y galon.

Dyry y dyfyniad uchod, yn bur glir, ger ein bron saf-bwynt athrawiaethol y diwygwyr; felly gallwn gasglu beth ydoedd yr hyn a eilw Dr. Edwards yn "nod angen" y diwygiad. Dengys mai edrych ar bob gwirionedd o ryw bwynt tufewnol ydoedd, a dangos fel y mae yn dal perthynas â chyflwr dyn. Rhydd hyn gyfrif paham y mae y fath brofiad dwfn a dwys yn ei nodweddu ymhob gwlad. O hyn hefyd y tardd, fel y dengys Dr. Edwards ymhellach, un o brif beryglon y Methodistiaid, sef myned i chwilio am deimladau ynddynt eu hunain cyn myned at Grist, ac ymorphwys yn y teimladau hynny, wedi eu cael, heb gadw mewn cof yn barhaus mai o undeb â Christ y mae pob teimlad yn tarddu, a bod yn rhaid myn'd i'r un ffynonnell am ddefnydd pob teimlad. Gwir fod llawer mwy o hoewder a gorfoledd yn nodweddu teimladau y rhan Arminaidd na'r rhan Galfinaidd o gofleidwyr y Diwygiad Methodistaidd. Diameu fod rhyw resymau dros hynny; ond dengys hoewder profiad y naill, a digalondid profiad y llall, mai oddiar safle dufewnol yn bennaf yr edrychir ar bob gwirionedd yn y diwygiad hwn, ac mai profiad dwfn o'r gwirioneddau hyn ydyw ei brif linnell wahaniaethol.

Dyma ei hanes lle bynnag y'i ceir; ac y mae y nodwedd hon, pan ei cysylltir â meddwl fel yr eiddo Jonathan Edwards, a thuedd naturiol ynddo i ddadansoddi a thrychwilio, yn dadelfennu bron yn ddidrugaredd. Pwy a ddarllennodd draethawd Edwards ar y Serchiadau Crefyddol nad ydyw wedi teimlo min y gyllell pan y dadansodda mor ddychrynllyd wahanol deimladau, gwir a gau, yr enaid, yn y llyfr rhyfedd hwnnw? Bu yr ysgrifennydd yn ymddiddan â rhai Methodistiaid fu ar fin gwallgofi wedi ei ddarllen, a hynny yn unig yng nghyfieithiad Thomas Jones o Amlwch o hono i'r Gymraeg! Y fath rannu a difynio, pwyso a phrofi, gan un oedd yn feistr ar y gwaith, a chan un y gellir ei alw, ar lawer cyfrif, yn un o brif dduwinyddion y Diwygiad Methodistaidd.

O'r tân hwn sydd yn perthyn i'r diwygiad y cyfododd "*class*" y Methodistiaid Wesleyaidd, a "seiat brofiad" y Trefnyddion Calfinaidd. Maent mor debyg i'w gilydd a brawd a chwaer. Darllenner llyfrau y Parch. M. Guy Pearse, yn enwedig *Daniel Quorm*, lle y ceir y desgrifiad llenyddol goreu o bosibl o'r *class* Wesleyaidd, a "Rhys Lewis," lle y ceir desgrifiad tra chywir o'r seiat brofiad. Y mae y Cymro o Gernyw a'r Cymro o Gymru, oherwydd eu llosgi gan yr un tân, yn dra thebyg i'w gilydd. Gwir fod un ar gefn ei geffyl, bob amser; a'r llall yn fynych dan ei dòr: eithr y mae yn amlwg mai yr un ceffyl ydyw. Nid ydym yn gweled unrhyw brofion fod haniad y *class* a'r seiat yn dal perthynas â'u gilydd o gwbl,—yn unig tarddasant fel angenrheidiau ysprydol o'r un tân dwyfol. Ychydig o bwys a roddwn ni hefyd ar y dyb fod Wesley wedi benthycio y drychfeddwl oddiwrth y Morafiaid, a bod Hywel Harris wedi ei gael oddiwrth Bryan Duppa. Os benthyciwyd ef, yr oedd y drychfeddwl, pan y gwisgodd gorff ac yr anadlwyd yn ei ffroenau anadl einioes gan dân y diwygiad, yn beth pur wahanol i ddim a fuasai o'r blaen. Na, y mae y *class* a'r seiat yn dyfiant uniongyrchol y Diwygiad Methodistaidd: a lle bynnag y mae

cyfeillachau cyffelyb gan gyfundebau eraill, gellid yn hawdd ganfod, pe yr olrheinid yn fanwl, fod deuparth o yspryd y rhai hynny hefyd wedi dyfod o'r un ffynonnell.

Emynyddiaeth o naws arbennig sydd wedi tarddu o'r diwygiad hwn hefyd. Mae'n wir mai Isaac Watts, Anghydffurfiwr uniongred, cyn toriad allan y diwygiad, a greodd emynyddiaeth Seisnig; ond y mae i'r Diwygiad Methodistaidd ei ddalen neillduol yn hanes emynnau. Gwyddai y diwygwyr am egnion ysprydol, meddiennid hwynt gan frwdfrydedd newydd, gwrthdystient â'u holl enaid yn erbyn y marweidd-dra egraidd oedd o'u deutu, a mynnai eu hemynnau gorffori yr holl deimladau hyn. Ni wnai dyrïau disglaer caboledig, eithr lletwym, Dr. Watts, y tro iddynt hwy. Rhaid oedd i'r gwin newydd hwn gael costrelau newyddion. Dynion newydd ddod o'r tân—naturiol i'r rhai hynny fod ar dân: (gwel *The Congregationalist*, Medi, 1877, tudal. 514). Perthyn hyn mewn modd neillduol i bob cynhyrfiad: daw gwladgarwch wedi ei gynhyrfu allan mewn cathlau byw, melusber. Tyr llanw uchel o deimladau crefyddol allan mewn odlau ysprydol cryfion. Gellir cael digonedd o feirdd crefyddol, ar amseroedd tawel; eithr ymdonniad allan i fywyd ysprydol yn unig sydd yn agor y ffordd i ffrwd gref o emynyddiaeth gysegredig. Ni chymerodd hyn le hyd y Diwygiad Protestanaidd. Cyn hynny cenid ac addolid mewn Lladin anghyfiaith, ac oherwydd hynny ni ddisgynodd ysprydiaeth y fawl-gân erioed yn gryf ar Gristionogaeth y Canol-Oesoedd, hyd yn oed pan ymwelid â'r Eglwys gan rywbeth tebyg i adfywiad crefyddol. Cynyrchion mynachod myfyrgar yn eu conglau unig ydoedd yr hen emynnau Lladin; ac ni chwyddodd emynyddiaeth yr Eglwys yn afon gref, lifeiriol, hyd amser Luther. Gorlifwyd Germany gan emynnau grymus yn ffrydio allan o'i galon fawr ef; a chanlynodd llu o awenyddion eraill yn ei rawd. Ond nid felly yr effeithiodd y Diwygiad Protestanaidd ar Loegr, pan yr allforiwyd ef yma. Gwir iddo finio y deall, cynhyrfu ynni, cryfhau rhyddid, a dyrchafu y deyrnas hon mewn

llawer modd; ond ni thywalltwyd ef ar Frydain, mewn un modd, yn yspryd mawl a chân. Dichon fod y rhan a gymerth y Llywodraeth yn y diwygiad yn Lloegr, a nodwedd neillduol duwinyddiaeth Ysgotland, yn rhyw gymaint o resymau dros hyn; pa fodd bynnag, y ffaith ydyw na chyfododd yn Lloegr unrhyw emynnydd neillduol yn yr unfed na'r eilfed ganrif-ar-bymtheg. Ceid, mae'n wir, nifer o feirdd cysegredig, megis Giles Fletcher, Syr John Davies, Quarles, Herbert, Henry Vaughan, a roent dafodau i wirioneddau ysprydol ac i'w profiadau eu hunain mewn caneuon; ond ni chynyrchwyd toraeth o emynnau i lawenhau calonnau crefyddol ac i gyfoethogi yr iaith. Gadawyd hynny heb ei wneyd hyd y ddeunawfed ganrif—canrif a ystyrir bob amser yn ddaearol ac arwynebol. Ar drothwy y ganrif honno y daeth emynnydd Puritaniaeth—Isaac Watts, i'r golwg. Ond nid bardd diwygiad mohono. Yr oedd Puritaniaeth wedi peri daeargrynfäu mewn byd ac eglwys, wedi cynyrchu Cromwell, Owen, a Bunyan, cyn ei ysprydoli ef. Tra y mae ei emynnau yn llawn amrywiaeth a llyfnder, nid oes ynddynt yr angerddolrwydd hwnnw sydd yn tarddu o dân diwygiad crefyddol grymus. Feallai eu bod yn gyfoethocach mewn rhyw bethau o'r herwydd, eithr y maent yn brinach o wres bywyd.

Charles Wesley, yn Lloegr, a Williams o Bantycelyn, yng Nghymru, oeddynt emynwyr y Diwygiad Methodistaidd. Ynddynt hwy y cafodd dafod i roddi mynegiant iddo ei hunan. Fel awenyddion diwygiad safant byth ar eu pennau ei hunain. Mae'n debyg na chanwyd erioed, ac na chenir byth, yn well nag y gwnaethant hwy, am anghenion dyfnion yr enaid, sefyllfaoedd yr yspryd, yr uchder a'r dyfnder hwnnw a berthyn i hanes ysprydol y credadyn. Yr hiraeth hwnnw am faddeuant a phurdeb, y llawenydd sydd drwy gredu, y sicrwydd a'r oruchafiaeth sydd i'w chael drwy ffydd, ei buddugoliaeth ar y byd a'r bedd, a'r perlewygedd enaid hwnnw sydd i'w gael drwy yr oruchafiaeth honno, ydynt

yn rhedeg drwy holl emynnau y diwygiad hwn. Hawdd eu hadnabod ymhob man, oherwydd ynddynt y mae ysprydoedd yn cynneu ac eneidiau ar dân. Mae rhyw debygrwydd teuluaidd rhwng emynnau y Diwygiad Methodistaidd: nid oes bosibl eu camgymeryd. Gallai hyd yn oed un cyfarwydd â Watts neu Doddridge gamgymeryd emyn anhysbys o'r eiddynt; ond anhawdd fyddai gwneyd hynny âg un o emynnau Charles Wesley neu Williams o Bantycelyn. Anfynych y cyfarfyddir â'r fath ystôr o allu desgrifiadol wedi ei roi ar dân ag a geir yn y ddau hyn. Rhagora Charles Wesley yn ei emynnau o ddigon ar bob peth arall a wnaeth; eithr y mae Williams lawn cystal yn ei ddarnau meithion, megis "Theomemphus," "Golwg ar Deyrnas Crist," a'i Farwnadau, ag ydyw yn ei emynnau. Yr oedd amryw yn Lloegr a Chymru yn perthyn i'r un fintai—yn awenyddion y diwygiad; ac y mae ei berarogl ar emynnau yr oll, ond ni chynyrchasant gymaint. Toplady, awdwr yr emyn fendigedig, "Graig yr Oesoedd, ynot ti," ydoedd blentyn uniongyrchol y diwygiad; ac er ei fod yn wrthwynebydd pybyr i Charles Wesley mewn athrawiaeth, nid oes ammheuaeth na chyneuodd ei ganwyll yn ei dân ef. Rhagora ei emynyddiaeth lawer ar ei ddadleuaeth, am y rheswm eglur fod mwy o'r diwygiad yn y cyntaf nag yn yr olaf. Yng Nghymru hefyd ymddengys fod llawer, ar y dechreu, yn difyrru eu hunain wrth geisio cyfansoddi emynnau: yr oedd pawb wedi derbyn o dân y diwygiad, ond nid pawb oedd wedi cael awen. Eithr goroesodd y cymhwysaf bawb o'r lleill: Williams, Morgan Rhys, Dafydd Morrus, &c., yn unig oeddynt wedi cael y peth hwnnw a allai wneyd emynnau byw. Y mae yn amlwg fod Dafydd Jones o Gaio, un o'r Anghydffurfwyr, a chyfieithydd hyglod Salmau ac Emynnau Dr. Watts i'r iaith Gymraeg, wedi taro wrth dân y diwygiad; oblegid ceir rhai o emynnau Watts a mwy "o flas tân" arnynt yn y cyfieithiad nag yn y gwreiddiol. I ganfod effaith y diwygiad yn y cyfeiriad hwn nid rhaid ond edrych dros lyfr fel *Llyfryddiaeth y Cymry*. Cyn

toriad allan y diwygiad nid oes son am gyhoeddi emynnau, eithr yn fuan wedi ei doriad allan ceir *Casgliad o Emynnau*, *Hymnau Detholedig*, *Aleluia*, *Dyriau Duwiol*, *Hymnau Duwiol*, *&c.*, yn britho dalennau y llyfr. Amlwg i'r cynhyrfiad crefyddol hwn fod yn greadigaeth newydd i awen grefyddol Cymru; a cheir olyniaeth o gerddi cysegredig wedi dilyn o hynny hyd yn awr, sydd, yn amlwg, a naws y diwygiad arnynt. Un o'i blant, ac un o'r rhai amlycaf ohonynt, yn yr ystyr hon, ydoedd Ann Gruffydd.

Peth arall nodweddiadol o'r Diwygiad Methodistaidd ydoedd pregethu o nerth digyffelyb. Drwy bregethu y gwnaeth y symudiad hwn orchestion. Dyrchafwyd pregethu drwyddo, yng Nghymru yn enwedig, i safle nad ydoedd yn ei feddu yn flaenorol. Dyma yr adeg y daeth yr ynni, y dyhewyd ysprydol hwnnw sydd yn perthyn i wir bregethu, i mewn i weinidogaeth Cymru. Yr oedd y Diwygiad Methodistaidd, yn yr ystyr hon, fel esgyrn Eliseus—pan y deuai rhyw gorff marw i gyffyrddiad âg ef elai yn fyw yn y fan. Bywheid pregethu, ymhob man lle yr ydoedd yn farwaidd yn flaenorol, unwaith y deuai i gyffyrddiad â'r diwygiad. Cyfodai hyn o'r teimlad dwys angerddol a'i nodweddai. Teimlad yn creu dawn ydoedd, ys dywedai y diweddar Dr. Hughes (*Y Lladmerydd*, cyf. v., tudal. 199). Nid dawn i barablu a feddylir,—y mae y ddawn honno, ysywaeth, yn weddol hawdd i'w chael; eithr y ddawn i deimlo nes llosgi, ac o losgi i lefaru, a llefaru nes rhoi pob peth ar dân. Dyma wir ddawn y Weinidogaeth. Nid bywiogrwydd naturiol, nid llithrigrwydd tafod, nid arucheledd meddyliau, yn unig; eithr y peth dieithr, gwynias, dienw hwnnw, a gyfodai o ddyfnder yspryd y dynion eu hunain, ac a ganlynai, yn ei effeithiau annesgrifiadwy, bregethu y diwygiad ymhob man. Er cymaint y gwahaniaeth naturiol rhwng y diwygwyr â'u gilydd, eto canlynai yr un effeithiau eu pregethu yn wastad. Pregethai Jonathan Edwards allan o bapyr, mor dawel, heb symud llaw na throed; ond disgynai y

bobl yn gelaneddau meirwon wrth ei wrandaw, a thorent allan, ar y canol, i ruddfan am ymwared. Pregethwr naturiol, o feddwl rhesymegol, ac o draddodiad tawel, ydoedd John Wesley; ni waeddai, ni ddyrchafai, ac ni pharai glywed ei lef yn yr heol, eithr enynnai ei weinidogaeth fel tân, llosgai yn eirias nes ysgubo pob gwrthwynebiad o'i flaen. Pwy na ddarllennodd hanes ei ymweliad âg Epworth, ei hen blwyf genedigol, a'r wythnos o bregethu yno ar garreg fedd ei dad? Heriwn neb i ddangos dim *mwy* arddunol yn hanes pregethu yr oesoedd. Mis Mehefin y flwyddyn 1742 ydoedd. Gwrthodasid iddo, gan y curad, gael pregethu yn yr eglwys yn hen bulpud ei dad! cyhoeddwyd ef i bregethu yn y fynwent; ac yno, ar feddrod ei dad, pregethodd am saith hwyrnos yn olynol, i gynulleidfaoedd mawrion, ar y fath destynau a'r rhai canlynol,—"Nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod," "Trwy ras yr ydych yn gadwedig," "O! Dduw, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur." Yr oedd y llinynnau tyner a glymai deimlad y pregethwr wrth y lle, golygfeydd ei hen ardal enedigol, a gweled wynebau hen gyfeillion ei faboed, yn ychwanegu yn fawr, iddo ef, at ddwysder yr adeg. Ond yr effeithiau oeddynt yn annesgrifiadwy. Cerrid ei wrandawyr, o fesur y cerbydaid, o flaen rhyw ynad o heddwch a drigai gerllaw, ar y dybiaeth fod y dylanwad dieithr ydoedd wedi eu meddiannu o fewn cylch awdurdod hwnnw. "Pa beth a wnaethant?" gofynai yr ynad. "Y maent yn honni bod yn well na phobl eraill; ac, heblaw hynny, y maent yn gweddïo o foreu hyd hwyr," oedd yr atebiad. "A wnaethant ddim arall?" "Do," gwaeddai un hen wr o'r dorf, "os gwelwch yn dda, syr, y maent wedi argyhoeddi fy ngwraig i. Cyn iddi fyned atynt yr oedd ganddi dafod, ond yrwan y mae hi mor ddiniwed a'r oen." "Ewch a nhw yn ol," ebe yr ustus, "a gadewch iddynt argyhoeddi holl bobl dafod-ddrwg y dref yma." A'r un effeithiau rhyfedd a ganlynent ei bregethu ef a'r diwygwyr eraill ymhob man lle yr elent.

Y mae pregethu y Diwygiad Methodistaidd hefyd, fel ei emynyddiaeth, yn hawdd ei adnabod. Hawdd adnabod, ymhob gwlad, weinidogaeth y cyfundebau hynny ag y mae sawyr y tân hwn ar eu pregethwyr. Cyfaddefa yr ysgrifennydd ei wendid, pe gwendid hefyd, sef ei awyddfryd am wrando pregethau; ac y mae wedi cael cyfleusterau gweddol, o Damascus yn y Dwyrain i San Francisco yn y Gorllewin, i wrando pregethu, mewn dwy iaith; a theimla yn sicr, ar ol gwrando ar bregethwyr o wahanol gyfundebau ac o wahanol genedloedd, fod yn aruthr hawdd adnabod pregethu âg ol y Diwygiad Methodistaidd arno, gan nad ym mha wlad y'i ceir. Mae rhyw sawyr arno nas ceir mohono oddieithr ar y rhai hynny a gyffyrddasant âg ef. Y mae rhyw olyniaeth ryfedd hefyd yn perthyn i'r pregethu hwn. Dywedir fod Christmas Evans wedi ei danio gan dân Robert Roberts o Glynnog, a Robert Roberts gan dân Daniel Rowland o Langeitho. Mewn erthygl ardderchog ar Christmas Evans, yn y llyfr gwerthfawr hwnnw *Cymru*, dan olygiad y diweddar Owen Jones, Llandudno (cyf. i., tudal. 519), dywed awdwr yr ysgrif honno ddarfod i "ysprydiaeth newydd ddisgyn ar weinidogaeth Christmas Evans, wedi iddo fod yn gwrando ar Robert Roberts o Glynnog yn pregethu yn Rhydyclafrdy yn Lleyn." "Yr oedd y meddyliau ynof," ebai Christmas Evans, "ond Robert Roberts roes allwedd y *level* i mi." Ymddengys, o hynny allan, ddarfod i ystafelloedd enaid Christmas Evans ymagor; a ffrydiodd allan, o hynny hyd ei fedd, yn rhaiadrau digyffelyb, yr athrylith ryfeddaf a'r ddawn fwyaf arbennig a welodd Cymru erioed. Y mae ar goffa hefyd ddarfod i nifer lliosog o'r Anghydffurfwyr a flodeuent tuag amser toriad allan y diwygiad yng Nghymru, dderbyn yn helaeth o'i yspryd, ac y buont yn addurn i'r weinidogaeth, ac yn llosgi yn ddisglaer ym mhwlpudau y gwahanol gyfundebau y perthynent iddynt. Yn eu plith gellid nodi Lewis Rees, John Thomas, a dyn ieuanc o ddoniau

seraffaidd, o'r enw Evan Williams, a fu farw yn 29 mlwydd oed.

Bwriadasom ysgrifennu gair am gysylltiadau llenyddol y Diwygiad Methodistaidd; ond gwelwn, gan mor feithed yr ydym wedi myned, y rhaid i ni ymatal; yn unig dywedwn mai anwybyddu y diwygiad a wnai ei gydoeswyr llenyddol. A siarad yn gydmariaethol, yr oedd mwy o fywiogrwydd llenyddol, yn gyfamserol â'r diwygiad, yng Nghymru nag yn Lloegr; ond ymddygid ato gan lenorion pob un o'r ddwy wlad fel pe buasai islaw sylw. Nid oes gan Macaulay, yr hwn yr oedd ei deulu yn dyfod o ganol traddodiadau goreu y "Clapham Sect"—y blaid Efengylaidd yn Eglwys Loegr, ond un cyfeiriad byr at John Wesley! Os felly yr ydoedd yn Lloegr, llawer mwy yr ydoedd felly yng Nghymru. Ni restrwyd erioed mo Williams o Bantycelyn ymysg beirdd Cymru hyd nes y cyfododd Hiraethog i wneyd cyfiawnder âg ef. Nid oedd yn wiw gan un mor deg a diragfarn a Gwallter Mechain ddodi ei enw ymysg y beirdd a dafolwyd ganddo! Boneddigion ac offeiriaid oeddynt noddwyr llenyddiaeth, a beirdd clêr oeddynt ei choleddwyr gan mwyaf yng Nghymru ar y pryd; ac nis gallesid disgwyl i'r dosbarthiadau hyn fwynhau na mawrhau peth o darddiad mor werinaidd a'r Diwygiad Methodistaidd. Y mae dyddiadau cyfamserol yn dra dyddorol, ac yn llefaru drostynt eu hunain. Bu farw Lewys Morrus o Fon, William Wynn o Langynhafal, a Gruffydd Jones o Landdowror, o fewn ychydig o flynyddau i'w gilydd. Prin, mi goeliaf, y mae y ddau gyntaf yn crybwyll enw yr addysgydd a wnaeth gymaint i Gymru, er ei fod yn cydoesi â hwynt, ac yn marw o fewn rhyw flwyddyn neu ddwy i'r un amser a hwynt. Bu Hywel Harris, a Theophilus Evans, awdwr *Drych y Prif Oesoedd*, fyw yn yr un sir, a buont farw o fewn dwy flynedd i'w gilydd; a'r unig sylw a wnaeth y Cymreigydd enwog am y diwygiad, am a wyddom ni, oedd cyhoeddi pregeth neu ddwy ar "Hanes Penboethni Diweddar," a gollwng ei dafod, yn Gymraeg (a'r fath Gymraeg!)

ac yn Saesonaeg, ar y Diwygwyr. Bu Edward Richard o Ystrad Meurig yn gymydog agos i Daniel Rowland o Langeitho; ond nid ydym yn tybied fod, yn ei gerddi ystwyth-ber, yr un crybwylliad am dano. Tebyg y tybiai hi yn drosedd ar chwaeth grybwyll am ei gymydog, "yr offeiriad crac." Bu Ieuan Brydydd Hir farw o fewn rhyw dair blynedd i Peter Williams yr Esboniwr, a braidd yr unig grybwylliad a geir am dano yn ei lythyrau ydyw y canlynol:—"Am y Beibl Cymraeg â Nodau, y mae arnaf ofn na ddaw byth allan, ac nad ydyw'r dyn ychwaith ag sydd yn cymeryd y gorchwyl yn llaw gymhwys i'r gwaith. Ei enw yw Peter Williams; un o'r Methodyddion ydyw. Ni fedr ddim iaith iawn, na'i hysgrifennu chwaith, megis y mae rhai llyfrau a ysgrifennodd yn tystio." (*Gwaith Ieuan Brydydd Hir*, tudal. 210). Ond erbyn heddyw y mae y rhod wedi troi, —rhaid i lenyddiaeth, yn Lloegr a Chymru, foesgrymu i'r Diwygiad Methodistaidd; ac fe wna hynny yn ddirwgnach. Dywed Hare fod dynion, gyda symudiadau pwysig, fel anifeiliaid y maes gyda'r "maen cosi," pan y gosodir ef i fyny gyntaf, yn myned drwy dri chwrs o weithredu. Y peth cyntaf a wneiff yr anifeiliaid ydyw rhythu eu llygaid arno, gan ddweyd yn eu hiaith, O b'le daeth y fath wrthrych i'r fath le; yr ail ydyw casglu eu holl nerth ynghyd i'w dwlcio; a'r trydydd ydyw ei lyfu a'i ddefnyddio. Felly yn hollol gyda'r symudiad mawr hwn. Yn hapus iawn, y mae cyfnod y llygadrythu a'r twlcio wedi myned heibio; nid oes, weithian, ond edmygedd diledryw ohono ar bob llaw. Gweler mor barchus yr ysgrifenna offeiriaid presennol Cymru am Gruffydd Jones o Landdowror: cymharer hynny â'r hyn a ddywedai offeiriaid ei oes a'i gymydogaeth ei hun am dano. (*Llyfryddiaeth y Cymry*, tudal. 432). Un o beryglon y diwygiad erbyn hyn ydyw nad oes iddo elynion, namyn rhai cuddiedig.

# EBEN FARDD.

O'N blaen y mae dau rifyn o "Weithiau Barddonol" y Prif-fardd o Glynnog Fawr, ac yn ol yr olwg a geir ar y rhai hyn, addawa fod, o ran ei bethau allanol, yn llyfr teilwng o'i gynnwysiad. Ond ar hyn o bryd nid ydym am fyned i sylwi arno yn ei bapyr na'i argraffwaith, nac ychwaith, pe yr ystyriem ein hunain yn deilwng, ar ei nodweddion llenyddol,—caiff hynny fod yn waith yr adolygydd. A gawn ni lefaru am lyfr fel am berson? Yr ydym ar gyffiniau tiriogaeth barddoniaeth, a gwyddis mai un o elfenau hanfodol barddoniaeth ydyw gallu i bersonoli; gan hynny, paham na chawn? Os felly, dywedwn ein bod yn myned i edrych ar "Weithiau Eben Fardd," ac ar y prydydd ei hunan mewn cysylltiad â hwy,—nid ar eu safle yn y byd llenyddol, ond ar eu perthynas âg egwyddorion mawrion moesoldeb a chrefydd. Trwy rhyw ddeddf ryfedd o gymdeithasiad nis gellir yn hawdd ddarllen gwaith unrhyw awdwr, yn neillduol awdwr o fardd, nad ymrithia personoliaeth yr awdwr ger bron y darllennydd; ac os daw ei bersonoliaeth yno bydd ei gymeriad personol yn sicr o ganlyn. Gwir nad ydyw pob un o gynyrchion y meddwl yn awgrymu personoliaeth mor gryf a'u gilydd. Gellir darllen cyfrol ar ryw gangen o wyddoniaeth heb deimlo unrhyw ysfa i ddyfalu llawer pa fath ydyw yr awdwr. Ychydig ydys yn ei deimlo o bryder i wybod, heblaw fel mater o gywreinrwydd, pa fath gymeriad moesol oedd gan Euclid y Meintonydd. Ond am y bardd,—yr awdwr ag sydd yn rhinwedd ei swydd i roddi tafod i fynegiadau yr enaid, ffurf i ofnau y gydwybod, a llais hyglyw i furmuron y serch,—y mae ei berson a'i waith ef yn agos gymydogion. Wrth ddarllen barddoniaeth, yn anad dim arall, yr ydych yn

teimlo fel pe byddai angel neu ellyll coffadwriaeth y bardd yn wastad yn y pellder yn gwylio cyfleusdra i ddyfod ymlaen i ddweyd ei hanes.

Mewn oes fel yr eiddom ni yr ydym yn dra chwanog i dalu gwarogaeth i athrylith noeth ar wahân oddiwrth foesoldeb pur. Dilys nas gall gallu meddyliol cryf heb fod dan ddylanwad egwyddorion pur wneuthur llawer o les. Gall drystio a thynnu sylw, gall ffaglu a goleuo dros dymor, ond bydd y goleuni yn debycach i oleuni ffugiol yr hud-lewyn—goleuni ansefydlog yn cyfodi o falldod y gors leidiog—nag i oleuni pur a sefydlog y seren. Trueni fod yn rhaid meddwl fel hyn am rai o berchenogion yr athrylith ddisgleiriaf. Wrth ddarllen Byron, Shelley, ac eraill llai eu nod, ac îs eu ehediad, yr ydys yn teimlo fod yr awyr yn afiach a heintus,—y mae eu moesoldeb pwdr fel yn llychwino gogoniant eu cyfansoddiadau. Cymharer, er engraifft, y teimlad wedi darllen Cowper ragor Byron. O ran gallu a math o ardymeredd farddonol yr oedd y fantais o du yr olaf. Nid ydym chwaith yn dwyn i'r gymhariaeth fardd penbrudd, *flat* felly, onide, buasem yn dwyn Young ymlaen. Er fod Cowper yn tueddu at fod yn bruddglwyfus ei hunan, eto yr oedd ei awen o'r fath fwyaf nwyfus a hoenus—byddai wrth ei bodd pan yn cymdeithasu â chŵn bychain, chwareus, neu yn canu i ysgyfarnogod y maes. Nid awen bendrist ydoedd fodd yn y byd. Ond mor wahanol yr ydych yn teimlo fod y dylanwad ragor wrth ddarllen caneuon goreu Byron. Yr ydych yn myned i ddarllen gweithiau yr olaf fel meddyg yn myned i ystafell heintus i weled *case* o glefyd dieithr, er mwyn ychwanegu at brofiad ei alwedigaeth, gan ddianc oddiyno mor ebrwydd ag y gall. Pa syniadau bynnag a goleddir ynghylch natur a haniad awen,—pa un bynnag a gredir o'r ddwy linell,—

"Ei harfer a'i hadfer hi,"

ynte y llall,

"Dawn natur pob dyn ytyw;"

eto, diamheu fod a fynno egwyddorion llywodraethol y bardd lawer â'i farddoniaeth, "Y dyn da, o drysor da ei galon a ddwg allan bethau da." Y mae y syniadau fyddo gan ddyn am Dduw, am rinwedd a drygioni, &c., yn sicr o roddi eu lliw ar holl gynyrchion ei feddwl. O ran hynny, nid ydyw gwahanol egnion galluoedd ei enaid namyn math o gyfryngau i'r egwyddorion hyn ddyfod i'r golwg. Pan y deuant drwy y deall, gelwir hynny yn athrylith; pan y deuant drwy yr ewyllys, gelwir hynny yn rhinwedd; pan drwy y serchiadau, gelwir hynny yn gariad. Yn yr ystyr uchaf, y mae y prydferth a'r da yn wastad yn canlyn eu gilydd, a'r un sydd graffaf i weled y cyntaf ydyw yr un sydd yn ymdeimlo ddyfnaf â hawliau yr olaf. Olrheinia Ruskin, un o feirniaid goreu yr oes ar arluniaeth, ac felly, wrth gwrs, a llawer ganddo i'w ddweyd am farddoniaeth, bob syniad pur am y prydferth yn y greadigaeth, raddau lawer ymhellach na chanfyddiad noeth o wrthddyrch prydferth. Y peth cyntaf ydyw gweled gwrthddrych yn meddu ansoddau prydferth, yr hyn a gynnyrcha deimlad boddhaus; yna, canlynir hwnnw gan lawenydd, a chan gariad at y gwrthddrych. Canlynir hynny drachefn gan ymdeimlad o garedigrwydd mewn Dealltwriaeth Uwchraddol yn trefnu pethau yn y fath fodd; ac yn ddiweddaf, coronir y cyfan gan feddwl wedi ei lanw o deimladau o barch a diolchgarwch i'r Bod hwnnw a roddes i ni ddefnydd y fath deimladau. Os yw hyn yn wirionedd, gwelir fod yr hyn a ddechreuodd mewn canfyddiad noeth a syml o'r Prydferth, i ddiweddu mewn rhywbeth nas gellir ei alw yn llai nag addoli y Da. Felly ar dir llenyddiaeth, yn gystal ag ar dir crefydd, gwir yw y gair, "Gwyn fyd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw." Gofidus na chawsom beth o farddoniaeth Eden cyn i bechod roddi ei sawyr arni,—dilys y buasai yn tra rhagori ar farddoniaeth Olympus er mor uchelgrib ydyw; ac ni newidiasem ddyfroedd Paradwys am yr eiddo Helicon, er eu pereiddied, gan fod pechod wedi eu llychwino.

Yr hyn yn bennaf a barodd i ni ysgrifennu y sylwadau hyn oedd cydgyfarfyddiad dau amgylchiad,—i ni, fel y crybwyllasom ar y dechreu, ddyfod ar draws y rhifynnau cyntaf o "Weithiau Barddonol" bardd Clynnog, a hefyd fod yn ardal y bardd yn ddiweddar yn lloffa amryw hanesynau sydd yn aros eto yng nghof lliaws o'r trigolion am eu bardd Eben. Y mae rhyw swyn yn wastad mewn olrhain tarddiad afonydd, felly swynol yw olrhain ffrwd barddoniaeth mor loew a dilychwin a'r un bresennol, a'i chael yn ffynonellu mewn meddwl mor syml, calon mor hawddgar, ac yn cydredeg â buchedd mor Gristionogol a'r eiddo y Prif-fardd o Glynnog. Barddoniaeth goeth, a dillyn; moesoldeb pur a llednais; naws meddwl crefyddol—y cyfan yn cydgyfarfod mewn bardd a gydnabyddir yn gyffredinol yn uno tri anhebgor awen, llygad i weled, calon i deimlo, a glewder a faidd gydfyned âg anian; nid bob dydd, ysywaeth, y ceir y fraint o fod yn dystion o'r fath briodas! Y fath fywyd ydoedd yr eiddo ef! Mor ddirodres ei gymwynasau i grefydd! Yr ydym yn gofidio na buasai gofod, neu rywbeth arall, yn caniatau i'w gyhoeddwyr roddi cofiant llawer helaethach o hono, yn cael ei ganlyn gan gofiannau allesid gasglu o eneuau amryw o'i gymydogion a ymddifyrent yn eu hadrodd. Y mae darllen barddoniaeth fel yr eiddo Eben Fardd yn amheuthyn mawr; ond buasai darllen cofiant helaeth a manwl o'i gymeriad yn llawn mor amheuthyn, ac yn debyg o fod y gwrth-ddogn mwyaf effeithiol i'r syniad sydd ar led fod yn rhaid i fardd, mewn trefn i gael ei edmygu fel *genius* yng Nghymru, ymollwng i bob gormod rhysedd, ac amlygu ei dalent mewn annuwioldeb. Un peth sydd yn ein cymodi â llawer o gyffredinedd barddoniaeth Dafydd Ionawr ydyw y gallasai bardd y Drindod, wrth ganu yn iach i'r byd hwn, ddweyd yn ddifloesgni na chanodd efe linnell erioed i lygru neb. Byddai yn farddoniaeth pe dim ond ei hunan, i fardd allu dywedyd wrth adael ei gyd-ddynion "Ni lygrasom ni neb." Golwg uchel ar awen ydyw ei hystyried yn fath o ymddiried-

aith o eiddo Duw i ryw ddynion, a hynny yn unig i wneuthur daioni. Math o ymddiriedaeth gysegredig, dybygid, yr ystyriai Eben ei awen, nad oedd ganddo hawl i'w chuddio yn y ddaear, nac i'w defnyddio i wasanaeth neb ond yr Hwn a'i rhoddes hi iddo. Edrychai ar bobpeth oddiar safle uchel egwyddorion moesol pur a sefydlog. Yr ydoedd yn ffyddlawn iddo ei hunan, felly canlynai fel y nos ar ol y dydd nas gallai fod yn ffals i'r un enaid byw. Nid heb achos yr ystyriai ei genedl ef y beirniad gonestaf yn y wlad ar ol Gwallter Mechain. Cynnyrch moesoldeb pwdr ydyw beirniadaethau anonest. Yr ydym mor aiddgar dros ein llenyddiaeth genedlaethol â neb pwy bynnag, ac yn cydymdeimlo yn fawr âg amcanion yr eisteddfodau, ond carasem weled tôn foesol amryw o'r sefydliadau hyn yn llawer uwch. Ofnwn pe cyfodid y llenni oddiar amryw o honynt y gwelid pethau tra rhyfedd. Nid annhebyg na welid, mewn un cwr, fod bwyd-offrwm duwies yr Awen yn cael ei gymysgu gan mwyaf drwy wlybyron meddwol. Gwelid mewn man arall, fe ddichon, fardd yn myned o amgylch yr esgynlawr i werthu dwsin o englynion, ag oeddynt i *ennill y gamp yn yr eisteddfod honno*, i'r ffwl a roddai y geiniog uchaf am danynt, gan y buasai yn anfri i'w hawdwr eu harddel ac yntau yn myned i ennill cadair y diwrnod hwnnw; eto buasai derbyn ychydig bres am danynt yn beth digon melus iddo. Dyweder a fynner am y "cylch cyfrin," nid ydyw egwyddorion moesol neb rhyw lawer yn eu mantais o fod ynddo. Pa un bynnag ai cantor ai bardd fydd y gwr, a pha mor ddisglaer bynnag ei gymeriad yn myned i mewn i'r cylch, odid nad meddwyn neu anffyddiwr, os nad pob un o'r ddau, fydd efe cyn yr elo nemawr ymlaen i'r cyfrinion. Ond dyma Eben Fardd wedi deall y cyfrinion a phob gwybodaeth farddol, a digon o'r ardymeredd farddonol ynddo i wneyd dwsin o feirdd cyffredin; eto trwy gydol oes led faith o ymwneyd â beirdd ac eisteddfodau,—beirniadu a chynllunio, wedi cadw i fyny gymeriad oedd yn gloewi hyd y diwedd. Bydd yn

gywilydd i'r Wyddfa godi ei phen ymysg mynyddau y byd, ac yn warth oesol i genedl y Cymry, os gadewir cymaint ag un rhifyn o Weithiau y Prif-fardd Eben ar law y cyhoeddwyr, tra y mae pob hen ganeuon masw a masweddol yn gwerthu wrth y cannoedd, ac yn neillduol mewn oes ag y gelwir am argraffiad newydd o weithiau Twm o'r Nant! Yn enw hawliau moes a chrefydd; yn enw buddiannau goreu ieuenctyd ein gwlad; yr ydym yn gobeithio y prynnir ac y darllennir y cyntaf, ac y gadewir y llall i bydru yn ei fedd haeddiannol ei hunan.

# ISLWYN.

*(Darlith).*

CEISIWN grynhoi ein sylwadau arno i dri chyfeiriad:—Y DYN—Y BARDD—A'I FARDDONIAETH.

1. Y DYN.—Gwaith bychan ydyw myned dros yr hyn a wyddys am dano fel dyn. Tebyg nad oes bardd enillodd le mor fawr iddo ei hunan yn llenyddiaeth unrhyw wlad neu genedl ag y mae mor lleied o le iddo yn hanesiaeth gyffredin y wlad honno. "Hanesiaeth gyffredin" a ddywedasom. Y *mae* iddo le mawr yn hanesiaeth *ang*hyffredin y wlad: ond nemawr ddim yng ngroniclau syml ffeithiau—dim ond "*byw*," a "*marw*," a "*chladdwyd*," a cholofn syml ar ei fedd. Dyna bron yr oll. Ond yn hanes *meddwl* y wlad y mae iddo le arbennig. Dechreuodd ysgol newydd o feirdd a barddoniaeth yng Nghymru. Rhoddes symbyliad newydd i feddwl y genedl nad ydym eto ond wedi gweled ei ddechreu. Bydd eneidiau mwyaf etholedig ieuenctid Cymru yn y dyfodol yn ymgynnull at eu gilydd i'w ddarllen ac i'w astudio. Credwn y ceir cyn hir yr *Islwyn Cult*, fel y *Browning Cult*, a'r *Ruskin Cult*, ymysg y Saeson. Tra y bydd mymryn o swyn yn y *meddylgar* a'r *cyfriniol* mewn barddoniaeth; tra y rhoddir pris mwy ar sylwedd nag ar sŵn,—ar feddylgarwch dwfn nag ar gleciadau dienaid, parheir i edmygu y bardd hwn fwy-fwy.

Mewn ychydig o frawddegau gellir dweyd ei holl hanes. William Thomas oedd ei enw, mab i un o'r enw Morgan Thomas. Y mae yr oll o'i *hanes*, mor bell ag y mae ffeithiau moelion yn myned, ar ei gofgolofn,—

## ISLWYN.

Ganwyd Ebrill 3, 1832.
Bu farw Tachwedd 20, 1878.

Dyna yr oll sydd i'w ddweyd, o'r braidd. Bu fyw mor dawel a di-drwst, a bu farw mor ddi-sôn-am-hynny, fel y methasom, er cryn lawer o ymdrech, a chael yr un gair o sôn am y ffaith yn *Y Drysorfa*, er ei fod yn fab i flaenor, ac yn un o bregethwyr goreu Cymru, ac mewn llawer ystyr y bardd goreu fu gan *y genedl Gymreig* erioed. Y mae dros bymtheng mlynedd er pan y claddwyd ef,* ac nid oes eto gofiant ohono! Dywedir fod cyfrolau o'i bregethau y gellid eu hargraffu, pe cyhoeddid hwynt. Y mae yr ychydig farddoniaeth sydd ar ei ol yn wasgaredig draw ac yma ar hyd wyneb y maes—maes llenyddiaeth gyfnodol Cymru! Yr unig lyfr a gyhoeddwyd yn ystod ei fywyd oedd un bychan o dan yr enw "*Barddoniaeth gan Islwyn;*" a'r llyfr a elwir "*Caniadau Islwyn,*" ar ol ei farw! Ac yr ydym yn clywed mai ar silffoedd y cyhoeddwr yr erys y rhan amlaf o'r copïau o'r llyfr hwn! Beth? A ydym byth i fod fel hyn? Tra y mae sothach di-enaid a di-farddoniaeth o lyfrau i gael eu prynnu, beth bynnag am eu darllen? Ai fel hyn yr ydym i ymddwyn at un o feirdd mwyaf Cymru? Os oes rhywbeth heblaw siarad i fod yn y Deffroad Cenedlaethol, disgwyliwn weled yn fuan rai o gyhoeddwyr Cymru yn ymgymeryd â dwyn allan argraffiad o holl weithiau Islwyn, mewn Rhyddiaeth a Barddoniaeth, yn gyfrolau destlus, "fel na choller dim."

Bellach am air yn fanylach am y dyn. Y mae blwyddyn ei enedigaeth wedi ei nodi allan ganddo ef ei hunan yn ei raglith enwog i'w Ganiadau :—

"Fe'm ganwyd i yn mlwyddyn y *Reform Bill*,
A dyna pa'm yr wyf yn dwyn ystorm-bil
Mor hyf i mewn i'r Senedd Awenyddol,
Er dychryn i Doriaid mân-brydyddol."

* Yn 1895 yr ysgrifennwyd y sylwadau hyn.

Cofia pawb mai 1832 oedd blwyddyn y *Reform Bill*. Plentyn henaint ei dad ydoedd Islwyn, a'r ieuengaf o deulu lluosog. Brodor oedd ei dad o Ystradgynlais, ym Morgannwg, a'r fam yn hannu o Flaengwarne, Bont-newydd, Sir Fynwy. Ymunodd ei dad a'i fam â chrefydd yn hen eglwys y Goetre, Mynwy—un o hen eglwysi Hywel Harris,—a'r unig un, dybygid, a sefydlodd efe yn y sir honno. Cafodd fanteision addysg dda, gan fod ei rieni mewn amgylchiadau cysurus. Bu yn ysgol y pentref am dymhor; oddiyno aeth i Dredegar; wedi hynny i Gasnewydd; yna i Bontfaen; ac yn ddiweddaf i Abertawy. Cymhellid Prifysgol arno yno; ond yn y cyfamser bu farw ei dad, a gorfu iddo fyned adref i gadw ei le. Cyfeiria at hynny mewn modd tarawiadol yn y llinellau canlynol ym Marwnad ei dad:—

"Rhaid gwrando bellach pan y galwo'r byd—
A'i alw i mewn, fu wrth y ddôr cyhyd:
Mae'n ofer edrych tua'r gadair fawr
Am un ofalai am bob peth bob awr."

Ei frodyr oeddynt dir-fesurwyr; dysgodd yntau yr un gelfyddyd; ond nid ymarferodd nemawr â hi. Corff byr, eiddil, oedd ganddo; ac yr oedd o dueddiadau gwylaidd a neillduol o ddiymhongar. Drwy lawer o gymhell arno gan rai o'r dynion goreu a chraffaf, cafwyd ganddo ymgymeryd â'r Weinidogaeth. Bu Morgan Howell yn ei daer gymhell i bregethu. Oherwydd ei wylder cynhennid, trafferth fawr a gafwyd i'w wthio i'r pwlpud; eithr wedi ei gael yno, gwnaeth fardd-bregethwr heb ei gyffelyb. Dechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1854; ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yng Nghymanfa Llangeitho yn 1859. Clywais ef yn pregethu rai gweithiau; ond ni chlywais ef i fantais fawr, oherwydd gwendid corfforol, llesgedd ei iechyd ar y pryd. Fel y gallesid disgwyl, yr oedd ei bregethau yn llawn barddoniaeth; ond nid barddoniaeth i *swyno* a *synnu* yn unig, *ond barddoniaeth i achub*. Byddwn yn teimlo yn barod i ofyn ar ol gwrando rhai pregethau

barddonol, *Cui bono?*—i ba beth y maent da?—gardd flodeu, yn lle bara y bywyd; pwysiau peraroglus, yn lle dail y pren sydd yn iachau y Cenedloedd. Ond nid felly yr oedd pregethu *Islwyn.* Yr oedd Crist, cnewyllyn yr Efengyl, yn cael y lle pennaf yn ei bregethu. Hawdd canfod hynny oddiwrth ei destynau. Hoffai ymdroi tua Bethlehem, Gethsemane, a Chalfaria. Ac yn neillduol hoffai bregethu ar Grist yn y nefoedd, ac ar y nefoedd yn ei pherthynas â Christ. Er dyddiau David Jones o Dreborth ni phregethodd neb bardd gymaint, nac ychwaith yn felusach, am y Nefoedd nag y gwnaeth *Islwyn.* Yr ydoedd yn un o'r dosbarth hwnnw o bregethwyr—y dosbarth *goreu*—all argraffu ei fater ar eich meddwl, beth bynnag am y testyn. Gellwch ofyn am ambell i bregethwr, Beth oedd ei destyn? Y mae y testyn yn y fan a'r fan, ond ni wyddom yn y byd beth oedd ganddo. Un arall—ac un o'r dosbarth hwnnw ydoedd yntau—nis gallech fod yn sicr o'r testyn, ond gallech fod yn benderfynol o'r pwnc. Yr ydoedd wedi argraffu hwnnw yn annileadwy ar y meddwl. Dysgu Crist oedd y mater ganddo pan y clywais i ef—Crist yn destyn efryd pob creadur pur ac uwchraddol yn llywodraeth Duw,—dyna y pwnc. Y credadyn a'r angel, y dyn a'r cerub, ochr yn ochr ar y fainc yn dysgu Crist! Nid anghofiaf y rhawg y bregeth na'r pregethwr. Pregethai ar y fath destynau a "Cyfaill a lŷn," "Fel pren afalau ymysg prennau y coed," "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn," &c. Y mae ei linellau tyner ar "Sabboth Gartref" yn dangos fel yr ydoedd yn caru y gwaith o bregethu. Acenion tyner hefyd a geir yn y ganig i'r "Hen Weinidog,"—

"Y mae y gweision yn pregethu,
A minnau yma wedi methu;
Y meddwl hwn sydd yn fy ngwaelu—
Hwy ar y maes, a minnau'n ffaelu.
* * * *
"Na feddwl, Oh Genadwr Hedd!
Am orphwys nes yn mynwes bedd.
Amser yw wythnos gweision Duw,
A'u Sabboth—Tragywyddoldeb yw!"

2. Y Bardd.—Ein hamcan yn y papyr hwn fydd desgrifio rhai o deithi awen Islwyn, a dangos y lle y mae wedi ei wneyd iddo ei hunan mewn barddoniaeth Gymreig. Dechreuodd pan yn ieuanc iawn. Nid oedd dim awen yn ei deulu, ar a wyddis. Nid oes neb wedi awgrymu fod dim yn ei *environment* yn ei dueddu at hynny. Fel ffynnon yn bwrlwm ohoni ei hunan, felly ei awen yntau. Ni bu erioed yn beth a elwir *bardd llwyddiannus*. Cystadleuydd aflwyddiannus ar y cyfan ydoedd. Enillodd bedair cadair, sef "Y Noe," yn Rhyl; "Moses," yng Nghaergybi; "Cartref," yng Nghaerffili; a'r "Nefoedd," yn Nhreherbert. Nid oedd yr un o'r rhai hyn yn gadeiriau Eisteddfod Genedlaethol. Hawdd deall paham nad ydoedd yn llwyddiannus. Un peth, nid ydoedd yn *clubbable*—yn glybiadwy. Brawdoliaeth glybiadwy iawn ydyw beirdd Cymru wedi bod erioed. Peth arall, yr oedd yn fath o ddirgelwch i feirniaid Eisteddfodau Cymru. Nid oedd ganddynt un cydymdeimlad â'r fath farddoniaeth. Nid oedd ganddo ddigon o swn cydseiniaid yn clecian; a byddai yn gwneyd yn hyf iawn ar y pedwar-mesur-ar-hugain yn fynych. Ac y'ngolwg rhai o glorianwyr yr Eisteddfod yr oedd hwnnw yn bechod anfaddeuol. Hefyd, yr ydoedd yn un o'r beirniaid mwyaf cydwybodol a gonest ei hunan pan yn beirniadu. Ni wyrai drwch y blewyn oddiwrth yr hyn a olygai yn iawnder; felly, gan na chanai efe bennill mwyn i ryw "hen nain o feirniad" pan y byddai hwnnw yn gystadleuydd, ni chanai yr hen nain honno iddo yntau pan fyddai yn cystadlu am y gadair. Yn Eisteddfod Genedlaethol Birkenhead, 1878, y bu yn beirniadu ddiweddaf; ac fel hyn y danfonai at yr ysgrifennydd Medi 3, 1878:—"Disgwyliaf y bydd y ffugenwau hyn, sef *Cowper*, *Idwal*, a *Diwyd* ar fy nghof mewn byd arall, gan faint y boen a gefais i wneyd i fyny fy marn ostyngedig, ond gonest, cydrhyngddynt." Yn fuan—ar yr 20fed o Dachwedd dilynol—ehedodd ei enaid mawr i'r byd arall; ac yr ydym yn sicr, beth bynnag am gofio y ffugenwau, na fu cymeryd trafferth i

wneyd i fyny ei farn yn onest rhwng y gwahanol gystadleuwyr yn y byd hwn yn unrhyw rwystr iddo i fwynhau golygfeydd y byd rhyfedd hwnnw.

Bellach ceisiwn roddi rhyw syniad am yr hyn a dybiwn yn anhebgorion gwir fardd. Hefyd, i ba raddau yr oedd Islwyn yn eu meddu. Yr ydym yn hyf yn dyweyd fod Islwyn wedi creu cyfnod newydd yn marddoniaeth Cymru. Ni bu dim o'i fath o'i flaen. Pan y daeth yr awen ddieithr, doreithiog hon i ddechreu bwrw ei chryman i'r cynhauaf, gwelodd barddoniaeth Cymru yn fuan fod yn rhaid iddi dynnu i lawr ei hysguboriau, ac adeiladu rhai mwy. Nid oedd yma ddim lle i'w hysgubau hi. Rhaid i fân reolau ffoi ymaith. Yr oedd ei awen mor frenhinol,—yr oedd rhaid rhoi iddi "dragywyddol heol." Erbyn heddyw rhoddir mwy o bris ar feddwl nag ar unrhyw wisg am dano; y mae rhyw nifer o eneidiau dewisol wedi eu dwyn i weled prydferthwch gwirionedd tlws, neu ddyfnder cyfriniol meddylddrych ysprydol, fyddo yn llechu yn ddistaw ym myd mawr yr enaid. Y mae swn traed awen Islwyn wedi deffroi adsain yn ystafelloedd dieithraf a dyfnaf meddwl Cymru. Gwn am ddynion ieuainc o anianawd farddonol wedi dechreu dysgu meddwl uwch ben ei linellau. A'r fath gaffaeliad ardderchog ydyw hynny—dechreu meddwl! Dihuno meddyliau sydd yn fraint. Fel y mae Browning gwedi gwneyd hynny gyda'r Saeson, felly y mae yntau gyda'r Cymry.

Yn ol y deffiniad a roddwn ni heddyw o farddoniaeth, rhaid i'r Bardd feddu tri pheth, sef y gallu i *greu*, i *ddych'mygu*, ac i *weithio allan*. Mewn geiriau eraill, rhaid iddo fod yn *Grëwr*, yn *Ddych'mygwr*, ac yn Gelfyddydwr llenyddol—*Creator, an Idealist, and a Literary Artist.* Yr ydym yn eu henwi yn ol eu pwysigrwydd, ac hefyd, fel yr ydym ni yn deall, yn ol fel y maent i'w cael yn y Bardd Islwyn. Yn hyn, ni a dybiwn, y mae tebygolrwydd mawr yn Islwyn i Browning. Nid ydynt yn debyg i'w gilydd mewn llawer o bethau; ond ym mantolaeth y pethau hyn y maent yn bur debyg.

Y gallu creadigol sydd gryfaf yn y ddau; yna yr *idealism*; yna y gallu a'r medr llenyddol i gynllunio ac i weithio allan sydd waelaf yn y ddau.

Y mae y deffiniad a roddasom yn dwyn rhyw gyffelybrwydd i'r hen ddarnodiad Cymreig:—"Llygad i weled anian, calon i deimlo anian, a glewder a faidd gydfyned ag anian." Dylid cymeryd y gair "anian" nid yn unig am y greadigaeth, ond am y bydysawd—holl diriogaeth bod yn gyfangwbl, gan gymeryd Duw ei Hunan hefyd i fewn. *Gwaith y bardd ydyw adgynyrchu hwn, a'i osod allan yn ei gysylltiadau mwyaf prydferth a phur, a hynny mewn ffurf a diwyg lenyddol gain a chelfydd.*

(1). Gwelir, yn ol hyn, mai y *gallu creadigol* yw y pwysicaf i fardd ei feddu. Dyna yw ystyr eirdarddol y gair bardd, onidê?—"Poet," yn dyfod o *poiein*, *to make*. Gelwir y gallu hwn weithiau yr *inventive faculty*. Cofier mai creu yn yr ystyr o ad-drefnu a olygir yma. Yn yr ystyr o greu o ddim, nid oes ond un Crëwr yn bod. Eithr yn yr ystyr o ad-drefnu ac ad-lunio defnyddiau y mae ei ddeall yma. Nid eu *cofio*, ond creu y defnyddiau, y mae y gallu hwn. Nid Cof ydyw, ond *Dychymyg creol*. Y mae rhai beirdd galluog hebddo ond i fesur bychan iawn. Dyna'r gwahaniaeth rhwng Byron a Shakespeare. Rhaid i Byron *repeatio* ei hunan ymhob *character*. Efe ydyw Manfred, Don Juan, Childe Harold. Lle bynnag y bydd ei gymeriadau, efe ei hunan ydyw. Ond pwy glywodd am Shakespeare yn taflu ei hunan allan ar ei *ganvas?* Y mae ef mor gyfoethog o grebwyll. Creadigaethau newyddion ydyw ei greadigaethau i gyd, a'r crëwr ohonynt o'r golwg. Felly am Browning hefyd. Felly, ar raddeg lai, am Williams o Bantycelyn—Hiraethog hefyd, ac Eben Fardd. Ac felly y buasai Islwyn pe buasai yn canu yn yr arddull ddramatic. *Lyrical* yw ei farddoniaeth ef i gyd. Nid oes ganddo nemawr o'r elfen *ddramayddol;* ond y mae yn gryf iawn yn yr elfen greadigol.

Ond rhaid i'r bardd creadigol ddosbarthu ei ddefnyddiau. Nis gall gymeryd yr oll. Y mae ei ddef-

nyddiau yn ddiderfyn. Y mae yr "anian" sydd ganddo i'w gweled, a llygaid ei awen greadigol, yn cynnwys pob peth o Dduw hyd at yr abwydyn—holl diriogaeth bodolaeth. Er mwyn gorchfygu dylai rannu. Felly y mae y beirdd goreu yn gwneyd. Mae un yn desgrifio y *greadigaeth a natur;* y mae y llall yn cymeryd byd mewnol yspryd dyn. Fe geir rhai yn feirdd desgrifiadol —fel Solomon, yn llefaru am bob peth, o'r gedrwydden yn Libanus hyd yr isop sydd yn tyfu o'r pared; rhai eraill, yr yspryd sydd mewn dyn. Byd yspryd dyn yw eu byd hwy. Felly y mae Islwyn. Yn hytrach, gallwn ei ddesgrifio yn llefaru am ddyn fel ei nod eithaf. Fe geir ganddo ddesgrifiadau o natur, yn enwedig golygfeydd Cymreig; ond am ddyn y mae yn llefaru hyd yn oed drwy natur. *Natur a dyn, a dyn drwy natur*, dyna oedd ei deithi. Gallai fod ei grefydd a'i dduwinyddiaeth wedi dylanwadu peth arno yn hyn. Mewn llythyr a ysgrifennodd at gyfaill cyfeiria at hynyma:

"Yr oeddwn newydd ddarllen cyfrol fechan o farddoniaeth o waith Emerson, ac anturiais awgrymu yn fy llythyr fod llawer o debygolrwydd rhwng y ddau. Yn ei atebiad dywedai mai nid *compliment* bychan yr ystyriai gael ei gymharu ag Emerson fel bardd, er fod gwahaniaeth mawr yn eu duwinyddiaeth. 'Natur,' meddai, 'ydyw unig gyfrwng Emerson at Dduw; ond yr wyf fi yn credu mewn *Cyfryngwr gwell*.'"

Llyfrbryf: *Cymro*, Gorph. 12, 1894.

Y Duw-ddyn, feallai, a roes gyfeiriad iach i'w feddyliau am Natur. Nid ydym heb deimlo weithiau mai rhyw fath o ddyheadau ac ymbalfaliadau Pantheistaidd fuasai llawer o'i farddoniaeth oni bai am ei Gristionogaeth.

Hefyd, bardd *meddyliau* ac nid *amgylchiadau* ydoedd. Gosyd bwys mawr ar hanes y meddwl, ac nid ar hanes personau. Dylid cymeryd y ddau ddywediad i'w ddesgrifio ef. Ys dywed Pope a Syr W. Hamillton: "Efrydiaeth briodol dyn ydyw dyn." "Yn y bydysawd nid oes dim mawr ond dyn, ac mewn dyn nid oes dim

mawr oddieithr meddwl." Mor lleied o hanes amgylchiadau neb sydd gan Islwyn! Canodd amryw ddarnau felly, ond nid hanes yr amgylchiadau oeddynt, eithr hanes y *dynion* yn yr amgylchiadau; ac *argraff meddyliau* y dynion hefyd. Marwnadau godidog a geir ganddo —hollol wahanol i bawb eraill. Nemawr o hanes geni a marw na byw, ond hanes eneidiau a meddyliau. Bardd *dyn* ydyw—bardd *meddyliau dyn;* ac y mae yn rhoi hynny allan mewn *dull canigol.* Iawn y galwyd ei lyfrau yn "Farddoniaeth gan Islwyn," heb olygu unrhyw ffurf ar farddoniaeth, a'r llyfr arall yn "Ganiadau gan Islwyn." Math o ganiadau syml ydynt.

(2). Rhaid i'r gwir fardd fod yn *idealist*—yn meddu dychymyg wedi ei briodi â'r pur a'r prydferth ymhob man. Dyma ydym yn ei ddeall wrth y gair *idealism* yn y cysylltiad hwn. Rhaid iddo feddu *ideals* uchel. Nid tiriogaeth neillduol barddoniaeth ydyw desgrifio pethau fel y maent; ond fel y dylent fod. Y mae y peth a elwir *Realism* yn beth gwrthun mewn barddoniaeth. Nid digon fod gan fardd ddychymyg; rhaid i hwnnw fod wedi ei briodi â'r pur a'r prydferth foesol, a gwirionedd yn ei ffurfiau uchaf.

Rhaid iddo feddu golygiadau cywir ar y *natur ddynol*, ar y *natur Ddwyfol*, ac ar berthynasau y naill a'r llall. Mewn gair, y mae y maes yn eang iawn. Y mae maes ei *ddych'mygiad* mor eang a maes ei greadigaeth. Felly yr edrychai Islwyn ar ei faes. Gwrandawer arno:—

"Barddoniaeth, O Farddoniaeth! Pwy a ddyd
Derfynnau arnat! Eang fel y nef
Yw taen dy ymerodraeth! mae y byd,
Ei greig, ei foroedd, a'i fynyddoedd ef
Yn troi o'th amgylch, a chyfundraeth gref
O dragwyddoldeb bethau, a'r holl ser
O fewn gweledIad dy gerub-drem têr."

Felly, y mae Duwinyddiaeth ac Athroniaeth,—pob gwyddor, pob celf, pob hanes. Nid oes dim dwyfol na dynol nad ydyw o fewn cylch y bardd—y gwir fardd.

Uwchlaw pob peth, rhaid iddo weled pethau yn eu lliwiau a'u cysylltiadau eu hunain; a rhaid iddo fod yn ddyn pur, a'r galon yn uniawn ger bron Duw, i allu cynyrchu barddoniaeth gref.

(3). Yr oedd Islwyn yn fwy fel creawdwr nag ydoedd fel dych'mygwr; ac yr oedd yn fwy yn y naill a'r llall nag ydoedd fel *crefftwr llenyddol*. Celfyddydwr gwael ydoedd, a hynny o ddiofalwch, yn fynych. Dengys ddigon o allu yn y cyfeiriad hwn, pe buasai yn ewyllysio. Y mae yn gallu cynllunio, gallu cynghaneddu, a chlymu geiriau yn eu gilydd, yn fedrus iawn; ond y mae yr olwg a gymer ar swyddogaeth barddoniaeth yn peri iddo ddisbrisio y pethau hyn yn hollol. Hawdd gweled yn ei Raglith y wedd a gymer efe. Ei ddeffiniad hefyd o Alexander Smith: "Cerbyd lle y merchyg meddyliau brenhinol." Ond dylid cymeryd peth gofal gyda'r cerbyd rhag disgyn o'r pethau hyn i'r llaid. Dim ond ei awdl ar "Moses" sydd wedi ei chynllunio o gwbl. Y mae honno yn gywrain a destlus—yn profi beth allsai efe wneyd. Y mae yn gynghaneddwr penigamp pan y ceisia. Gwel ei englynion i'r *Atlantic Cable.* (Nid ydynt yn ddiwall). Y gallu i *odli* a ffurfio *geiriau cyfansawdd:* y mae wedi rhagori ar bawb yn hyn,—wedi darganfod gallu y Gymraeg i ffurfio geiriau cyfansawdd. Yr oedd ynddo rywbeth tebyg i ddiffyg chwaeth, neu yn hytrach diffyg barn. Hyn yw sail y gŵyn gyda golwg ar y meddylddrych am "yr angel-gawr mewn poenau—yn cerdded yn droednoeth dros danllyd fynyddau." Y mae eiddilwch rhai yn cuddio lluaws o bechodau; ond beiddgarwch creadigol ei awen ef oedd yn ei beryglu yn hynyma.

Cân yn well, yn ein bryd ni, mewn mesurau byrion na rhai hirion. Ac y mae hyn yn profi ei fod yn feistr perffaith ar odlau a mesurau, pe buasai ond yn ceisio.

Y mae peth o'r tywyllwch y cwynir o'i herwydd yn ei farddoniaeth yn cyfodi o hyn, sef ei fod wedi esgeuluso trefnu a chynllunio ei ddarnau. Rhaid gwneyd gwahaniaeth rhwng hyn a'r *gyfriniaeth ddofn* sydd ynddo.

Y mae hyn yn cyfodi yn hytrach o natur y meddyliau nag o'u dull. *Angerddoldeb* mawr sydd yn peri fod Browning yn annealladwy, ond y *gyfriniaeth ddofn* yma sydd yn peri fod Islwyn felly. Cyfriniaeth *natur* sydd yn "Y mae yr oll yn gysegredig." Cyfriniaeth y *natur ddynol* sydd yn y dernyn ar yr "Enaid," "Oh Hapus Luddedig," &c. Ac eithrio hyn oll, y mae cryn lawer o'r tywyllwch yn cyfodi o aflerwch y bardd mewn cynllunio a threfnu, peth y buasai yn hawdd iddo ei hebgor.

3. Ei Farddoniaeth.—Nid awn i geisio dosbarthu ei farddoniaeth. Y ffordd oreu ydyw edrych ar ei waith o gyfeiriad yr awdwr. Y mae rhai o'i ganiadau yn *ddesgrifiadol*, eraill yn *fewnol* a *chyfriniol*,—oll yn gysegredig eu ton. Dyma fardd na chanodd linnell erioed i lygru y chwaeth buraf. Y mae rhai o angenrheidrwydd yn anhawdd eu deall, oherwydd eu bod yn ymsymud mewn tiriogaeth aruchel; eraill yn ganeuon toddedig a syml.

Efe yw yr unig fardd *athronyddol* sydd wedi llwyddo i gyfansoddi emyn anfarwol. Rhy dŷn o fater, fel rheol, yw emynnau beirdd athronaidd. Nid ydynt yn ddigon llac i fod yn ganadwy. Ond fe genir ei rai ef tra y bydd penillion Cymreig yn cael eu canu y'ngwlad y cystudd mawr. (Gweler tudal. 110—111 o'r Caniadau). Y mae yr emyn ddiweddaf [dyfynedig fel engraifft] yn neillduol o debyg i emynnau Ieuan Glan Geirionnydd, ond heb y prudd-der llethol oedd yn Ieuan. Tra y byddwn gyda'r darnau crefyddol, craffer hefyd ar "Cyfryngwr," tudal 26. Ac yn neillduol ar "Nis gall y fflam eu difa hwy," tudal. 24.

Bellach ni a ymfoddlonwn ar ddyfynnu o un dernyn barddonol yn unig, sef "Yr Angel"—dernyn cystadleuol yn Eisteddfod Pwllheli, yn 1875. Yn un peth, y mae yn dra nodweddiadol o'r awdwr—y testyn yn un o'r rhai mwyaf cydnaws ag ef. Dengys hefyd ei ddiffygion a'i ragoriaethau i berffeithrwydd :—

A gaiff fy ysbryd i
Yng ngharchar defnydd du
Fydryddu'th hanfod cu,
    Oh Angel rhydd!
A gaiff carcharor tlawd
Drwy rydlyd farau cnawd
Dy wel'd, a'th alw'n frawd
    O wlad y dydd!

Oh, braidd nad ydyw'n fai
I un sy gymaint llai,
O fewn ei gragen glai,
    Dy *enwi* di!
Myfi mewn cyfyng gell,
A thi yn rhyddid pell
Y tragwyddoldeb gwell
    Yn Nuwdod fry!

Adarwr creulawn ddaeth,
A'm dàl yn fore wnaeth
O fewn ei faglau caeth,
    Sef pechod du:
Pan ddeui ar dy hynt
Ar edyn dwyfol wynt,
Mae cof o'm rhyddid gynt
    I'm llethu i.

Ac eto 'rwy'n mwynhau
Dy bell leferydd clau,
Fel swn rhyw ddwyfol drai,
    Mae'n sisial hedd:
Mae'n addaw agor dôr
I ryddid fel y môr,
I anfarwoldeb Ior,
    Tu draw i'r bedd.

Mi ganaf, ysbryd gwyn,
Y dagrau-odlau hyn,
Na chymer dithau'n syn
    Os lleddf eu sain:
Feallai cyn bo hir,
Daw'r anthem yn fwy pur,
Daw seiniau mil mwy clir
    I foddi'r rhai'n.

Rhy sanctaidd yw'th ogoniant idd ei ganfod;
Ysprydol, megis eiddo'th Ior, yw'th hanfod.
Oh, wynfydedig fôd! heb lwyth daearol
I'th dynnu i lawr o rwysg dy rod anfarwol.

Ymddyrcha meddwl dyn i fyny weithiau
I fydoedd ysbryd pur, ryw dêg ororau;
Ond, fel y cerbyd dan y lâs awyren,
Tŷn defnydd ef yn ol o'i ddwyfol wybren
I ddyfnder fel y bedd: o uchder angel
Disgynir ef yn gydradd â'r anifel.

* * * *

Beth oedd dy oedran pan y gwelaist Adda
Yn rhodio hyd ros-lwybrau Eden gynta'?
Pa beth dy syndod wel'd dy hunan ynddo,
Ac arall ran na welaist mo'ni eto
Mewn uniad â'r Meddyliol? Yr oedd defnydd
Y dynol gorff bryd hynny mor ysplenydd
A lliwiau'r fore wawr, ac nid oedd eto
Un hâd o dranc nac o ddadfeiliad ynddo.
Tâl *pechod* yw marwolaeth: moesol burdeb
Mewn defnydd fo ag yspryd glwys mewn undeb,
Wna sicrhau i'r defnydd anfarwoldeb.
"Y marwol *Hwn*, gyfodir ýn y diwedd,
Yr *un* a lusgid yn ei fawr iawn lesgedd
O fan i fan am welliant—i'r "Ffynonnau,"
I "ddwr y môr"—*Hwn*, fu yn rhaib i dònau
Eigionau rhuol cystudd—*Hwn* a wisgir
Ag anfarwoldeb pan y llwyr orphenir.
Ah! ni fuasai'n rhaid ei farw fythol
Pe y cadwasai'r hedyn crëadigol
Blanesid ynddo yn y santaidd foran
Ymhell o ddaear pechod a'i ororau.
Pe y cadwasai dyn ei lân ddechreuad
Nes gorphen tymhor ei amodol brofiad,
Buasai'i santaidd gorff yn traws-ymffurfio
I led-ysbrydol agwedd, ac yn nofio
O hono'i hunan, dros y glesni wybrol,
Ryw fachlud haul, i'r pur ororau dwyfol.

* * * *

Os yw y dorf yn llawenhâu
Pan fyddo brenin yn nesháu;
Os oes baneri yn yr wybr,
Bwâu heirddion dros bob llwybr;
Beth yw'r llawenydd deimlwch chwi,
Angylion y Baradwys fry,
Pan fyddo sant, na'r eira'n wynach,
Ar hwylio'i hynt, yn bur, yn olliach,
I wlad, nag Eden dêg yn decach!
Rhowch im' fy ysbryd-olwg enyd
I wel'd ei lwybr i'r nefolfyd—
Y lydan ffordd agorai'r Duw-ddyn
Wrth esgyn fry, i'r saint ei ddilyn:

Mae sypiau fyrdd o flodau nefol
A dyfwyd yn yr ardd drag'wyddol,
Yn gwlawio dros y ffordd freninol:
Eich dwylaw grogant uwch ei lwybr
Enfysau y drag'wyddol wybr,
Tu ol i'w gilydd, fil o filoedd—
A dàn y rhai'n i nef y nefoedd!
Ac Oh! pan welo dỳrau'r ddinas,
Pan welo'i ddarparedig balas
I gyd o berl, i gyd yn barod,
A'r Iesu'i Hun yn ei gyfarfod—
Oh Fawredd! rhyfyg fu 'nhaerineb,
Nis gallaf sefyll yn ei wyneb,
Tarêwch fi eto â dallineb!

* * * *

Pan fyddo'r meddyg wedi troi
Ei gefn, a'r teulu'n ymgrynhoi
I wrando ar fy ngair diweddaf,
I dderbyn fy nghynghorion olaf—
Boed rhai ohonoch, frodyr gwiw,
Yn anfonedig gan fy Nuw,
O gylch fy ngwely-angau bach,
I ddwyn i fro drag'wyddol iach
Ysbryd na theimlodd ar y llawr
Ond poen a siom a "chystudd mawr."

[Wrth gwrs fe wneid sylwadau ar bob darn gan y darlithydd, ond nid ydynt hwy wedi eu hysgrifennu.—Golygydd.]

# Y PARCH. D. SAUNDERS, D.D.

*(Nodion Coffadwriaethol).*

"His memory long will live alone
In all our hearts, as mournful light
That broods above the fallen sun,
And dwells in heaven half the night."—*Tennyson.*

PAN ofynnodd Golygydd *Y Geninen* i ni ysgrifennu ychydig nodion am y diweddar Dr. Saunders, nis gallem ymatal, oherwydd nid oes odid i bregethwr, gan nad o ba enwad y bo, nad oes ganddo ryw argraffiadau, ie, dyfnion hefyd, am ymadawiad y fath bregethwr, a chan lawer o honom deimlad o chwithdod, fel hiraeth plant ar ol tad, oherwydd ei golli. Ond hoffem i bawb ddeall mai argraffiadau cyntaf ar ol ymadawiad mawr ydyw y sylwadau hyn, ac nid unrhyw ymgais i geisio desgrifio na dadelfennu y cymeriad. Bu Tennyson farw yn Lloegr a Dr. Saunders farw yng Nghymru tua'r un adeg; a daeth y ddwy farwolaeth a'r geiriau uchod o eiddo bardd yr "*In Memoriam*" yn fyw iawn i'n meddwl. A phaham lai? Onid Dr. Saunders, i fesur mawr, oedd Tennyson y pwlpud Cymreig? Ceid yr un cyfuniad o athroniaeth a thlysni,—sylwadaeth ar ddynion ac ar natur,—ac, yn neillduol, yr un cydymdeimlad â'r ysprydol, yn nodweddu pregethu y naill, ac yn rhedeg drwy farddoniaeth y llall.

Daeth y gydmariaeth sydd yn y llinellau prydferth a ddodasom uwchben yr ysgrif hon i'n meddwl yn fynych y dyddiau diweddaf. Ar ryw hwyrddydd o haf hir felyn tesog y mae yr haul, yn gynt na phryd,

megis, yn suddo islaw y gorwel; ac wedi ei golli, am amser, nid oes ond efe yn llenwi eich golygfa ymhob man. Ië, hyd yn oed pe cauech eich llygaid, ni byddai yno ond adlewyrchiad y belen fawreddog o dân, fyddech newydd golli, yn fflamio yn y tywyllwch o dan eich amrantau. Nid ydych mewn tymher, y pryd hwnnw, i geisio dadelfennu ei oleuni, ond yn hytrach i gwyno eich colled ar ei ol. Mae y goleuad fu yn llywodraethu eich dydd wedi ei golli; ac y mae yr adgof am ei ymadawiad fel "goleuni trist" yn llenwi eich ffurfafen am "hanner y nos." Amser gwael fyddai hwnnw i chwi i droi yn seryddwr: rhaid i chwi aros ennyd ymhellach cyn y gellwch, mewn hamdden, efrydu hanes yr haul. Felly ninnau, yn y tudalennau canlynol; y mae yr adgof am yr un a fu yn llenwi pwlpudau ein cymanfaoedd a'n cyfarfodydd pregethu yn ddigon byw i gynyrchu *argraffiadau*, a nemawr ddim arall. Caiff y byw-graffydd, mewn gwaed oer, roi y dyddiadau a'r ffeithiau, dadelfennu cymeriad y pregethwr, ac olrhain teithi ei feddwl; digon i ni fydd edrych ar y goleuni trist,—olion ei ymadawiad sydd, hyd yma, yn rhyw araf hofran uwch ein pen, nes llenwi ein ffurfafen fechan. Chwilio am dano yr ydym ymhob man. Gweled ei ddelw, megis, ymhob cyfeiriad, gan ei fod wedi suddo mor ddwfn i'n llygaid. Dychmygu fel y buasai yn gweithredu yn yr amgylchiad hwn, fel y buasai yn pregethu yn y gymanfa acw, a meddwl fel y buasai yn addurno ein cyfarfodydd pregethu, ac yn rhoddi y fath foddlonrwydd i'r cynnulleidfaoedd.

Y mae hi yn amser rhyfedd ar gyfundebau crefyddol Cymru y dyddiau hyn. Tybed ein bod yn ei osod at ein calonnau yn briodol? Daw geiriau Esaiah yn fyw iawn i'r meddwl: "Darfu am y cyfiawn, ac ni esyd neb at ei galon; a'r gwŷr trugarog a gymerir ymaith, heb neb yn deall mai o flaen drygfyd y cymerir y cyfiawn ymaith. Efe a â i dangnefedd; hwy a orphwysant yn eu hystafelloedd," &c. Y fath gyferbyniad, onide! Bydd efe yn gorphwys yn ystafell tang-

nefodd, tra y rhai a adawyd yn gorfod wynebu y dymhestl eu hunain, a hynny oherwydd diystyru rhybuddion eu ffyddloniaid. Mae wedi myned yn hen ddywediad ystrydebol gennym, ar ddechreu pob galargerdd, ac ar drothwy pob ysgrif goffa, fod y cedyrn yn cwympo, a bod y gwylwyr yn cael eu cymeryd ymaith oddiar furiau Seion; ond a fu adeg erioed yn hanes cyfundebau crefyddol ein gwlad ag y mae cynifer yn colli mor agos at eu gilydd? A fu adeg erioed anhawddach hebgor dynion o nerth a phrofiad? Hwyrach nad ydyw ond cydgyfarfyddiad cyffredin mewn rhagluniaeth; ond yn sicr dylai beri i galonnau bryderu. Sonir am rywrai, ar y rhai y daeth *terfynau* yr oesoedd; rhaid i'r oesoedd derfynu yn rhywle, ac feallai mai nyni ydynt y rhai hynny. "Arwydd ydyw fod Duw yn golygu rhyfel," ebe Matthew Henry, yn ei ddull cwta, awgrymiadol ei hunan, "pan y mae yn galw adref ei lysgenadon." Wele un o'r rhai anhawddaf ei hebgor wedi myned! Gallwn ddweyd, ar ol ei golli, fel y Carthaginiaid ar ol colli Hannibal, y bydd yn chwith i ni am dano yn nydd y frwydr. Pan y cryfhä y rhyfel yng Nghymru, rhwng crefydd ag ammheuaeth a bydolrwydd yr oes, cawn deimlo ein bod wedi colli un oedd "fel deng mil ohonom ni."

Yr oedd Dr. Saunders yn *bregethwr;* ac fel pregethwr y saif byth yn meddwl Cymru. Gwnaeth gymaint a neb i gadw i fyny y gwerth a roddir ar bregethu yn ein gwlad. Cofier nad oes dim a geidw i fyny safon gweinidogaeth yr Efengyl mewn gwlad ond tô o bregethwyr cwbl ymroddedig i'w gwaith, a'u hymroddiad yn fedr yn y gwaith. Eiddigeddai efe dros hyn. Ai nid oes berygl i hynyna fyned o gof y dyddiau hyn? Ai nid oes berygl i bethau ynglŷn wrth bregthu, yn bell neu agos, lyncu y pregethu o'r golwg? "Nid cymhesur i ni," ebai yr apostolion, "adael Gair Duw, a gwasanaethu byrddau." Y mae ambell i bregethwr, ysywaeth, y dyddiau hyn, wedi myned yn goes i bob bwrdd, hyd nes nad oes ganddo

goes i sefyll arni yn y pwlpud. "Eithr ni a barhawn," ebynt hwy, "mewn gweddi a gweinidogaeth y gair;" a dyna yr adeg yr oeddynt yn gweddio nes ysgwyd carcharau, a phregethu nes cynhyrfu dinasoedd a synagogau. Pan yn cychwyn ei weinidogaeth, cafodd Dr. Saunders y pwlpud Cymreig mewn safle urddasol, ac fe wnaeth lawer er cadw pregethu yn uchaf fel rhan o waith gweinidog yr Efengyl. Cysegrodd ei oes i'r pwlpud, llanwodd ef gydag urddas, a bu farw fel tywysog ynddo. Nis gallwn ddirnad y fath effaith a garia hyn ar feddyliau eraill. Y mae yn ddrwg gennym weled tuedd mewn rhai i wneyd carreg lam o'r pwlpud i esgyn at rywbeth sydd, *yn eu bryd hwy*, yn uwch na phregethu. Drwg gennym hefyd weled eraill yn tybied pregethu yn beth mor hawdd nes anghofio llafur ar gyfer y pwlpud. Digon diflas ydyw deall fod rhai gwŷr ieuainc, er gosod allan eu talentau disglaer eu hunain, yn ceisio dangos pa mor hawdd *iddynt hwy*, bid sicr, ydyw llafur y pwlpud. Ymffrostiant mewn mor lleied o amser y gallant gynyrchu y pethau a alwant yn bregethau; nid ydynt hwy byth yn cymeryd y drafferth o'u hysgrifennu, ac nid ydynt byth yn rhoi nemawr o amser atynt! Hawdd cyfansoddi pregethau! Ydyw, yn hawdd gwneyd pethau, pan y'u hysgrifennir nas gellir eu darllen, a phan y'u traddodir nas gellir eu gwrandaw. Ond y nwyddau a alwn ni yn bregethau, â swm dirfawr o lafur y mae y dynion a'u pregethant wedi eu cynnyrchu. Ai hawdd ydoedd cynnyrchu meddyliau fel yr eiddo yr Esgob Butler? ac mewn pregethau y corfforwyd y rhai hynny. Ai heb lafur y gallai Robert Hall gynnyrchu y syniadau dyrchafedig, y ffigyrau clasurol, a'r delweddau mawreddog, a geir yn ei bregethau? *Pregethau* seryddol ydoedd un o gamp-weithiau Dr. Chalmers. Y mae ôl pob peth, ond segurdod meddwl, ar bregethau gorffenedig Henry Rees. Hawdd hefyd ydyw i bregethwr ffwdanu gyda phob peth, a rhoi gwehilion ei allu a'i dalent i'r pwlpud; gwasgar ei ynni ymhob man, nes gwanychu ei hunan yn yr unig fan y

dylai fod yn gryf, sef yn y pwlpud. Temtir y dynion goreu yn fynych i roddi i gynadleddau a phwyllgorau yr hyn a fwriadwyd i'r pwlpud. Ymgroesai yr enwog F. W. Robertson, yn anad unrhyw beth, rhag bod yn ddim ond pot pupur i roi blas i archwaeth afiach pobl Brighton ar bob peth. "*I would to God I were not a mere pepper-cruet to give relish to the palate of the Brightonians.*" Dywedai athrawon un o golegau cyfundebol Cymru wrthyf, yn ddiweddar, fod eglwysi wrth ymofyn am weinidogion iddynt, yn rhoddi i lawr, fel un o'u hamodau arbennig, eu bod yn alluog i ddysgu *Tonic Solfa!* Mae hyn yn ddiau yn rhagorol yn ei le: a da fyddai cael y gweinidog yn ddyn llawn ymhob peth: ond os treulia ei amser i wneyd pob peth i bawb, ac ymfoddloni i fod yn eiddil lle y dylai fod yn gawr, y mae dydd drwg o flaen cyfundebau crefyddol Cymru. Ugain mlynedd o bregethu llegach, diafael, a suddai y cyfundeb mwyaf llwyddiannus sydd yng Nghymru. Prif wers bywyd Dr. Saunders, pa fodd bynnag, ydoedd mai y pwlpud sydd i fod yn oruchaf: a dyma'r paham yr ydwyf yn cymeryd cymaint o ofod i gyfeirio at hynyma. Yr oedd ei deyrngarwch i'r pwlpud yn ddiderfyn. Ni ddigwyddais i erioed ei weled mewn na phwyllgor na chynadledd. Mi dybiwn, oddiwrth rai o'r sylwadau coffadwriaethol a ysgrifenwyd wedi ei farw, gan rai a'i hadwaenent ef yn y cylchoedd hynny, nad ydoedd efe nemawr yn ei elfen yno; eithr, fel y dywed Milton—

> "His giantship . . . somewhat crestfallen,
> Stalking with less unconscionable strides."

Ond yn ei bwlpud, fel brenin ar ei orsedd, y gwelais i ef bob amser; a da gennyf hynny erbyn hyn. Yno yr ydoedd megis tywysog ymhlith llu. Megis y dywedir fod Spenser yn fardd i feirdd, felly gellir dyweyd ei fod yntau yn bregethwr i bregethwyr. Yr oedd ei weinidogaeth, bob amser, yn ysprydoliaeth. Dygai chwi i hoffi y pwnc, ac ond odid i geisio cyfansoddi pregeth eich hunan arno. Galwai y Brenin Siarl Isaac Barrow

yn bregethwr annheg—*the unfair preacher*, oherwydd ei fod yn dweyd pob peth oedd i'w ddweyd, ar bob testyn, —yn ei ddyrnu allan yn llwyr i'r ûs ac i'r gwellt. Pell iawn oddiwrth hynny ydoedd Dr. Saunders: gwnelai destynau yn fyth-gofiadwy i chwi; ond gwnelai i ddyn eu caru, ac ymhyfrydu ynddynt. Y mae adnod o destyn, dan law ambell bregethwr, fel mwnglawdd—dim ond rhyw gyfran o'r fetel werthfawr ynddi, ac yntau, y pregethwr, fel wedi cymeryd hawl arno; ac nid oes neb arall i'w weithio mwy. Ond y mae y testyn, dan law pregethwr arall, fel ffynnon fawr, yn bwrw allan ei gofer peraidd, ac yn agored i bawb. Mae un yn dangos mor ddihysbyddol ydyw gallu y pregethwr; dengys y llall mor ddihysbydd ydyw cynnwys y testyn. Perthynai Dr. Saunders i'r dosbarth diweddaf: ymagorai golygfeydd eang ar bob llaw i chwi, wrth iddo fyned ymlaen; a themtid dyn weithiau i fyned i roi tro ar hyd-ddynt. Fel hyn yr ysgrifenna un am dano, ar ol ei farwolaeth—un oedd yn ddiau yn gydnabyddus âg ef yn un o gyfnodau mwyaf llafurfawr ei fywyd:—"Yn y pwlpud y canolbwyntiai ei holl alluoedd a'i adnoddau. Yr oedd asbri pregethu yr Efengyl yn ysu ei holl natur. Dygai bob peth dan deyrnged i'w waith mawr." Y mae ger fy mron hefyd lythyr a dderbyniais oddiwrth un o weinidogion craffaf a mwyaf meddylgar y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn yr America,—y Parch. D. Davies, M.A., Oshkosh, Wisconsin; ac fel y canlyn y dywed yntau:—"Mwynheais ef yn hynod tra y bu yma gyda ni—felly yn y ty, yn ogystal ag yn y pwlpud. Bu ei ymweliad âg America yn lleshad cyffredinol i'r eglwysi. Traddododd 14 o bregethau anghyffredin yn —— a'r eglwysi cyfagos; a theimlir fod yn hawddach pregethu yno byth ar ol hynny. Yr oedd ei wrando yn codi awydd yn fy enaid am bregethu yn well. Mae yn drueni na bae yr Efengyl yn cael ei phregethu yn fwy teilwng."

Perthynai i ddosbarth o feddyliau prinion. Cyfunai yn gyfartal iawn, mi dybiwn, y gallu i ddadan-

soddi a'r gallu i gyfosod hefyd. Anfynych y ceid mantoliad gwell yn yr un meddwl. Yr ydoedd yn wreiddiol yn yr un ystyr ag yr oedd yr yspryd a ymsymudai ar wyneb y tryblith yn wreiddiol, i ddwyn creadigaeth i fod o'r defnyddiau oedd yn bod o'r blaen. Ac ni chawsom erioed ein siomi am greadigaeth gan Dr. Saunders. Hwyrach fod y gallu i gyfanu, yn hytrach na'r gallu i fanylu, yn dyfod i'r golwg yn fwy yn mlynyddoedd diweddaf ei oes. Yr oedd ganddo lygad craff, yn cyniwair i bob man am ddefnyddiau i'w ddarlun, a llaw gelfydd i'w liwio i berffeithrwydd, a chalon fawr i anadlu bywyd ynddo nes ei wneyd yn beth byw. Un o brif elfennau ei nerth a'i boblogrwydd, fel pregethwr, ydoedd y gallu i ganfod cyfaleddau *(analogies)*, ac i ddefnyddio cymhariaethau. Dywed byw-graffydd Henry Rees fod y pregethwr mawr hwnnw wedi rhoi heibio, at ddiwedd ei oes, arfer cymhariaethau bron yn gwbl: ond yr oeddynt yn amlhau gan Dr. Saunders hyd y diwedd. Yr oedd angerddolrwydd un am ddweyd yr Efengyl yn peri iddo beidio eu defnyddio; tra yr oedd awydd y llall am i'r Efengyl ddylanwadu ar ddynion yn peri iddo eu defnyddio. Ond yr oeddynt ganddo ef, bob amser, "megis afalau aur mewn gwaith arian cerfiedig." Iё, mewn "gwaith," cofier. Yr oedd digon o wirionedd a chyfanrwydd yn y bregeth i'w cadw yn eu lle, ac nid i ormesu, fel y gwnant weithiau, ar y pethau y ceisid eu dangos drwyddynt. Fe gofia ei wrandawyr mai un nodwedd a ddeuai i'r golwg yn dra amlwg yn ei bregethau ydoedd ei gydymdeimlad â'r byd ysprydol. Nid oedd sylweddau mawrion mewn byd arall un amser yn nepell o'i feddwl. Meddai gydnawsedd neillduol â'r ysprydol. Soniai wrthyf yn un o'r ymddiddanion diweddaf a gefais gydag ef, am lyfrau Isaac Taylor, gan ryfeddu eu bod wedi myned gymaint o fri y dyddiau hyn. Dywedai iddo eu hefrydu yn drwyadl, ac addunedai fyned atynt drachefn, yn enwedig y *Saturday Evening;* a'r *Physical Theory of Another Life.* Ond pell iawn ydoedd ei agosrwydd at y byd ysprydol o sawru

dim o'r peth a eilw George Eliot yn *otherworldliness*. Byddai mor hawdd a naturiol iddo ef droi at Dduw, a phethau ysprydol, o ganol yr ymddiddan mwyaf cyffredin, ag a fyddai i blentyn bach droi at ei dad ar ganol chwareu diniwed, ac edrych mewn cymundeb ym myw ei lygaid. Nid anghofiaf y rhawg ei wrando yn pregethu, flynyddoedd lawer yn ol, ar un o'i hoff byncciau, sef nefoedd ac uffern mewn egwyddorion. Egwyddorion mawrion, yn rhedeg eu cwrs ymlaen, o'r sefyllfa hon i'r un ddyfodol, ydoedd dedwyddwch y naill, a thrueni y llall. Darluniai hwynt gyda manylwch angerddol Dante, a chymmesuredd mawreddog Milton. Yr oedd ei hyawdledd yn ysgubol y noswaith honno. Ni bu nemawr o fwhwman i'm meddwl i, drwy gydol rhai dyddiau ar ol hynny, eithr myfyrio y fath le ofnadwy y rhaid i hwnnw fod, lle yr oedd Duw wedi hel holl ysgarthion ei lywodraeth iddo, a'r fath sefyllfa ogoneddus ydoedd honno lle yr oedd Duw wedi casglu hufen ei holl ymerodraeth ynghyd. Dywed ei edmygwyr wrthym mai syniadau y llyfr a gyhoeddwyd yn ddiweddar dan yr enw *Natural Law in the Spiritual World* oeddynt, yn cael eu pregethu gan Gymro, flynyddoedd cyn bod y llyfr hwnnw wedi ei ysgrifennu. Hawdd gennyf gredu hynny: ond yn unig teimlwn eu bod yn gorwedd yn llawer esmwythach, ar fy meddwl i, ym mhregeth Dr. Saunders nag yng ngosodiadau y llyfr galluog hwnnw. O'r awr honno allan ni bu arnaf byth eisiau darllen llenyddiaeth tragwyddol gosp. Aeth dadleuon sydd yn seiliedig, gan mwyaf, ar y syniad o *barhad* yn unig, yn ddiystyr yn fy ngolwg. Deffrowyd teimladau nad ant yn anghof byth, a rhoed bod i feddyliau sydd wedi bod yn gymdeithion oes.

Yr oedd yn *bregethwr urddasol;* a'r urddas hwnnw, nid yn tarddu o fod y pregethwr yn ei honni iddo ei hunan, eithr yn ei roddi yn ddiwarafun, ac mewn math o hunan-anghof ardderchog, yng ngwasanaeth yr Efengyl. Yr ydoedd yn areithydd diail. Nid oes eisiau profi hynny i'r rhai a'i clywsant: nid oes modd ei

brofi i'r rhai na chlywsant ef. Dywedir am hyawdledd Dr. Chalmers ei fod, fel llanw y môr, yn dyfod i mewn gyda rhuthr anorchfygol, gan lanw pob agen a chilfach, fel nad oedd dim i'w wneyd ond cymeryd eich boddi gan y cenllif. Mae math arall o hyawdledd, llawn mor anwrthwynebol, eithr yn dawel—fel y wawr yn cyfodi ar y mynyddoedd. Cyfyd yr haul gyda gwên, a chymer feddiant o gopäu y mynyddau bàn, o un i un; yna y mae yn graddol ennill y pantiau, y naill ar ol y llall, nes o'r diwedd y bydd goleuni hyfryd wedi boddi pob man. Eithr y mae y ddau foddi yn dra gwahanol,—un gan y môr, a'r llall gan y wawr,—un drwy fynnu, a'r llall drwy ennill,—un gyda rhuthr, a'r llall gyda gwên. Afraid hysbysu y darllennydd a'i clywodd mai y math diweddaf hwn oedd hyawdledd Dr. Saunders. Dyry y math diweddaf o hyawdledd fwy o chwareu teg i gelfyddyd, gan gymeryd natur hefyd i fewn; tra y rhydd y cyntaf fwy o le i natur a throi celfyddyd allan. Yr ydoedd ei areithyddiaeth ef, fodd bynnag, yn berffaith waith natur. Yr oedd ei safiad yn areithyddol; ac eto yn hollol naturiol. Nid oes awgrym gan y rhai sydd yn ysgrifennu ei hanes, ar ol ei farw, ddarfod iddo erioed astudio rheolau areithyddiaeth yn bennodol. Cafodd yr areithydd, ynddo ef, ei eni ac nid ei wneyd. Yr oedd ganddo yntau ei ruthriadau; eithr ymdoniadau hyfryd oeddynt, ac nid rhuthrgyrchoedd cenllif.. Dyma'r pryd y dywedai y pethau bythgofiadwy, gwynias, hynny, sydd wedi aros, ac yn debyg o aros yn hir yng nghof y rhai a'i clywsant. Diogelach ydoedd y pwlpud iddo, yr adegau hynny, na'r gynadledd, gan y cymerai rhywrai fantais anheg ar y pethau a ddywedai mewn cynadleddau drwy eu tynnu allan o'u cysylltiadau. Ond gyda'r Efengyl yr oedd y dywediadau hyn yn ffurfio esgynebau bendigedig. Ergyd ddiweddaf y darlun fyddent yn gyffredin; ac, yn llaw arlunydd llai medrus, gallasent ddifetha y darlun; ond, gyda'i fedr a'i chwaeth ef, yr oeddynt, yn ddi-feth, yn ei orphen y peth cryfaf oedd yn bosibl. Clywais ef yn dywedyd

"Mai y diafol oedd un o'r *intellects* cryfaf yn llywodraeth Duw," nes peri i mi deimlo, am foment, rhyw ias o edmygedd o'r diafol ei hunan. Adroddai un o'i hen wrandawyr wrthym, y dydd o'r blaen, mai un o osodiadau ei bregeth unwaith ydoedd, "Fod Duw yn achub y byd mor gyflym ag sydd yn bosibl." Yr ydym yn ei gofio mewn pregeth ar "Fwynder Duw," pan yn desgrifio mai rhai tebyg iddo Ei Hunan fynnai Duw yn agos ato, yn troi ar y gynulleidfa, gyda'r gwirionedd yn y ffurf o ofyniad beiddgar, "Ydech chi'n meddwl," meddai, "mai mintai o *scoundrels* a fyn Duw i gwmpasu Ei orsedd?"

Yr oedd yn Gymreigydd hyfedr, a gallasai ysgrifennu yn wych pe buasai wedi parhau i ysgrifennu hyd ddiwedd ei oes. Ond fel llawer, cwynai, yn ei flynyddoedd olaf, oherwydd annhueddrwydd i ysgrifennu. Ysgrifennodd lawer ar un adeg i newyddiadur a olygid ganddo; ond nid ydyw y math hwnnw o ysgrifennu ond ysgrifennu ar dywod traeth trai,—fe ylch y llanw dranoeth y cwbl ymaith i ebargofiant. Yr ydym yn tybied mai y peth mwyaf arhosol a ysgrifennwyd ganddo ydyw y pamphledyn grymus a gyhoeddwyd gan Mr. T. Gee, o Ddinbych, yn ddiweddar, sef, "Deffrown yn Gyfiawn." Testyn hwn ydyw defodaeth yn Eglwys Loegr: ac ystyriwn ef y peth mwyaf nerthol ac argyhoeddiadol a gyhoeddwyd erioed ar y pwnc yn yr iaith Gymraeg. Ond fel parablwr gwych, yn hytrach nag fel ysgrifennydd medrus, yr erys efe yng nghofion ei wlad. Mor bersain y parablai nes ein hadgofio o'r gair yn y Salm, "Tywalltwyd gras ar dy wefusau." Yr oedd ei lais a'i barabliad yn ymddangos yn rhan mor hanfodol o'i arddull fel nad ymddangosent yn ffrwyth llafur ac amcan o gwbl. Brawddegai yn nodedig o brydferth a dillyn; ond yr oedd hyn, dybiem ni, yn cyfodi o'i arddull, ac nid yn un math o addurn gosod. Y mae iddo, ysywaeth, lu o efelychwyr yn hyn o beth; ond efelychwyr yn y peth sydd anefelychadwy ydynt, druain. Yr oedd efe yn brawddegu yn rhwysgfawr a naturiol; ond y maent

hwy fel dynion yn cerdded ar ystudfachau *(stilts)*,—yr ydych yn ofni, bob moment, eu gweled yn cwympo i'r llawr. Darfu i lu o ysgrifenwyr Seisnig ddinystrio naturioldeb eu harddull wrth geisio efelychu *paradoxes* Macaulay: y mae tô o siaradwyr, un ai yn ymwybodol neu anymwybodol iddynt eu hunain, a chysgod brawddegau Dr. Saunders fel yn hofran uwchben rhannau dechreuol y bregeth, hyd nes y gwresogant ac yr anghofiant bawb a phob peth,—a'r hunan-anghof hwn, wedi'r cyfan, ydyw rhagoriaeth pob ymadroddwr cyhoeddus.

Gallu mawr Ebenezer Morris, meddid, ydoedd gallu i ardderchogi pethau plaen yr Efengyl: nis gwyddom am neb, yn y dyddiau diweddaf hyn, a allai wneyd pethau plaen yr Efengyl yn fwy urddasol na Dr. Saunders. Nis gallwn ddweyd pa fodd yr oedd pethau syml yn myned yn bethau ardderchog o dan ei ddwylaw. Gwisgai hwynt; ac eto nid yn y wisg yr oedd y peth: llefarai hwynt, ac nid yn y llefaru yn unig yr oedd y ddawn; meddai ar ryw gyfaredd ddieithr, anesboniadwy, fel siaradwr, nes gwisgo y pethau cyffredin y cyffyrddai â hwynt â diwyg urddasol. Dywedir am Dr. Johnson fod ei frithylliaid yn llefaru fel morfilod—*His little fishes talk like whales;* ond gallu rhad a chyffredin ei wala ydyw hwn,—gallu i wneyd i bethau bychain siarad yn fawr drwy ormodiaeth. Nid am hwnnw yr ydym yn son. Dywedai Dr. Saunders hanesyn digon cyffredin, ac ni cheisiai y pregethwr byth eich denu i feddwl ei fod yn ddim amgen na chyffredin; oblegid yr oedd ei arddull ef y fwyaf gonest a dihoced yn bod: ond byddai y pethau cyffredin hyn, pan yn ei law ef, mor urddasol, ac yn gweddu mor dda i osod allan bethau yr Efengyl, nes y teimlech braidd mai i hynny y dygwyd hwynt i fod. Weithiau braich o bennill fyddai wedi ei daro, wrth glywed y brawd a bregethai gydag ef yn ei roi allan,—neu ystori wledig a adroddid wrtho: ond yn ebrwydd y cyffyrddai ef â hwynt, deuent yn newydd yn y fan. Yr ydym yn cofio, wedi gwrando un o'i bregethau, adrodd iddo hanesyn a dybiem ni yn taro ar un

o'r materion oedd ganddo: y tro nesaf y clywsom y bregeth yr oedd yr hanesyn yno, wedi ei ddiosg o bob manylion dibwys, eithr yno yn ei hanfod, wedi ei wau i fewn yn brydferth i fater y bregeth, ac heb ddim o'r cyffredinol a'i nodweddai pan yr adroddasom ef iddo. Meddai rhyw gyffyrddiad swyn â phob peth y tarawai ei law arno; a meddai galon fawr yn llosgi o gariad at eneidiau dynion ac at Grist, fel ag i droi pob peth yn wasanaethgar i'r Efengyl a bregethai gyda'r fath urddas. Mewn gair, dyn byw yn pregethu Crist byw ydoedd.

Yr ydoedd yn *bregethwr poblogaidd;* eithr cadwodd ei hunan, dros ei oes, heb i'r poblogrwydd hwnnw droi yn unrhyw niwaid moesol iddo. Un o'r prif elfennau yn ei boblogrwydd, i'r rhai a'i hadwaenent, ydoedd rhoi gwybod fod dynoliaeth fawr ardderchog bob amser y tu ol i'r bregeth. Hawdd i bregethwr poblogaidd, gyda Methodistiaid Calfinaidd Cymru, golli ei bersonoliaeth yn ei bregethu. Pregetha gymaint o fan i fan, fel na bydd o nemawr wahaniaeth pa fath ddyn a fydd mewn unrhyw fan. Y mae gan Cardinal Newman bregeth anghyffredin ar "Ddylanwad Personol yn Foddion i Ledaenu y Gwirionedd," sydd yn dangos fod dynion yn cael eu harwain, i raddau helaeth, gan gymeriadau ac nid gan ymresymiadau,—fod bywydau dysgawdwyr yn fwy heintus na'u syniadau. Dyma un elfen fawr yn nylanwad Dr. Saunders, yn enwedig yn ei ddylanwad ar weinidogion ieuangach nag ef ei hun. Gwyddent na chaent eu bradychu ganddo, na'u siomi ynddo. Cadwodd hyn i fyny drwy ystod holl flynyddoedd ei boblogrwydd. Pwy mor bell oddiwrth bob math o rodres a hunan ag efe? Yn awyrgylch afiach, weithiau, ein cymanfaoedd a'n cyrddau pregethu, cadwodd ei hun mor glir oddiwrth bob math o wagedd ag yr oedd ei safle. Yn y cyfarfodydd pregethu, ac yn yr odfa ddau o'r gloch, deuai, er yn lleog, i wrando gweinidogaeth ei frodyr ieuainc anenwog, neu cyfodai wrid i wyneb y pregethwr ieuanc

wrth ofyn ei ganiatad i absenoli ei hunan oblegid gwendid. Adroddwyd i ni ystori ddarfod iddo berswadio gwr cymarol ieuanc i gael pregethu am ryw chwarter awr o'i flaen, ac y caffai yntau yr holl amser iddo ei hunan. Ei resymau dros hynny ydoedd ei fod ef yn arfer dyfod i'r lle hwnnw yn fynych, tra yr oedd ei gyfaill ieuanc yn berffaith ddieithr. Felly y bu: gwnaeth ychydig sylwadau, a chiliodd o'r neilldu ymhen ychydig funudau. Gwyddai y gwr ieuanc y gallasai ymddiried ei hunan iddo ef. Nid ydym yn gallu sicrhau gwirionedd yr hanes; ond y mae mawrfrydigrwydd Dr. Saunders mor amlwg ynddo, fel y mae yn dra naturiol iddo i fod yn ddilys. Mor bell oddiwrth bob peth iselwael ydoedd! Adlewyrchai hyd yn oed ei gamgymeriadau anrhydedd arno; a dangosai ei dramgwyddiadau un mor ddihoced ydoedd. Yr oedd ffynnon o dynerwch yn ei natur; ond byddai honno ar brydiau yn ymferwi allan yn llifeiriant o eiddigedd sanctaidd, nes cario pob peth o'i flaen. Dywedir fod masnachwr yn Brighton yn cadw darlun o'r pregethwr hynod F. W. Robertson mewn ystafell y tu ol i'w siop; a phan y temtid ef i wneyd rhywbeth isel, annheilwng, rhyw un o driciau isel masnach, yr elai yn ebrwydd i'r ystafell i edrych ar y darlun, ac y deuai yn ol wedi ei nerthu i orchfygu y demtasiwn. "Wedi gweled ei wyneb ef, syr," ebai, "teimlwn nas gallwn ei wneuthur,—ei fod yn gwbl ammhosibl i mi." Dylai yr adgof am wynebpryd Dr. Saunders roi i'r holl rai a'i hadwaenent ystyr newydd i anrhydedd, a pheri fod yn anhawddach iddynt gyflawni dim fyddo'n isel-wael.

Rhaid i ni bellach dynnu y nodion hyn i derfyn: blodeuglwm a gasglasom ar frys ydynt, i'w rhoi ar fedd un a fawr garem. Hoffasem iddynt fod yn fwy persawrus. Cyn terfynu, fodd bynnag, da gennym allu ysgrifennu adroddiad o rai o'i brofiadau gogoneddus cyn y cyfnewid mawr. Nid ydynt ond yr hyn a fuasem yn ei ddisgwyl oddiwrtho ef. Ymddangosasant mewn

newyddiadur;* a phriodol, dybiem ni, eu rhoi yma mewn ffurf mwy parhaol. Coeliwn eu bod y syniadau tawel, mwyaf aruchel, a glywyd erioed.

"Yn ei gystudd diweddaf ni soniai ond ychydig am farw o gwbl: ac mor bell ag y gallem ddeall, nid ydoedd yn meddwl nemawr am dano. Syn-syllai yn barhaus i dragywyddoldeb,—yno yr ydoedd yn byw; ond yr oedd y cyfnewidiadau oedd rhyngddo â'r byd hwnnw braidd yn hollol ddianc ei sylw. Un nos Sabboth, pan yr oedd nifer o frodyr a chwiorydd wedi ymgynull i'r ty i gyd-addoli âg ef, cododd gŵr y llèn, a chawsom gip-drem ar ei brofiad crefyddol. 'Diolch yn fawr i chwi am ddod,' meddai; 'ond ni ddaethoch a dim newydd i mi, nid ydych wedi gwneyd dim yma heno nad ydwyf wedi ei wneyd ganwaith fy hun, ac yn parhau i'w wneyd yn gyson. Mae yn dda gennyf eich hysbysu nad ydwyf yn byw yn dlawd. Nid wyf mewn un modd dan draed amheuon ac ofnau; yr wyf yn byw mewn awyr glir, ddigymylau hollol, ac uwchlaw iddynt oll, ac yn cymeryd yn ganiataol mai i'r nefoedd yr ydwyf yn myned; a gobeithio nad wyf yn camsynied. Yr ydwyf yn rhyw hanner cysgu mewn diofalwch perffaith. Bum am wythnosau yn methu cysgu o ran fy nghorff; ond yn awr yr ydwyf yn medru cysgu yn rhagorol,—cysgu gormod o bosibl,—cysgu o ran fy nghorff a chysgu hefyd o ran fy meddwl, heb ofalu am ddim. Yr ydwyf wedi bod yn pryderu dipyn, ac yn meddwl llawer, am dragywyddoldeb, ac am bob gwedd bosibl ar dragywyddoldeb. Nid wyf heb dybied y posibilrwydd i mi fyned trwy gyfnewidiadau lawer yn y byd hwnnw; cyfnewidiadau ddichon fod yn gymaint a marw,—nid yn hollol yr un fath o bosibl, ond eto yn gymaint *cyfnewidiad* a marw—marw unwaith, dwy waith, tair gwaith, a phedair gwaith, ac, o bosibl, ganwaith: mae tragywyddoldeb yn faith iawn. Dichon y bydd llawer ffurf ar fodolaeth yn y byd hwnnw, gan y byddwn ynddo yn ddiddiwedd; ond yr wyf bellach wedi gallu ymgymodi â thragywyddoldeb ar ei hyd, ac â phob ffurf ddichonadwy arno yn Iesu Grist. Yr wyf yn meddwl ei mentro hi yn *right* dawel, heb ofni dim; gobeithio nad wyf yn twyllo fy hun.' Nid ydym yn gallu ysgrifennu ond y geiriau, yr oedd rhywbeth yn y llefariad ohonynt nas gallwn anghofio byth."

Yr ydym yn gweled ei fod yn cartrefu, yn awr ei ymddatodiad, gyda'r gwirioneddau y bu yn byw i'w pregethu yn ei fywyd. "Meddwl am bob gwedd bosibl

* Cyfeirio yr ydym at yr ysgrifau rhagorol a gyhoeddwyd yn *Y Goleuad* tuag adeg ei farwolaeth. Eled y darllenydd yno, a chaiff bob manylion.

ar dragywyddoldeb;" ac "ymgymodi â phob ffurf ddichonadwy arno yn Iesu Grist," ydynt eiriau sydd yn canlyn dyn yn hir. Ai nid oes wyneb arall i ddarlun mawreddog Esaiah, pan y darluniai uffern odditanodd yn ymgynhyrfu i gyfarfod "mab y wawrddydd" wrth ei ddyfodiad. Pa faint mwy y gallem ninnau dybio fod y nefoedd oddiuchod yn cynhyrfu i gyfarfod âg un o *wir* feibion y wawrddydd, wrth ei ddyfodiad i mewn iddi, a'i holl dywysogion a'i breninoedd yn cyfodi o'u gorsafoedd i'w longyfarch fel eu brawd, fel un a fu yn gweithio dan lygaid y Meistr Mawr, fel un a fu yn ffyddlon hyd angeu a hyd y goron hefyd, fel un a wnaeth un bunt yn ddeg, ac y rhoddwyd iddo awdurdod ar ddeg dinas.

Ni chawsom y cyfleustra i fod yn ei angladd, pan yr oedd miloedd Cymru yn dilyn ei elor i gladdfa Aberdar. Ond y mae bedd y Parch. D. Saunders, D.D., i ni yn wastad yn llygaid yr haul, hynny ydyw, yn llygaid yr haul hwnnw sydd yn tywynnu bob amser y tu draw i'r bedd, neu, yn hytrach, drwy y bedd—nad ydyw y bedd namyn ffenestr iddo i dywynnu drwyddi. Collasom glywed ei bregeth fawr ar y geiriau, "Am hynny, diddenwch eich gilydd â'r ymadroddion hyn," er inni amryw weithiau ofyn iddo am dani; ond clywsom ef yn dweyd pethau mor garedig am y bedd nes ein dygymod â myned iddo; yn neillduol clywsom ef yn dwyn bywyd ac anfarwoldeb i dywynnu mor gryf arno nes ei gynesu i'w waelod. Huned yno hyd y wawrddydd. Tarawiadol, uwch ei feddrod, ydyw y geiriau a ddywedir am y Pererin pan y cafodd lety noswaith yn y palas Prydferth, "y ty a adeiladwyd gan Arglwydd y bryn, er mwyn adfywio a diogelu pererinion:" "A GOSODASANT Y PERERIN I ORWEDD MEWN GORUWCHYSTAFELL EANG A'I FFENESTR YN AGORED TUA CHODIAD YR HAUL: ENW YR YSTAFELL OEDD TANGNEFEDD, LLE YR HUNODD HYD Y WAWRDDYDD; YNA EFE A DDEFFRODD AC A GANODD."

## YR EGLWYS YN DEML.

*(Araeth ar Natur Eglwys).*

TAIR gwaith yn ei ddau lythyr at y Corinthiaid y mae Paul yn dwyn o flaen meddyliau aelodau yr eglwys honno, a hynny gydag amcan neillduol, y drychfeddwl o'u bod yn deml i Dduw. Yn ei epistol cyntaf (pen. iii. 16) dywed, "Oni wyddoch chwi mai teml Duw ydych, a bod Ysbryd Duw yn trigo ynoch?" Drachefn, ymhellach ymlaen yn yr un llythyr dywed (pen. vi. 19), "Oni wyddoch chwi fod eich corff yn deml i'r Ysbryd Glân sydd ynoch?" Yna, yn ei ail lythyr atynt (pen. vi. 16), daw â'r un meddylddrych i mewn yn y geiriau grymus canlynol:—"A pha gydfod sydd rhwng teml Duw ac eilunod? canys teml y Duw byw ydych chwi." Gwir y gallai un feddwl mai at gorff pob credadyn yn unigol y cyfeirir yn yr ail gysylltiad a nodir uchod, ac nid at y saint yn eu cymeriad corfforedig fel teml i Grist. Ond wrth graffu fe welir mai y peth sydd wedi rhoi y wedd bersonol, "Oni wyddoch chwi fod eich *corff* yn deml?" ar y geiriad yna yw, y pechod neillduol y rhybuddia yr apostol hwynt rhagddo, sef y pechod o odineb, hanfod yr hwn yw y camddefnydd a wneir o'r corff. Eglur ydyw fod corff pob credadyn unigol yn deml i'r Ysbryd Glân, a bod y gwirionedd hwn yn cael ei gynnwys yn y cysylltiad uchod, ac yn cael ei ddysgu mewn amrywiol fannau yn yr Ysgrythyr. Ond ystyr bellaf geiriau Paul yn y cysylltiadau hyn ydyw, fod y saint, gyda'u gilydd, ac fel y maent oll wedi eu huno â Christ, ac yn ymgynnull yn ei enw, yn deml iddo drwy ei Ysbryd.

Bob tro y dwg Paul y gair teml o flaen y Corinthiaid, fe wna hynny yn y ffurf o gwestiwn, yr hyn sydd yn arwydd yn ddiau o angerddolrwydd teimlad mawr. Y mae fel pe yn synnu na baent yn ymdeimlo yn fwy â'r hyn oeddynt, ac fe dry arnynt gyda sydynrwydd angerddol, ac, yn y ffurf o ofyniad—"Oni wyddoch chwi mai teml Duw ydych?"—"Pa gydfod sydd rhwng teml Duw ac eilunod?"—awgryma iddynt, os nad oeddynt yn gwybod, y dylasent fod. Ac wrth gysylltu y mannau hyn, lle y dwg yr apostol y gwirionedd hwn, fod yr eglwys yn deml, gyda'u gilydd, fe welir ei fod yn ei ddwyn ymlaen i feddyginiaethu yr eglwys yng Nghorinth gyda golwg ar ddau o bechodau yr oedd wedi suddo i'w gafael, sef yr ymbleidio diddiwedd oedd yn eu mysg, a'u diffyg o ymdeimlad priodol o'u neillduad i Dduw a'u hymgysegriad i Grist. Ei deml Ef oeddynt, gan hynny dylasent fod yn un; Efe oedd yn preswylio ynddynt, am hynny dylasent ymlanhau oddiwrth "bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw." Yr oeddynt i fod yn un, ac yr oeddynt i fod yn lân; ac yr oedd eu hundod a'u cysegredigaeth i gyfodi o'u bod yn breswylfod i Dduw trwy ei Ysbryd. Y mae teml i fod yn un, ac hefyd i fod yn lân. Felly dyma y ddau gyfeiliornad y mae y syniad o fod yr eglwys yn deml yn feddyginiaeth iddynt, sef *ymbleidiaeth* ac *anghysegredigaeth*. Dal hyn o flaen meddwl y Corinthiaid oedd y cymhelliad cryfaf, yn marn yr apostol, i'w cadw yn un, a'u cadw yn ddilychwin yng nghanol y byd halogedig ydoedd o'u cwmpas.

Y mae, debygem, eisieu dal yr un peth i fyny yn ein dyddiau ninnau. Braidd na ddywedem fod y syniad priodol am eglwys mewn perygl o gael ei golli. Ceir rhai yn tra dyrchafu y peth a alwant "yr eglwys;" ac erbyn ymholi, nid ydyw yr hyn a olygant wrth eglwys amgen nag adeilad o feini nâdd, o fewn yr hwn y cerir ymlaen ddefodau rhwysgfawr ar amserau nodedig. Yn yr eithaf arall ceir dynion yn llefaru am eglwys megis

pe na byddai ond math o glwb cymdeithasol a gerir ymlaen yn ol dulliau dynol, ac i amcanion dynol yn unig! Mae y ddau eithaf yn cydgyfarfod mewn darostwng y syniad gwirioneddol am yr hyn sydd yn gwneyd i fyny eglwys y Duw byw. Y defodwr manwl, wrth dra-dyrchafu y pethau allanol—y plisgyn, sydd lawn mor bell oddiwrth y gwirionedd â'r dyn anianol sydd yn gwneyd math o *social club* o honi. Teml ydyw, meddai Paul, ac wrth ddyweyd hyn cyfyd hi i'w thiriogaeth ei hunan, i fod yn gymundeb y saint ac yn gynnulleidfa y ffyddloniaid. "Duw sydd ofnadwy iawn yng nghynnulleidfa y saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd."

Yn awr, y peth sydd yn ei gwneyd yn deml ydyw fod *Crist, drwy ei Ysbryd, yn preswylio ynddi.* Y mae, mewn gwirionedd, yn breswylfod i Dduw drwy yr Ysbryd, a phob maen sydd ynddi yn faen bywiol, a hithau yn dŷ ysbrydol, a'r saint ynddi yn offeiriadaeth sanctaidd, yn offrymu aberthau ysbrydol, cymeradwy gan Dduw drwy Iesu Grist. Ac wrth graffu yn fanwl ar y cysylltiadau, yn y tri man, yn ei lythyrau at y Corinthiaid, lle y gesyd yr apostol yr eglwys allan fel teml, fe geir dau wirionedd, sef fod preswyliad yr Ysbryd Glân yn yr eglwys *yn rhwymyn ei hundeb, ac yn egwyddor fawr ei chysegredigaeth a'i sancteiddrwydd.*

I. PRESWYLIAD YR YSBRYD GLAN YN YR EGLWYS, FEL TEML, YN RHWYMYN EI HUNDEB: "Oni wyddoch chwi mai teml Duw ydych, a bod Ysbryd Duw yn trigo ynoch? . . . canys sanctaidd yw teml Duw, yr hon ydych chwi." Un yw yr Eglwys, un yw ei Duw; sanctaidd yw yr eglwys, sanctaidd yw Duw, ac megis y mae hi yn cyfranogi o sancteiddrwydd Duw, felly hefyd y mae yn cyfranogi o undod y Duwdod. Y mae Duw yn gwarchod gydag eiddigedd sanctaidd dros ei hundod: "Os llygra neb deml Duw, Duw a lygra hwnnw." Fe fŷn Duw weled fod ei hundeb di-lychwin i gael ei gadw yn ddi-drais. Pwy bynnag sydd euog o geisio ammharu ei hundeb, sydd euog o gysegr-yspeiliad o'r fath fwyaf

ysgeler. Pan ddarllenwyd y llythyr hwn yn Eglwys Corinth, gallem dybied fod yr olwg hon ar undod yr Eglwys wedi disgyn ar feddyliau y rhai cnawdol—y rhai bach yng Nghrist, oedd yn eu plith, gyda newydd-deb darganfyddiad. Undod teml ydoedd undod yr Eglwys; cwlwm tangnefedd a gysylltai ei haelodau â'u gilydd—cwlwm nas gallai neb ei roddi ond yr Ysbryd Glân, ac na feiddiai neb geisio ei ddatod heb ymyryd âg un o'r pethau mwyaf dwyfol mewn bod.

Nid oes gennym hamdden heddyw i aros i geisio dangos y gwahaniaeth rhwng teml a theyrnas,—beth yw y gwahaniaeth rhwng yr Eglwys fel teml a'r meddylddrych o Deyrnas Nefoedd, y sonia ein Harglwydd mor fynych am dano? Pwnc dyddorol a ffrwythlawn ryfeddol yw hwn. Mynych y sonia ein Hiachawdwr am "Deyrnas Dduw," a "Theyrnas Nefoedd," ac ychydig o weithiau am yr Eglwys, tra nad ydyw yr ymadrodd teyrnas mor amlwg gan Paul. Eithr sonia am y gair Eglwys dros driugain o weithiau! Paham hynny? Hefyd, nid arhoswn, heddyw, gyda'r rhaniadau a wneir, weithiau, ar yr eglwys yn weledig ac anweledig, yn filwriaethus ac yn orfoleddus. Rhaniadau cyfleus i ddynion lefaru am danynt o safle y ddaear ydynt. Y mae dau berygl yn cyfodi o hyn, sef, i ddynion feddwl fod mwy nag un Eglwys, a hefyd mai y rhan fechan—yr enwad neillduol, neu y blaid arbennig y perthynant hwy iddi yw y wir a'r unig Eglwys. Nid oes ond un Duw, un Crist, un Ysbryd Glân, ac nid oes yn bosibl bod ond un Eglwys. Y mae y llinellau sydd yn ei rhannu i weledig ac anweledig, &c., yn cyfodi gan mwyaf o'n hedrychiad ni, oddiar y safbwynt neillduol y byddwn yn edrych arni, ac nid yn cyffwrdd o gwbl â hanfod undod yr Eglwys. Edrych Duw arni yn un, edrych awdwr yr Epistol at yr Hebreaid (pen. xii. 22—24) arni yn un, a pho uwchaf fydd ein safle ninnau i edrych arni, gwelwn lai o'i rhaniadau a mwy o'i hundod. Hawdd i ni hefyd ydyw meddwl mai y rhan fechan sydd yn dyfod o fewn cylch ein gweledigaeth ni

ydyw yr oll o honi. Y mae bod yn agos at ryw ran neillduol o'r Eglwys weledig, fel ei gelwir, yn anfantais yn gystal ag yn fantais. Pe gofynnid i ddyn sydd yn byw ar y ddaear, "A welsoch chwi y blaned a elwir y ddaear erioed?" Gallai ateb a dyweyd, "Wel, do, ar ei gwyneb hi yr ydwyf fi yn byw." Eithr dyma un o'r rhesymau cryfaf dros gredu na welodd efe mo honi yn iawn erioed—ei fod yn byw arni. Y mae yn byw yn rhy agos ati i'w gweled oll, a'i gweled yn iawn. Felly am yr Eglwys, nid ein henwad bychan ni mo honi, y mae yn eangach nag y gallwn ni ei chymeryd i fewn, yng nghylch cyfyng ein gwelediad ar y ddaear. Yn hytrach na rhoddi arbenigrwydd ar rannu yr Eglwys, gwell gennym athrawiaeth yr hen emyn Gymreig:—

"Mae Eglwys Dduw trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw a'u cydsain yn gytun;
'Teilwng yw 'r Oen' medd seintiau yn y nef;
'Teilwng yw 'r Oen' yw 'n llafar ni a'n llef."

Dysgeidiaeth ardderchog yw hon, ac mor wir ag ydyw o ardderchog. "Teilwng yw yr Oen" yw y trwyddair am fynediad i mewn i'r gymdeithas hon ymhob byd. Lle bynnag y mae teyrngarwch i'r Oen, dyna lle y mae eglwys, a lle bynnag nad oes hyn, er y dichon fod yno adeiladau gwychion a seremoniau lawer, a phob peth allanol yn ddi-brin, nid oes yno eglwys.

Yn awr, rhwymyn undeb y gymdeithas oruchel hon ydyw preswyliad Crist ynddi, drwy ei Ysbryd. Mae pob aelod ynddi wedi ei uno â Christ gan yr Ysbryd Glân, felly math o angenrheidrwydd ysbrydol ydyw eu bod yn un â'u gilydd. Defnyddir amryw ffugyrau yn y Beibl i osod allan yr eglwys yn ei hundeb, megis pren a changhennau, adeilad a sylfaen, corff ac aelodau, gŵr a gwraig. Awgryma amledd y cymhariaethau fod rhyw elfennau yn yr undeb hwn nas gall un ffugr ei osod allan, na chwaith yr oll gyda'u gilydd. Y maent yn torri i lawr yn un neu arall o'r pethau canlynol: un ai nid ydynt yn gallu gosod allan *rinwedd presennol*

yr undeb, neu nid ydynt yn gallu gosod allau y *parhad di-dranc* a berthyn iddo. Pan y ceir un dosbarth o gymhariaethau yn gosod allan y nodwedd gyntaf, byddant yn colli, drachefn, yn y peth diweddaf. Y mae amryw o undebau y ddaear yn dibynnu am eu nerth ar ryw gyfranogiad o fywyd wedi bod—rhyw actau *wedi bod*, ac felly yn colli yr arbenigrwydd a roddant ar fod y bywyd yn rhedeg drwyddynt yn awr; ond yn undeb yr eglwys, yn ei Phen a'i haelodau, y mae y bywyd ysbrydol yn ffrydio drwyddynt *yn awr*,—y mae pob un yn cyfranogi yn barhaus o fywyd ysprydol y Pen, yn gymaint a'u bod yn aelodau byw o'i gorff dirgeledig Ef. Hefyd undeb ydyw nad oes hadau dadfeiliad ynddo. Am holl undebau y ddaear, y maent fel y byd y maent yn rhan o hono, ag elfennau ymddadfeiliad ynddynt. Os sylfaen ac adeilad, os pren a changhennau, os corff ac aelodau, y mae un i ddadfeilio, y llall i grino, a'r llall i heneiddio. Angeu o ryw fath sydd yn niwedd hanes pob un o honynt. Ond dyma undeb presennol a thragywyddol. Nis gallai undebau cyffredin ein byd ni fod hyd yn oed yn gymhariaeth i osod hwn allan. Felly nid cymhariaeth yn hollol mo'r gair teml gan Paul; ni ddywed fod y saint *megis* teml, ond eu bod *yn* deml—yn dŷ ysbrydol iddo Ef. Y mae yn rhywbeth mwy, dybygid, na ffugr noeth yn unig. Ond aiff ein Harglwydd Iesu Grist, wrth ddesgrifio yr undeb hwn, yn uwch fyth; aiff at undeb y Personau Dwyfol yn yr hanfod, "Fel y byddont oll yn un; megis yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i," Ioan xvii. 21. I osod allan yr undeb hwn yn ei nodweddion uwchaf, yr oedd raid esgyn i'r nefoedd, at undeb sydd, nid yn unig yn gyffelybiaeth o hono, eithr sydd hefyd mewn rhyw ystyr dirgeledig yn achos o hono. Yma dyrchefir undeb yr eglwys i'r cwmni mwyaf urddasol. Undeb ag y mae yr Ysbryd Glân yn rhwymyn ei fod, dybygid, ydyw hwn hefyd,—Efe ydyw rhwymyn undeb y Drindod Fendigaid. Y

Tad yw gwreiddyn y Drindod, y Mab yw y Cyfrwng mawr—y Gair sydd yn amlygu y Drindod, a'r Ysbryd sydd yn eu huno. Mewn adnod fawr ag ystyr ddofn, gyfriniol, iddi, yn ei lythyr cyntaf at y Corinthiaid (pen. ii. 11), dengys yr apostol mai yr hyn ydyw ei ysbryd i ddyn dyna ydyw ei ysbryd i Dduw hefyd. "Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn ond ysbryd dyn yr hwn sydd ynddo ef? felly hefyd pethau Duw nid edwyn neb ond Ysbryd Duw." Os nad ydym yn camddeall, y peth a ddengys yr apostol yma ydyw, fel y mae dyn yn adnabod ei hunan drwy ei ysbryd, felly drwy ei Ysbryd y mae Duw yn adnabod ei hunan. Ond ai nid allwn ninnau ddefnyddio y gyfatebiaeth ymhellach, ac ymresymu mai drwy ei ysbryd y mae dyn yn cael ei uno hefyd—ar wahan oddiwrth ei ysbryd, ni byddai ond pen ac aelodau; felly rhwymyn undod y Duwdod yw ei Ysbryd? Y mae a fynno yr Ysbryd Glân â phob undeb ysbrydol, ac y mae pob undeb y mae a fynno efe âg ef yn oruchel a dirgeledig ei natur, ac yn dragywyddol ei barhad. Nid undebau "hyd oni wahano angeu" ydynt. Undeb y Personau Dwyfol â'u gilydd yn yr Hanfod, undeb y ddwy natur â'u gilydd ym Mherson y Gwaredwr, undeb y saint â Christ, ac undeb y saint â'u gilydd yn yr eglwys; y mae a fynno yr un â'r unrhyw Ysbryd â hwynt oll, ac y maent oll o'r un gwehelyth. A'i breswyliad Ef yn yr eglwys fel teml sydd hefyd yn gwneyd y deml yn un.

Dyma, gan hynny, y drychfeddwl ardderchog a ddaliai yr apostol o flaen aelodau eglwys Corinth, i ymlid ymaith yr ysbryd ymbleidio oedd yn eu mysg. "Oni wyddoch chwi mai teml Duw ydych?" Yr oedd methu sylweddoli hyn yn dangos diffyg mawr o ysbrydolrwydd yn eu plith. Try arnynt gyda'r angerddolrwydd mwyaf, a chyda chwestiwn miniog. Deil hwynt yn euog o dorri ar undod y deml, a llychwino ei sancteiddrwydd. Paham yr oeddynt yn cymeryd darnau o'r deml ac yn cysylltu eu hunain â'r rhai hynny? Paham yr oeddynt mor ffol a chymeryd rhan, tra yr oedd yr oll

yn eiddo iddynt? "Pwy gan hynny yw Paul, a phwy Apolos, ond gweinidogion drwy y rhai y credasoch chwi, ac fel y rhoddes yr Arglwydd i bob un?" Yna, yn fwy angerddol fyth, dywed, yn hytrach na'ch bod yn eiddo Paul, y mae Paul yn eiddoch chwi. Ië, y mae pob peth yn eiddo chwi. "Pa un bynnag ai Paul, ai Apolos, ai Cephas, ai y byd, ai bywyd, ai angeu, ai pethau presennol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddoch chwi, a chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw," 1 Cor. ii. 22, 23. Wrth ddifetha undod teml Duw, wrth gysegr-ysbeilio y deml, yr ydych yn eich hysbeilio eich hunain o'ch cyfoeth pennaf. Pe gellid cyfodi ein heglwysi i sylweddoli hyn byddai y feddyginiaeth fwyaf effeithiol i bob math o ymraniadau ac ymbleidiaeth yn eu mysg.

Ond wrth son am yr undeb goruchel hwn, dylem gofio mai undeb ydyw sydd yn dyfod i'r golwg drwy yr *amrywiaeth mwyaf prydferth*. Undeb bywyd ac nid undeb celfyddyd ydyw ef. Nid undeb peiriant ac nid undeb tryblith didrefn ydyw. Yn hytrach undeb gardd ydyw yn llawn o ffrwythau dymunol, undeb maes yn llawn o dyfiant iachus. Y mae diffaethwch sych y Sahara yn llawn o unffurfiaeth rhyfedd—pob tywodyn fel pe ar ei lŵ am fod yr un ffurf â thywodyn arall; ond cyfyd ei unffurfiaeth o absenoldeb ac nid o bresennoldeb bywyd. Undod anialdir crasboeth ydyw. Eithr daw yr undeb hwn i'r golwg mewn amrywiaeth gogoneddus. A'r un Ysbryd ag sydd yn rhwymyn yr undeb sydd hefyd yn ffynhonnell yr amrywiaeth. Dangosir hynny yn dra tharawiadol gan yr apostol yn pen. xii. 1—12 o'i Epistol cyntaf at y Corinthiaid. Hon yw yr adran fawr lle y dysgir unoliaeth yr eglwys yng nghanol amrywiaeth diderfyn. Dangosir yma fel yr oedd y nefoedd newydd a'r ddaear newydd a ddygwyd i fod tuag adeg y Pentecost yn gwenu yng ngwanwyn eu hieuenctyd, o dan belydrau Haul y Cyfiawnder. Sonir am "amryw ddoniau," "amryw weinidogaethau," ac "amryw weithrediadau," eithr "yr un Ysbryd," "yr

un Arglwydd," a'r "un Duw." Yna yn canlyn (adn. 8—11) ceir rhestr o dri thrioedd o ddoniau ysbrydol, y rhai y gellir profi eu gwirionedd drwy fod y rhai a'u medd yn gallu dywedyd "yr Arglwydd Iesu," y rhai hefyd a roddid i bob un gyda'r un amcan, sef, "er lles-hâd" yr holl aelodau o gorff Crist, ac a gyfrennid gan yr un Gweinyddydd Mawr, sef, "Yr un â'r unrhyw Ysbryd," "gan rannu i bob un o'r neilldu megis y mae yn ewyllysio." Ffurf uwchaf prydferthwch ydyw amrywiaeth mewn unoliaeth, ac unoliaeth mewn amrywiaeth, a pho uchaf fyddo natur yr unoliaeth, eangaf yn y byd y bydd yr amrywiaeth.

Gan hynny, y mae y swyn sydd i rai meddyliau yn y Babaeth yn beth hollol gyfeiliornus ac afiach. Y mae hi wedi aberthu yr amrywiaeth prydferth sydd bob amser yn nodweddu y wir eglwys, i ryw fath o unffurfiaeth ymddangosiadol, yr hwn sydd, yn ei wraidd, yn hollol ddynol, a chan ei fod wedi gwthio ei hunan i le y dwyfol, sydd, hefyd, yn ddieflig. Eto dyma y math o unoliaeth sydd wedi dallu rhai o feddyliau uwchaf Lloegr, ac yn denu rhai llai na hwynt i ddyheu am ryw fath o undeb, â gamenwir felly, â'r Babaeth! Dyn sydd yng nghraidd Pabyddiaeth—dyn wedi gwthio ei hunan i le yr Ysbryd Glan, ac yn galw ei hunan, ac yn cael ei alw, yn "Ficer Crist," a chylch ei awdurdod yn cael ei alw yn "Esgobaeth Sanctaidd" *(Holy See)*. Dyma y cabledd mwyaf y gellir meddwl am dano! Nid oes ond un "Esgobaeth Sanctaidd," a honno ydyw y deml lle yr eistedd y Diddanydd Arall ynddi, ac nid oes ond un "Ficer Crist," a hwnnw yw yr Ysbryd Glân. Mae y Babaeth yn rhwyd-waith rhyfedd—unffurf a chymleth, ond pan y treiddiwch i ganol y gwêoedd hyn, yno chwi a gewch un dyn, megis rhyw bryf copyn mawr, yn ganolbwynt yr holl unoliaeth ymddangosiadus hwn, y canmolir cymaint arno! Yno y mae "megis Duw, yn eistedd yn nheml Duw, ac yn ei ddangos ei hun mai Duw ydyw," 2 Thes. ii. 4. Y gwas, ysywaeth, wedi gwthio Meistr y deml allan o honi. Y mae undod

cnawdol y Babaeth, yr ymffrostir cymaint ynddo, wedi ei brynnu lawer iawn yn rhy ddrud, ar draul diorseddu yr Ysbryd Glân o'i le yn y deml, yr hyn sydd yr un peth yn hollol a theyrnfradwriaeth yn erbyn Crist fel Pen ei eglwys. Yr un peth hefyd ydyw perygl eglwysi eraill, a chyfundebau eraill, agosach atom. Gall Eglwys Loegr wthio defodaeth a chlerigaeth farw i le yr Ysbryd Glân. Ië, gall Ymneillduaeth Cymru wthio peirianwaith celfyddydol i'w le, a thrwy hynny ei wthio allan. Y mae gennym le cryf i ddrwgdybio pob unffurfiaeth ddefodol a pheiriannol, "canys lle y mae Ysbryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid." Gellwch wthio rhwydwaith o urddau eglwysig neu seremonïau rhwysgfawr i sancteiddiolaf y deml, i gymylu gogoniant yr Ysbryd sydd yn preswylio ynddi. Gall eglwysi Ymneillduol ddwyn i mewn i'r eglwysi ddulliau bydol, dulliau wedi eu dysgu yn y gwahanol gynghorau gwladol, a chasglu ynghyd fwyafrif o ddynion anianol, a gor-bleidleisio *(out-vote)* yr Ysbryd Glân yng nghanol y deml! Wrth gwrs y mae llais yr Ysbryd yn dyfod i'r golwg drwy lais y credinwyr a llais yr Ysgrythyr. Clustfeiniwn i wrando ar y lleisiau hyn. Y penderfyniad eglwysig goreu a ysgrifennwyd i lawr gan un ysgrifennydd eglwys erioed sydd yn geirio fel y canlyn:—"Canys gwelwyd yn dda gan yr Ysbryd Glân, a chennym ninnau," Act. xv. 28. Gweddïwn am i ysbryd y peth byw ymsymud yng nghanol yr olwynion ,a disgwyliwn yn weddïgar am gyfarwyddyd yr Ysbryd Glân yn ein holl symudiadau yn ei deml.

II. PRESWYLIAD YR YSBRYD GLAN YN YR EGLWYS FEL TEML YN EGWYDDOR FAWR EI CHYSEGREDIGAETH A'I SANCTEIDDRWYDD. Hyn a ddysgir yn arbennig gan Paul yn y ddau gysylltiad diweddaf lle y sonia am yr Eglwys fel teml (1 Cor. vi. 19, 2 Cor. vi. 16). Yn y cysylltiad cyntaf o'r ddau ymdrecha i gyfodi meddyliau y Corinthiaid hyn i edrych ar odineb, pechod ag yr oeddynt, lawer o honynt, dybygid, wedi bod yn ddarostyngedig iddo, a phechod y blinid yr Eglwys honno ar y pryd

ganddo, yn drosedd yn erbyn y corff—corff ag oedd yn gartref i ysbryd, a'r corff a'r ysbryd hwnnw wedi eu cysegru i fod yn rhan o deml fawr yr Ysbryd Glan. Yn y cysylltiad diweddaf dengys iddynt mor anweddaidd ydoedd iddynt hwy, a hwythau yn demlau i'r Ysbryd Glân, ymgysylltu â'r gwleddoedd a'r cyfathrachau ammheus oedd yn ninas eilunaddolgar Corinth. "Pa gydfod sydd rhwng teml Duw ac eilunod? canys teml y Duw byw ydych chwi."

Gellid meddwl fod yn Eglwys Corinth dri math o aelodau, sef y rhai *ysbrydol*, y rhai *cnawdol*, a'r rhai *anianol*, ac y maent, y tri dosbarth, i'w cael yn Eglwysi Cymru y dyddiau hyn. A'm y rhai ysbrydol nid oedd raid iddynt hwy wrth fân-reolau a chyfarwyddiadau pa fodd i weithredu, gan fod ganddynt synwyr ysbrydol wedi ymarfer i ddosbarthu drwg a da. Yn yr eithaf arall yr oedd y rhai anianol, y rhai oeddynt, ysywaeth, rywfodd neu gilydd, wedi dyfod i gysylltiad mewn enw â'r Eglwys, eithr ofer hollol rhoi egwyddor na rheol i'w cyfarwyddo hwy, gan nad oeddynt yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw. Yr oedd un dosbarth uwchlaw deddf a'r llall y tu allan i gylch deddf. Yn y canol yr oedd y rhai cnawdol—"y rhai bach yng Nghrist" (1 Cor. iii. 1), y rhai yr oedd raid iddynt wrth laeth ac nid bwyd, a thybygid mai y rhai hynny oedd lïosocaf yn Eglwys Corinth ar y pryd. Plant oeddynt, a phe danfonasai yr Apostol gyfres o fân-reolau iddynt, plant fuasent byth. Yn hytrach na hynny dyry iddynt egwyddor fawr fel hon i farnu pethau wrthi—beth oedd yn gweddu i deml y Duw byw. Dylent gofio ymhob man mai teml y Duw byw oeddynt hwy. Yr oedd ganddynt ddrygau pendant i ymgadw rhagddynt a phethau eraill ammheus,—rhai pethau a'u drygedd ynddynt eu hunain, pethau eraill a'u drygedd yn yr amgylchiadau, ond nid oedd y naill na'r llall yn gweddu i rai a honnent fod yn deml i'r Duw byw. Y mae yn ysbrydoliaeth, yn gystal a bod yn ysbrydoledig, i feddwl fel y mae yr Apostol yn cyflwyno iddynt wirionedd

mawr fel hwn i farnu pethau wrtho. Tybier hefyd y fath rai oeddynt a'r fath rai fuont! Wele gynnulliad o honynt, Iuddewon a Chenedloedd, llawer o honynt yn gaethion ac ychydig yn rhyddion, y mwyafrif yn dlodion, ac ychydig yn foneddigion. Y mae creithiau eu pechodau ar eu hwynebau, a dyfnach creithiau ar eu cymeriadau. Maidd yr Apostol ddwyn rhestr ddu o bechodau y buont yn euog o'u cyflawni, "Eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a sancteiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd." Yn awr y maent yn deml gysegredig i Grist ac yn breswylfod i'w Ysbryd sanctaidd Ef. Y fath arddunedd gwirioneddol sydd yn hyn! Y fath gymhelliad i fod yn lân! "Am hynny gan fod gennym yr addewidion hyn, anwylyd, ymlanhawn oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw."

Y mae ein hamseroedd ninnau yn debyg mewn amryw bethau i ddyddiau'r Apostol. Cwmpasir ein haelodau eglwysig gan lawer math o bethau. Ceir rhai o honynt yn bethau nad oes eisieu moment o ystyriaeth i benderfynu pa un ai drwg ai da ydynt—y maent yn benderfynol ddrygionus. Y mae yn ein plith doraeth o bethau ammheus hefyd—pethau y gofynnir cwestiynau gan yr ieuanc di-brofiad yn eu cylch. Llawer o gynnulliadau lle y gofynnir, Ai drwg ai da myned iddynt. Mae y cwestiynau a ofynnir yn profi eu bod, o leiaf, yn bethau ammheus. Pe gofynasid y cwestiynau hyn i Paul diau y buasai yntau yn ateb gyda chwestiwn arall, "Oni wyddoch chwi mai teml Duw ydych?" Buasai yn troi yn ol arnynt gydag angerddoldeb mawr gan ofyn, A oeddynt hwy yn tybied fod y pethau a geisient yn gweddu iddynt, a oeddynt yn gyson a'u bod yn demlau i'r Ysbryd Glan?

Mae'n deilwng o'n sylw hefyd mai y gair a ddefnyddid am y rhan gysegredicaf o'r deml—y Sancteiddiolaf, cartref y presennoldeb Dwyfol, a ddefnyddir yn yr holl fannau hyn gan yr Apostol. Arferid dau air gwahanol, un am y cysegr sancteiddiolaf, a'r llall am yr

oll o'r deml a'i chynteddau gyda'u gilydd. Erbyn amser Paul y mae y gair mwyaf cysegredig yn myned am yr oll o'r deml, ac erbyn gweledigaethau Ioan, y mae y sancteiddiolaf, nid yn unig wedi gorchuddio y cynteddau allanol, eithr yr holl ddinas i gyd! "A theml ni welais ynddi," ebe y gweledydd ysbrydoledig, a hynny am y rheswm fod yr holl ddinas wedi myned yn deml. A dyma y gwir dreigliad ar bethau—nid bydoli y deml eithr temleiddio y byd. Hon yw y ffordd i ddileu y gwahaniaeth rhwng y cysegredig a'r anghysegredig, nid drwy ddigysegru y deml, eithr drwy gysegru y byd. Dyma hanfod y gwahaniaeth rhwng Sosialaeth y byd a Sosialaeth Gristionogol—y cyfeiriad gwahanol o ba un y mae y ddau yn cychwyn. Y mae y diweddaf yn cychwyn yn yr Eglwys ac yn teithio i gyfeiriad y byd, gan gymeryd gydag ef egwyddorion mawrion Cristionogaeth i lefeinio y byd, tra y mae y llall yn cychwyn o'r byd ac yn teithio i gyfeiriad yr Eglwys, gan ddwyn i mewn egwyddorion y byd i lygru yr Eglwys. Mae un wedi ei eni o hâd llygredig, wedi ei genedlu gan ysbryd y byd, ac felly, yn ei hanfod, yn hollol *selfish* a *secular*, er yr holl ymddangosiad o haelfrydedd a berthyn iddo, tra y mae y llall wedi ei eni yn y deml ac o genedliad Ysbryd Duw, er i'r ar-brawf *(test)* cyntaf a wnaed arno, yn yr Eglwys foreuol, droi allan yn fethiant. Diau fod yr Eglwys Gristionogol ar hyd yr oesoedd wedi esgeuluso yn ormodol y cwestiynau hyn, a gallwn fod yn sicr y bydd raid i Eglwysi Cymru, a hynny yn y dyfodol agos hefyd, wynebu y cwestiynau mawrion cymdeithasol sydd yn cynniwair ar draws ac ar hyd cyfandir Ewrop yn y dyddiau hyn; ond nid ydyw hynny yn peri y rhaid i ni anwybyddu egwyddorion tragywyddol sydd yn gwahaniaethu byd ac eglwys. Tybier am y cais o ffurfio Eglwys a'i galw yn Eglwys Llafur—*Labour Church!* Y mae dyfod a gwahaniaeth bydol fel hyn i'r deml yn ei halogi. Un o egwyddorion y byd ydyw rhannu dynion i feibion llafur a pherchenogion cyfalaf. Cofier, cwestiwn mawr yw hwn, a'r dynion sydd yn

meddu mwyaf o ysbryd Crist yw y rhai goreu i sefyll uwch ei ben. Fe wrthododd Crist unwaith rannu etifeddiaeth, fe wrthodai yn awr i chwi droi ei Eglwys, un ran o honi i gael ei rhoddi i feibion llafur, a'r rhan arall i berchenogion cyfalaf. Ar yr un pryd, y rhai oedd wedi yfed helaethaf o ddysgeidiaeth Crist fuasai y rhai cymhwysaf i rannu yr etifeddiaeth. Dychymyger am Paul yn sefydlu Eglwys yn Corinth neu yn Colossa, un i gaethion a'r llall i feistriaid, ni chawsai neb ond rhai fel Onesimus fyned i un, na neb ond rhai o'r un dosbarth â Philemon fyned i'r llall! Na, gwell na hynny. Yr oedd efe yn deall Cristionogaeth, "O herwydd trwy un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll yn un corff, pa un bynnag ai Iuddewon ai Groegwyr, ai caethion ai rhyddion, ac ni a ddiodwyd oll i un ysbryd" (1 Cor. xii. 13). "Canys nid oes nac Iuddew na Groegwr, nid oes na chaeth na rhydd; . . . canys chwi oll un ydych yng Nghrist Iesu" (Gal. iii. 28). Ac nid oedd ryfedd gennym ni ddarllen beth fu diwedd un o'r ymdrechion diweddaf i sefydlu un o'r Eglwysi Llafur hyn. Aeth yn hen ac oedranus yn fuan, a bu agos iddi a diflannu, a chyn ei diflannu—y Sabboth olaf o'i bodolaeth, fe wahoddwyd y cyn-weinidog i bregethu ei phregeth angladdol, a'r Sabboth dilynol llanwyd y lle yr arferai ymgasglu iddo gan gynnulleidfa galonnog o *Primitive Methodists*. Daeth iddi yr hyn a haeddai.

Un o anghenion mawr ein hamserau ni ydyw dyrchafu ein syniadau am yr Eglwys fel teml—am ei *glendid* a'i *chysegredigaeth*. Tŷ ysbrydol wedi ei adeiladu o feini bywiol ydyw, ac oddi mewn y mae y freninol offeiriadaeth yn offrymu aberthau ysbrydol. Yr hyn sydd yn gosod gogoniant arni ydyw yr Hwn sydd yn trigo ynddi a'r rhai sydd yn gwasanaethu ger ei fron. Pa enwau bynnag geir arnynt yn y Beibl dynodant *hollol gysegredigaeth*. Y maent yn ffyddloniaid yng Nghrist Iesu ac yn gymundeb y saint, dynion ffyddlawn i Grist, a rhai wedi eu neillduo i'w wasanaeth Ef. Edrych arni yn y wedd hon fyddai ei dyrchafu yn ei

phethau mwyaf. Edrych ar y pethau sydd yn hanfodol iddi ac nid ar y pethau sydd yn ddamweiniol o'i hamgylch. Nid ydyw y meini a'r meteloedd, y coed a'r cerrig, y marmor a'r aur, y defodau rhwysgfawr, ond y pethau allanol—ei phethau lleiaf: y peth mawr, sydd yn ei gwneyd y peth ydyw, yw fod y Presennoldeb Dwyfol yn ei Sancteiddiolaf. Cartref y Duw byw ydyw; ac y mae Duw yn ofnadwy yng nghynnulleidfa ei saint ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd. Iddo Ef y mae mawl yn cael ei roddi, iddo Ef yr offrymir y gweddïau, ac am dano Ef y pregethir ac y dysgir yn y deml. Crist drwy ei Ysbryd yw y Shechinah. Gogoniant y babell yn Israel oedd yr Hwn oedd yn byw ynddi. Gallasai fod yn Gilgal a Shiloh balasau gwychach, ond tai i'w pherchenogion oeddynt ac nid i Dduw. Hwn oedd yr unig dŷ i Dduw i fyw ynddo. Er mai crwyn daearfoch oedd ei dô, eto yr oedd Duw yn byw o dan y tô hwnnw. Y pwnc mawr ydyw pwy sydd yn preswylio yn sancteiddiolaf yr Eglwys. Yr oedd hen demlau yr Aipht yn fawreddog dros ben, bu Moses yn cerdded lawer gwaith rhwng eu colofnau cerfiedig a'u muriau o feini naddedig. Tebyg na bu ar y ddaear eu gwychach erioed; ond erbyn cerdded ymlaen i'w lleoedd cysegredicaf dichon mai celain sarff neu epa, neu ysgerbwd aderyn aflan, a addolid yno! Dacw yr Hebrewr rhyw ddiwrnod yn nhir Midian, ac wele berth yn llosgi gan dân a'r berth heb ei difa. Syml iawn, gellid meddwl, oedd yr olygfa. Perthen y bu yn coginio ei ymborth lawer gwaith yn yr anialwch wrth rai cyffelyb iddi. Na! y mae rhywbeth dwyfol yn hon. Mae Duw Abraham, Isaac, a Jacob yn llefaru o ganol hon. Aeth y ddaear yn ddaear sanctaidd o dan ei draed yn y fan, aeth y wialen oedd yn ei law yn offeryn i wneyd gwyrthiau! Rhaid oedd diosg ei esgidiau oddiam ei draed. Gwnaiff presennoldeb Duw bethau cyffredin yn bethau anghyffredin. Gellwch gerdded Eglwysi Cadeiriol—Eglwysi hanesyddol enwocaf y byd, yng nghanol marmor naddedig, ond erbyn myned ymlaen i'w lleoedd mwyaf

cysegredig beth a geir yno ond *dyn yn ceisio dynwared Cyfryngwr!* Dyn ffaeledig wedi taflu ei hunan rhwng yr addolwr a'i Dduw! Dyn yn ceisio gosod ei hunan yn lle Crist a'i Ysbryd! Nid ydyw amgen nag addoli epa. Dyn wedi ymgymeryd a bod yn offeiriad rhwng dynion a Duw, ac yn gweddïo mewn iaith anhyall i'r bobl, gan drin a thrafod ordinhadau y deml, a thrwy ryw rin gyfareddol yn honni gallu trawsnewid arwyddion syml i fod yn sylweddau ysbrydol! O! rhodder i ni hen gymundebau hen Ymneillduwyr Cymru, neu Gyfamodwyr Ysgotland, pan nad oedd ganddynt ond cyfleusderau dynion ar ffo. Dan gysgod y clogwyn, yn yr ogof, yn yr ysgubor, gwnelent y lleoedd hynny yn demlau i'r Duw byw.

Y mae dwy ochr i wasanaeth y deml, sef y wyneb sydd tuag at Dduw mewn offrymu mawl a gweddïau iddo, a'r wyneb arall sydd tuag at yr addolwyr, sef y datguddiad a ddyry Duw o hono ei hun i'r addolwyr yn yr Eglwys. Yr Iesu yw Cyfryngwr y naill a'r llall, a'r Ysbryd Glân yw y Cymhellydd,—drwy Grist ac yn help yr Ysbryd y gwneir pob peth yn y deml. Breninol offeiriadaeth mewn teml yw y saint pan yn addoli. Nid offeiriadaeth un dyn, ond offeiriadaeth y Duw-ddyn. Mae yma ymwneyd uniongyrchol yr addolwyr â Duw, a datguddiad neillduol o Dduw i'r addolwyr. "Drwyddo Ef y mae i ni ein dau ddyfodfa mewn un ysbryd at y Tad." Da gennym fod y Protestaniaid yn rhoddi bri ar y ddwy ochr fel eu gilydd. Nid oes gan Eglwys Rhufain le ond i un ran yn unig. Y peth a elwir ganddynt hwy "y gwasanaeth" yw pob peth,—y mae yr offeiriad wedi gwthio yr athraw allan o'r deml—yr offeiriad, ysywaeth, ydyw canolbwynt eu cyfundrefn hwy. Dywed Paul ar fin ei angeu, "I'r hon (sef yr Efengyl) y'm gosodwyd i yn bregethwr ac yn apostol, ac yn athraw y Cenedloedd." Ni sonia ei fod wedi ei osod yn offeiriad. Dylid cofio mai dysgeidiaeth mewn teml ydyw pob dysgu ynglŷn â'r Eglwys. Mae ynddi ddigon o le i ddulliau y byd o gyfrannu addysg, ond rhaid eu cysegru oll i was-

anaeth y deml. Dyma gyfododd ddysgu plant bach i sillebu Cymraeg, yn adeg cyfodiad yr Ysgol Sabbothol, yng Nghymru, yn waith i Grist,—gwaith cysegredig teml ydoedd.

Hyn hefyd sydd yn gwneyd *pregethu yr Efengyl* yn waith ar ei ben ei hun—gwaith teml ydyw.Ië, hyd yn oed pan y gwneir ef yn y byd, ac i'r byd, dylai y pregethwr gofio mai gwas y deml ydyw. Hyn a esyd wahaniaeth hanfodol rhwng pregethu Crist ac areithio y byd. Nid areithiwr i egluro pethau bydol mo'r pregethwr, eithr cyfrwng i Ysbryd Duw weithredu drwyddo i gyhoeddi newyddion da i'r byd. Os creffir ar hyn nid oes eisieu i'r pregethwr fod yn hir heb deimlo y gwahaniaeth rhwng y bregeth a'r araeth. Nid rhaid iddo ef fyned i drafferth i chwilio am ei destyn, y mae hwnnw ganddo, "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith ond Iesu Grist, a hwnnw wedi ei groeshoelio." Dyma destyn mawr gweinidogaeth yr Ysbryd Glân, a dylai y pregethwr wybod mai dyma ei destyn yntau hefyd. Ac nid yr Ysbryd Glân, ychwaith, yn rhyw ail allu ond yn Feistr. Nid yr Ysbryd Glân yn rhyw ddylanwad i gael ei ddefnyddio gan y pregethwr, eithr y pregethwr yn offeryn i gael ei ddefnyddio gan yr Ysbryd. Llestri teml ydyw pregethwyr yr Efengyl i fod, i gael eu llenwi gan yr Ysbryd Glân, ac i fod yn feddiant hollol iddo.

Y mae y *gweddïo* hefyd yn wasanaeth teml. Y gwres-fesurydd ymhob eglwys ydyw ei chyfarfod gweddi. Drwy hwn y daw yr Ysbryd Glân i'r golwg amlycaf, ac os tristëir Ef, yn hwn y teimlir ei absennoldeb gyntaf. Profir gwirionedd hyn yn yr eglwysi hynny sydd, drwy gwerylon ac ymbleidiau, &c., wedi ymbellhau oddiwrtho. Hefyd, ai nid y rhai mwyaf ysbrydol ymhob eglwys ac ymhob cyfundeb yw y rhai ffyddlonaf i'r cyfarfodydd hyn? Y mae bywyd ysbrydol y deml yn ffrydio i'r golwg yn y cyfarfod gweddi. Yma yr ydych, megis Ioan gyda'i Arglwydd, yn pwyso ar fynwes yr Ysbryd ac yn gwrando curiadau ei galon! "Os cyd-

synia dau o honoch ar y ddaear," Matt. xviii. 19. Dyma ddarlun yr Iachawdwr o gyfarfod gweddi yr eglwys. Ond craffer ar y gair "cydsynio." Nid cydsynio â'u gilydd a feddylir, eithr cydsynio â rhyw Un Mawr sydd a'i bresennoldeb mor fawr fel nad oes eisieu dyweyd ei enw. Ystyr arbennig y gair cydsynio, yn y fan hon, ydyw gwneyd cynghanedd *(symphony)*. Fe ŵyr y cerddorion fod rhyw un nôd safonol, ac y mae yr holl nodau eraill i gydgordio â hwnnw. Felly yng ngweddïau y deml, y nôd safonol ydyw hwnnw a roddir gan yr Ysbryd, a rhaid dwyn yr holl nodau eraill i gydsain beraidd â hwnnw cyn y bydd yno "gydsynio" yn ystyr uwchaf y gair. Gan hynny, dywedai y chwaer grefyddol honno wirionedd prydferth, pan yr edliwid iddi, gan rywun, nad oedd ond hi yn bresennol yn y cyfarfod gweddi, a gwirionedd ydoedd mor gywir ag ydoedd o brydferth, fod yno bedwar yn bresennol, ond nad oedd ond un yn weledig—fod y *Tad a'r Mab a'r Ysbryd Glân yn bresennol, er nad ydoedd ond un yn y golwg*. Credwn fod yno *symphony* gan fod yr Ysbryd wedi ei dwyn i gynghanedd â'r Tri Bendigaid.

Y mae rhan arall yn perthyn i'r eglwys y dylid cofio, ac yn enwedig yn y dyddiau hyn, mai rhan o wasanaeth teml ydyw, sef ei *mawl*,—y mae a fynno yr Ysbryd Glân mewn modd neillduol âg ef. Dylai fod yr ymdeimlad o gysegredigaeth yn rhedeg drwyddo. Da gennym ddeall fod arweinwyr y canu yn ein cynnulleidfaoedd, ac yn arbennig arweinwyr ein cymanfaoedd cerddorol, yn ddynion crefyddol eu hunain, ac yn gwneyd eu goreu i gyfodi tôn caniadaeth y cysegr ymhob man. Dyger a fynner o ddulliau y byd i fewn; ond cofier eu bedyddio oll i Grist cyn eu defnyddio. Yn nheulu Cain, ysywaeth, yr oedd Jubal wedi ei eni; ei anffawd yn hytrach na'i fai, fe allai, oedd hynny. Gwnelai delynau gwychion, yn ddiau, ac organau heb eu cyffelyb; ond prin y buasai cynnulleidfaoedd teulu Enos mab Seth, pan y dechreuwyd galw ar enw yr Ar-

glwydd, yn caniatau iddynt ddwyn y cyfryw i dŷ yr Arglwydd heb yn gyntaf eu cysegru.

Hefyd dylid cadw mewn golwg mai mawl *cyffredinol* yr holl gynnulleidfa ydyw i fod, ac nid ffrwyth llafur cyflog rhyw ychydig. Os felly, yr ydym yn myned yn ol at ysbryd a llythyren yr Hen Oruchwyliaeth. Yn y deml gynt yr oedd offeiriaid neillduol yn offrymu a chantorion neillduol yn canu. Eithr yn awr y mae yr holl saint yn offeiriaid, ac felly y mae yr holl fawl yn gyffredinol. Felly y desgrifir canu yr eglwys yn y Testament Newydd. Y mae gan "bob un Salm," y maent i "lefaru wrth eu gilydd mewn Salmau a hymnau ac odlau ysbrydol," y maent i "ddysgu a rhybuddio bawb eu gilydd mewn Salmau a Hymnau." Er ein bod fel cenedl gyfoethoced mewn emynnau da ag odid i genedl ar y ddaear, ag eithrio yr Iuddewon, eto prin y tybiwn fod mwyafrif ein hemynnau yn ddigon cyffredinol. Mae llïaws o honynt yn rhy bersonol i'r deml; emynnau i'w mwynhau mewn cylchoedd dirgel a theuluaidd ydyw llawer o honynt. Dylem ystyried mai mawl teml ydyw ein mawl i fod. Ac nid rhedeg i'r deml i ymdwymno o herwydd ei bod yn oer allan yn y byd yn gymaint, eithr myned yno i dywallt allan ein hysbryd mewn addoliad a mawl. "Canys aethwn gyda'r gynnulleidfa, cerddwn gyda hwynt i dŷ Dduw, mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gwŷl." Y peth a roddai urddas sanctaidd ar ganu cynnulleidfaoedd Cymru fyddai eu bod, gyda'r holl fedr sydd ganddynt, yn sylweddoli eu bod yn dyfod "i fynydd Sion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o angelion, i gymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntafanedig." Pan y daeth y gwragedd yn finteioedd at ddrws pabell yr Arglwydd, canfu Moses eu bod wedi dwyn eu drychau, y pethau y gwelent eu *hunain* ynddynt, yn aberth, a chymerodd yntau y drychau ac a'u toddodd oll yn un nöe bres fawr at wasanaeth y cysegr; felly dylai ein teimladau personol ymdoddi yn un anthem o fawl i Dduw yng nghanol ei deml.

Preswyliad yr Ysbryd yn y deml a wnaiff ei hordinhadau neillduol, megis *Bedydd a Swper yr Arglwydd*, yn *wir* gyfryngau gras. Perygl Defodaeth ydyw gorddyrchafu y rhai hyn, perygl Ymneillduaeth ydyw eu darostwng. Y ffordd y deuir i edrych yn iawn arnynt ydyw eu cysylltu â'r Ysbryd Glân. Nid ydynt yn bethau i'w cario yma ac acw ar hyd teiau—pethau teml ydynt, ac nid oes ystyr iddynt ar wahan oddiwrthi. Gall yr "offeiriad" (y mae rhai yn honni yr enw hwnnw, ysywaeth, yng Nghymru), yn berffaith gyson âg ef ei hunan, eu cario o gwmpas, oblegid y mae efe yn ymgymeryd â phethau mawrion. Y mae ei fedydd ef yn ailenedigaeth, lle bynnag y'i gweinyddir, a than ei ddwylaw cyfareddol ef aiff y dernyn bara a'r ychydig win yn sylweddau ysbrydol; ond am weinidog ymneillduol nid gyda'r fath honiadau a hyn yr ordeinir ef. Cadwer yr ordinhadau, gan hynny, yn y deml, ac os, o dan amgylchiadau neillduol iawn, y gwelir y doethineb o fyned â hwynt, weithiau, allan, gofaler am fyned â darn da o'r deml gyda hwy. Gofaler am gyfarfod gweddi a nifer o'r rhai mwyaf ysbrydol i fod gyda hwynt. Dau eithafion peryglus sydd yng Nghymru yn awr,—y perygl o'u diosg o bob urddas, a pherygl arall llawn cymaint ydyw eu gwisgo a choeg-ddillad a rhodres. Cadwer Cymru rhag y fath ffolineb! Sylwedd-oler eu bod yn gyfryngau drwy y rhai yr amlyga yr Ysbryd Glân ei hun. Gallant fod yng nghanol adeiladau gwychion, yng nghanol rhwysg a mawredd allanol, eto heb i'r Ysbryd ddyweyd dim wrthynt. Yn y rhyfelgyrch rhwng y wlad hon ac Abyssinia, flynyddoedd lawer yn ol, yr oedd gan y Prydeiniaid *telegraph poles* a gwifrau trydanol yn rhedeg arnynt, er mantais iddynt lefaru drwyddynt. Gadawyd y polion ar eu pennau gan y Prydeiniaid, wrth adael y wlad, eithr cymerasant y gwifrau trydanol ymaith. Aeth yr Abyssiniaid druain, wrth feddwl y fath gyfleustra fuasai y fath ddyfais iddynt hwythau, i'w dynwared, a gosodasant wifrau i redeg o bolyn i bolyn, eithr, ow! nid oedd gwefr yn y

gwifr, ac felly ni ddywedid gair drwyddynt! Rhaid cysylltu yr ordinhadau â phreswyliad yr Ysbryd Glân cyn y daw dim cymundeb ysbrydol drwyddynt.

Sylweddoli ei bod yn deml i'r Ysbryd hefyd a bair i'r eglwys ymwrthod â phob *cysylltiad anachaidd â'r byd.* Y mae *gwir* gysylltiad eglwys â gwladwriaeth yn un o gwestiynau mawrion hanes. Yn hanes yr Hebreaid yr oedd y ddau yn un, canys Dwyflywiaeth *(Theocracy)* ydoedd y Wladwriaeth Iuddewig. Ni ddarfu i eglwys y canrifoedd geisio gwneyd dim â'r wladwriaeth, o herwydd eglwys erlidiedig yn y daeargelloedd a'r *catacombs* ydoedd. Ond felly aeth dan wraidd gorseddfeinciau y Cesariaid! Bu Eglwys Rhufain yn y Canoloesoedd yn ceisio datrys y pwnc hwn drwy i'r eglwys weithiau estyn ei nodded dros y byd, bryd arall y byd dros yr eglwys. Byddai y byd weithiau yn carcharu yr eglwys, a hithau yn ei thro yn ysgymuno y byd, nes yr aeth o'r diwedd, o fod yn ddyweddi Crist, i fod yn ordderchwraig y byd! Mae cenedloedd Protestanaidd Ewrop, er ys canrifau, yn ceisio penderfynu y mater gyda'r pethau a alwant hwy yn Eglwysi Cenedlaethol. Ceisiodd Puritaniaeth Lloegr Newydd sefydlu math o *Theocracy*, eithr daeth y *Revolution* ac a chwalodd y cyfan ymaith, a byth er hynny y mae y byd a'r eglwys yn y Cyfandir Mawr hwnnw yn ffynnu yn llawer gwell ar wahan. Dyma fater yr ydym ninnau yn y deyrnas hon yn ei ganol yn awr. Hwn yw craidd y pwnc sydd yn cynhyrfu y wlad hon ar hyn o bryd, sef, Addysg Grefyddol. Rhaid, yn ein bryd ni, aredig cydwybodau Ymneillduwyr y deyrnas yn ddyfnach ar y mater hwn. Caiff y byd ddyfod i'r deml i addoli—caiff offrwm ynddi ei aur, a'i thus, a'i fyrr, ond iddo wneyd hynny yn wirfoddol; ond nid oes iddo, fel y cyfryw, hawl i ddyfod i mewn i reoleiddio gweithrediadau y deml. Nid cwestiwn o ychydig o arian ydyw, nid cwestiwn o pwy a gaiff ychydig bunnoedd o ddegwm, eithr cyfyd hyn o'r egwyddorion mawrion sydd yn ei gwneyd yn ammhosibl priodi byd ac eglwys â'u gilydd,

heb wneyd putain o'r eglwys a gorthrymydd o'r byd. Buasai Paul yn llefain allan "Pa gydfod?" Gair tra neillduol yw y gair a ddarllennir yn "gydfod" yn yr adnod, a'r cyfieithiad goreu o hono i iaith ffasiynol y dydd a fyddai, "Pa *compromise?*" Nis gellir *compromisio* y deml â'r byd, nis gall y byd reoleiddio yr eglwys heb ymyryd â breiniau breninol ei Phen, a chymylu gogoniant yr Ysbryd sydd yn trigo ynddi.

Y syniad hwn am yr eglwys fel teml sydd yn cadw yn fyw ym meddyliau y rhai mwyaf ysbrydol y dyheuad am *undeb* yn yr eglwys, ïe, am fwy o hono bob dydd. Yn y dechreu yr oeddym yn son am amrywiaeth er yr undeb, yn awr yr ydym yn son am undeb er yr amrywiaeth. Nid ydynt yn hollol yr un peth, ac nid ydynt yn groes i'w gilydd. Y mae undeb yn llenwi yr awyrgylch grefyddol y dyddiau hyn, ac y mae yr ysbrydoedd mwyaf cydnaws âg Ysbryd y deml yn teimlo ei fod yn bod er yr holl amrywiaeth. Yn ol dywediad cyrhaeddbell Coleridge, y maent yn gallu gwahaniaethu heb ymrannu, ac felly osgoi sism, ac yn gallu uno heb gymysgu, ac felly osgoi heresi. Y mae meddyliau uchaf yr Eglwys Gristionogol yn gallu gwneyd hyn yn awr,—gallu gwahaniaethu yn y pethau bychain, cymhariaethol ddibwys, a theimlo yn un yn y pethau mawr sylfaenol. Y mae eu gwaith yn amrywio yn y pethau dibwys yn ychwanegu at brydferthwch y deml, y mae eu gwaith yn uno yn y pethau hanfodol yn ychwanegu at ei chadernid.

Ni hoffem weled holl arwyneb Cymru yn grefyddol, yn rhyw un parc mawr cauedig, ac yn feddiant hollol i ryw un enwad crefyddol, dros i hynnw fod yn Fethodistiaeth Calfinaidd. Edrych yn brydferthach, dybygem ni, fel y mae, a diwyllir hi yn well. Yn Ffrainc edrych arwyneb y wlad yn dra gwahanol i lawer parth o Loegr. Ceir gweled y wlad, nid yn rhyw barciau mawrion, eang, eithr wedi ei rhannu yn llanerchi bychain, tlysion, lle y mae pob congl dan ddiwylliad perffaith. Y rheswm am hynny, meddir, ydyw fod Deddf Cyntafanedigaeth *(Primogeniture)* wedi ei diddymu yno, fel

nad ydyw y brawd hynaf, am ei fod felly, yn etifeddu y cyfan, eithr rhaid iddo rannu gyda'i frodyr a'i chwiorydd ieuengach nag ef. Y canlyniad ydyw fod gwyneb y wlad yn brydferthach, a phob congl yn cael ei hamaethu yn well. Felly am Gymru yn grefyddol. I ni, edrych pentrefi a threflannau Cymru, gyda'u haddoldai aml, yn brydferth odiaeth. Bydd rhai yn edrych ar ein gwahanol gapelau yn drychineb, ac yn gynnyrch rhywbeth y maent yn gweled yn dda ei alw yn sism. Gwell gennym ni ei gweled fel y mae na phe buasai yn rhyw un parc mawr i ryw frawd hynaf o enwad, er i hwnnw honni gallu olrhain ei achau i fyny i ddyddiau yr Apostolion. Bu ein gwlad, ysywaeth, yn hir felly, a gŵyr pawb ei bod yn hagr ac anniwylledig y pryd hwnnw. Yn awr, gymaint yn brydferthach ydyw; ac fel y diwyllir hi, bob congl o honi! Y mae yn fân ffermydd ac yn erddi i gyd, ac y mae prydferthwch y blodau a'r coed ffrwythlawn yn cuddio y gwrychoedd o'r golwg. Fferm y Trefnyddion Calfinaidd, fferm y Trefnyddion Wesleyaidd, a gweinidog i ofalu am bob cylchdaith. Fferm ein brodyr yr Annibynwyr, wedi ei rhannu yn erddi prydferth, a garddwr i ofalu am bob gardd, a fferm y Bedyddwyr yr un modd. Ac y mae pawb o honom yn ddigon parod, yn ddiau, i'n brawd hynaf gael pob chwareu teg, ond iddo gadw ei arddwr ei hunan. "Ni chenfigena Ephraim wrth Judah, ac ni chyfynga Judah ar Ephraim."

Yng nghanol yr holl wahaniaethau y mae yr ymdeimlad o undeb yn ddwfn ym mynwes pawb sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist o galon bur. Megis y gwnaeth Duw o un gwaed bob cenedl o ddynion i breswylio ar wyneb y ddaear, eto yr ydym yn annog pob cenedl i gadw i fyny ei nodweddion cenedlaethol. Ac er y gwahaniaeth iaith a lliw, &c., y mae yr ymdeimlad o undod yn ddwfn yng nghalon y ddynoliaeth. Felly y gallwn ddyweyd am yr holl enwadau Protestanaidd, ac yn neillduol am y rhai Ymneillduol, fod iddynt eu lle a'u gwaith, a bod yr ymdeimlad o undeb yn ddwfn yng

nghalon pob un o honynt. Ac Efe a wnaeth o un ysbryd bob enwad o Gristionogion i breswylio ar wyneb y ddaear (Gristionogol) ac a bennodd yr amseroedd rhagosodedig a therfynnau eu preswylfod hwynt, fel y ceisient undeb ysbrydol, os gallent ymbalfalu am dano ef, a'i gael, "er nad ydyw efe yn ddiau nepell oddiwrth bob un o honom; oblegid ynddo Ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod, megis ag y dywedodd rhai o'ch poetau chwi eich hunain, canys ei hiliogaeth Ef ydym ni." A phwy oedd y poet a ganodd brydferthaf am yr undeb hwn?—Matthew Arnold. Mewn cân dlos desgrifia bysgotwr Saxonaidd tlawd, ar un o lennydd Lloegr, yn pysgota yn ei gwch yn y nos, ac yn cael gweledigaeth ysplenydd. Yn lle ei fwthyn bychan ei hunan fe welai ar y lan deml fawreddog wedi ei goleuo yn ogoneddus, a'r gerddoriaeth a'r mawl hyfrytaf a glywsai erioed yn ymddyrchafu o honi. Gweledigaeth fendigedig i'r pysgotwr tlawd yn y nos. Ac mewn dwy linell, cyn diwedd y gân, dyry y bardd y rheswm paham y cafodd y weledigaeth, sef o herwydd fod yr Iesu gydag ef yn ei gwch:—

> "O Saxon Fisher! Thou hast had with thee
> The Fisher from the Lake of Galilee."

—Ysbrydolrwydd personol oedd yr achos o'r weledigaeth, yn allanol; felly y rhai mwyaf ysbrydol ymysg yr enwadau Cristionogol sydd yn ymdeimlo fwyaf â'r undeb sydd yn eu plith.

Ond y mae y deml i ymeangu dros yr holl ddinas yn y man. Dyma wers fawr hanes yn ogystal a thystiolaeth prophwydoliaeth. Y mae yr eglwys fel cymdeithas eisoes wedi goroesi pob peth arall, yn hanes y byd. Gwelodd gyfodiad a dadfeiliad holl ymerodraethau patriarchaidd y Dwyrain; gwelodd Weriniaethau ieuainc Groeg yn cyfodi ac yn gwywo; yr oedd hi yn bod pan adeiladodd Romulus furiau Rhufain, ac yn gryfach pan yrwyd allan yr ymerawdwr diweddaf o'r ddinas dragywyddol. Y mae ganddi law wedi bod yn ffurfiad

gwareiddiad gwledydd goreu Cyfandir Ewrop, ac y maent wedi ffynnu i'r graddau y buont deyrngarol iddi hi. Ac y mae hi yn ymestyn dros y ddinas, ac y mae y ddinas i fod yn fyd, yn y man. "Ac Efe a'm dug i ymaith yn yr Ysbryd i fynydd mawr ac uchel, ac a ddangosodd i mi y ddinas fawr, Jerusalem Sanctaidd, yn disgyn allan o'r nef, oddiwrth Dduw." Ac y mae ei phyrth yn edrych tua phedwar ban y byd: "O du y dwyrain, tri phorth; o du y gogledd, tri phorth; o du y deau, tri phorth; o du y gorllewin, tri phorth."

